# RHAG-NODIADAU.

Teimla yr awdwr yn rhwymedig i'w gydwladwyr drwy Dalaethau America, am eu derbyniad caredig o'r gyfrol o Ganiadau ac Anerchion a Phregethau a gyhoeddodd ddwy flynedd yn ol. Gwerthwyd yr holl argraffiad o'r gyfrol hono cyn i lawer o'r eirchion ddyfod i law; ac felly nid oedd modd cyflawni y rhai a dderbyniwyd ddiweddaf. Yr oedd hyny yn fwy o siom ac o golled i'r awdwr nag i neb arall.

Ei fwriad dechreuol y tro hwn oedd cyhoeddi llyfr *dolar*, fel yr un blaenorol; ond y mae ganddo yn awr *dri* rheswm dros gyhoeddi llyfr *dolar a haner*.

1. Y mae ganddo ddigon o ddefnyddiau at lyfr dolar a haner.
2. Nid yw rhwymiad llyfr dolar a haner yn costio dim mwy na rhwymiad llyfr dolar.
3. Hawddach cael dolar a haner yn awr nag oedd cael dolar rai blynyddoedd yn ol.

Yr oeddid yn canmol *rhadlonrwydd* y llyfr blaenorol, ond y mae hwn yn rhatach o gryn lawer. Erfynir tâl dioed gan y derbynydd. Ceir pedair neu bump o Bregethau *Saesneg* yn y llyfr. Bydd hyny yn dda gan ddosbarth lliosog o'i ddarllenwyr *ieuainc*, oblegyd fod y pregethau hyny wedi cael eu hamcanu yn benaf i bobl *ieuainc*. Bydd yn dda hefyd gan laweroedd gael *Darlithiau* yn y gyfrol yn mysg y Pregethau. Ceir y Darlithiau bron oll ar destunau *hanesyddol*, a'r testunau hyny yn rhai o addysg gyffredinol, ac o bwys ymarferol. Dichon nad yw yr awdwr ddim yn hollol yr un farn a'i gyfeillion oll ar *bob* pwnc a gyflwynir i sylw. Dadleuodd ychydig cyn toriad allan y gwrthryfel mawr am i Dalaethau goludog, goleuedig y Gogledd arfer mwy o arafwch wrth geisio argyhoeddi Talaethau y Dê o'u cyfeiliornadau, a mwy o addfwynder wrth geisio eu hadgyweirio o'u beiau. Yr oedd yn meddwl yn gryf ar y pryd nad allasai dim drwg nac anfri o unrhyw natur ddeilliaw iddynt hwy, nac i'r wlad, nac i'r byd, oddiwrth fwy o addfwynder yn ngweinyddiad eu disgyblaeth ar eu chwiorydd oeddynt wedi myned ar gyfeiliorn. Dyna oedd ei farn gydwybodol, ond dichon ei fod yn camgymeryd. Yr oedd barn ei gyfeillion yn gryf ei fod yn camgymeryd, ac yr oedd eu teimlad yn dwym yn ei erbyn. Gyda golwg ar ei farn a'i deimlad ar ddechreuad y rhyfel, da ganddo allu crybwyll yn y fan yma, fod llawer, ïe laweroedd, a'r laweroedd hyny y bobl ffyddlonaf i'w gwlad, y bobl ufuddaf i gyfreithiau Cristionogaeth, y bobl mwyaf dïymod o blaid rhyddid a thegwch, wedi cydnabod, wedi cydnabod yn gyhoeddus, wedi cydnabod yn eu horiau goreu, wedi cydnabod lawer gwaith drwy y ddwy flynedd ddiweddaf, wedi cydnabod mewn iaith lawnach a chryfach nag a ddefnyddiodd yr awdwr erioed, fod Talaethau cryfion ac enwog y Gogledd wedi ymlithro yn mhell i yspryd anghymydogol ac anfon-

eddigaidd wrth geisio adgyweirio eu cyd-ddeiliaid beiadwy yn y Dê: a bod y Pen-Llywydd mawr wedi gorfod eu disgyblo yn chwerw oblegyd eu hamryfusedd. Yr oedd yn beth cyffredin yn ddiweddar i glywed y llywyddion goleuaf yn cydnabod yn eu cyhoeddiadau a'u llythyrau, ac i glywed y duwinyddion mwyaf profiadol yn cydnabod yn eu pregethau a'u gweddiau fod yspryd, ac ymadrodd, ac ymddygiad Talaethau y Gogledd tu ag at eu chwaer-Dalaethau gwrthnysig yn y Dê, wedi bod yn annoeth, ac yn anaddfwyn, ac yn annheg drwy y blynyddoedd blaenorol i doriad allan y gwrthryfel; a bod rhagluniaethau doeth a thirion y nefoedd wedi gweinyddu disgyblaeth drom arnynt oblegyd Phariseaeth a Saduceaeth eu hyspryd a'u hymddygiad. Y mae yn iechyd i'r galon i glywed cyfaddefiadau felly o feinciau uchaf llysoedd y wlad, ac o areithfaoedd penaf ei chysegroedd; ac effeithiant hefyd yn ddaionus er iechyd i yspryd a moes y wladwriaeth.

Yr wyf yn llawenhau yn ddiffuant yn y gobaith presenol am ddarfyddiad buan y rhyfel, ac am adsefydliad Undeb yr holl Dalaethau. Yr wyf yn gwresog lawenhau yn ymfoneddigeiddiad yspryd ac ymadrodd y ddwy ochr, ac am adgyweiriad a chryfhad cyfansoddiad yr Undeb rhyngddynt. Daliodd y gwrthryfel yn gyndynach, a pharhaodd yn feithach nag oeddwn wedi feddwl. Yr oeddwn yn credu, neu o leiaf yn ofni, er y dechreu, y byddai yr oruchwyliaeth o'i ddarostwng, drwy rym arfau, yn drymach ac yn ddrutach nag oeddid yn feddwl gan bobl y Gogledd. Yr oedd fy nghyfrifon a'm casgliadau i yn llawer cywirach na'r eiddynt hwy; ond yr oedd fy nghyfrifon manylaf a'm casgliadau trymaf inau yn fyr o'r nôd. Ymledodd y rhyfel yn llawer ëangach, a gwasgodd yn llawer trymach, a pharhaodd yn llawer hŵy nag oeddynt hwy na minau erioed wedi rag-gyfrif. Ond daeth yr Heddwch o'r diwedd yn gynt nag oeddym yn ddisgwyl; a daeth yr Undeb hefyd o'r diwedd yn rhwyddach ac yn effeithiolach nag oeddym wedi ddisgwyl. Y mae yn dda iawn genyf feddwl fod y rhyfel, er ei holl erchylldra, yn debyg o ddylanwadu yn dda i Achos Rhyddid. Amcan dechreuol y rhyfel oedd cadw yr Undeb "fel yr oedd," a'r Cyfansoddiad "fel yr oedd," a *Chaethiwed* "fel yr oedd;" ond da genyf feddwl yr effeithia yn helaethach na hyny, yr effeithia er gwneud y Cyfansoddiad yn "well nag oedd," a gwneud yr Undeb yn "gadarnach nag yr oedd." Ond er fy mod yn cydnabod fod y rhyfel yn dylanwadu, mewn rhai pethau, yn well na'm disgwyliad, nid wyf wedi newid fy marn am ei gam-ddarluniadau a'i anghyfiawnderau, am ei lygredigaethau a'i greulonderau. Yr wyf yn parhau i farnu y gallesid ysgoi ei golledion a'i alanastra arswydus drwy rym pwyll a rheswm; yr wyf yn credu y gallasid ysgoi ei ddrygau erchyll drwy foneddigeiddrwydd a thegwch o du Talaethau cryfion y Gogledd, pe buasent yn troi eu dylanwadau trymion at hyny drwy y blynyddoedd blaenorol i doriad allan y gwrthryfel. Yr wyf wedi dadlu fod awdurdodau uchel y Gogledd, ac enwogion ffraeth ac urddasol y Gogledd, a gwerinoedd gwladgar a gweithgar y Gogledd,—ac yr wyf yn *parhau* i farnu fod Talaethau poblog a chryfion ac enwog y Gogledd—wedi ymddwyn yn angharedig ac yn annheg tu ag at eu chwaer-dalaethau uchelfrydig ac ystyfnig yn y Dê: ond nid yw hyny ddim, mewn un modd, yn tybied fy mod yn cyfiawnhau yspryd ac ymddygiad caethfeistri y Dê. Yr oeddwn yn barnu yn gryf, a hyny ar ol dwys ystyriaeth, fod pobloedd y Gogledd, am hir amser cyn

[redacted]



pan welai ddau fachgen yn ysgyrnygu ac yn ymwylltio, ac yn cau ac yn ysgwyd eu dyrnau ar gyfer eu gilydd, arferai ddywedyd—Fod y *mwyaf* i'w feio yn gyffredin yn llawn cymaint a'r *lleiaf;* am fod yn hawdd i'r blaid *gryfaf* gadw'r heddwch, a hyny'n anrhydeddus, ond gosod ei bryd yn bwyllog ar hyny. Y mae yn hawdd iawn i ddau hogyn ar ol hir edrych yn gornelog ar eu gilydd, ac ar ol hir ymgynhenu mewn yspryd pigog, ymollwng neu ymwylltio i dymherau poethwyllt; ac y mae yn hawdd hefyd i ddwy Dalaeth, neu ddwy wlad, neu ddwy ochr i ryw wlad fawr, ar ol hir oganu eu gilydd oddidraw, ymollwng i eithafion gwylltineb.

Ychydig o oriau cyn marwolaeth yr Arlywydd Lincoln, yr oedd addfwynder a maddeugarwch ei yspryd ef, a rhai o'i gâd-flaenoriaid a gwŷr ei gyngor, wedi tyneru teimladau yr holl wlad—yr holl fyddin, a'r holl eglwys. Yr oeddid yn rhedeg mewn yspryd *tadol* i gyfarfod afradloniaid teneuon carpiog edifeiriol y gwrthryfel, gan ledu breichiau ac agor mynwes brawdgarwch i'w cofleidio; yr oeddid yn erchi lladd y lloi pasgedig, a chymysgu y gloyw-winoedd puredig, ac arlwyo gwledd ddanteithiol. Yr oeddynt i gael y fodrwy ar eu llaw, a'r esgidiau am eu traed; ac i gael y wisg oreu am danynt. Ac ar ol y cofleidio a'r cydwledda yr oeddid i gael cynghanedd a dawnsio. Ond gyda bod yr Arlywydd wedi cael ei ladd, cyn gwybod pa un ai un, neu ddau, neu ddwsin, o lofruddion; ai un, neu ddwy, neu ddwsin o Dalaethau oedd yn y fradwriaeth, yr oedd iasau cynddeiriog o ddialgarwch angerddol yn ysu pob pwyll a phob hunan-lywodraeth drwy holl gylchoedd y wlad. Yr oeddid am ddyfetha pob gwrthryfelwr allan o'r ffordd ar unwaith, heb eiriach, na bach, na mawr o honynt; a hyny ar ol newydd dderbyn eu hymostyngiad, a'u harfau, a'u gwaedd am gymod, ac ad-dderbyniad i'r Undeb; ac yr oeddid am dynu ysgubell fawr distryw dros holl Dalaethau, a holl derfynau eu tir, er eu glân ysgubo ymaith o'r golwg ar unwaith, ac am byth; a buasid yn gwneud hyny, pe buasai modd ei wneud yn y *funud hono;* ond trwy drugaredd, oerodd, yn bur gyflym, yr iâs hono o gynddaredd.

Byddai yn dda i awdurdodau a gwerinoedd Talaethau y Gogledd gofio ac ystyried fod y mwyafrif o werinoedd Talaethau y Dê yn barod i wneud yr hyn a alwant hwy yn gryn *aberth*, er mwyn Undeb a Heddwch; eu bod yn barod i wneud aberth o hen gyfundrefn caethwasanaeth ag oedd wedi bod yn uchel yn eu golwg, ac yn ngolwg eu tadau, ag yr oedd wedi hir wreiddio gyda rhagfarnau hynaf a dyfnaf eu calonau, ac wedi cael ei phlethu drwy holl drefniadau cyfansoddiad eu llywodraethau. Y maent hwy yn gwneud aberth o'u hen *opiniynau* tynaf ac anwylaf er mwyn Undeb a Heddwch; ac y maent yn meddwl eu bod yn gwneud aberth o "obaith eu *helw*," wrth roddi i fynu eu hen gyfundrefn er mwyn tangnefedd a chydweithrediad; ac wrth blygu i gyngor a cherydd y rhai oeddynt wedi hir edrych i *lawr* yn lled wgus arnynt; ac wedi siarad yn lled anfrawdol am danynt *cyn* adeg y rhwygiad. Gan eu bod yn rhoddi i fynu eu hen drefn gydag yspryd mwy grasol nag oeddid yn ddisgwyl, ni byddai yn ddim anfri, nac yn ddim colled i'r Gogledd i dderbyn eu hymostyngiad gyda mawrfrydigrwydd meddwl, a maddeugarwch calon, ac addfwynder Cristionogol.

Yr oeddwn yn barnu yn gydwybodol fod diffyg addfwynder yn yspryd ac ymddygiad Talaethau y Gogledd cyn toriad allan y gwrth-

ryfel, ac y buasai yspryd tynerach addfwynach a llai hunan-gyfiawn yn effeithio yn llawer iawn gwell er lles y wlad; a chan fy mod yn ystyried y pwnc yn un o bwys anrhaethol, anturiais adrodd fy marn am dano, dan ddylanwad y gobaith a'r argyhoeddiad y gallasid gwneuthur mwy tu ag at ddiwygio y wlad trwy ddysgyblaeth addfwynder, na thrwy ddysgyblaeth y cleddyf. Dyna oedd fy marn yn hir, hir cyn cynniad y rhyfel; ac yr oeddwn yn parhau o hyd yr un farn pan yn ysgrifenu y Traethodau canlynol. Os wyf yn camgymeryd, yr wyf yn gobeithio y caf fy argyhoeddi o'm cyfeiliornad; ac yr wyf yn hyderu y teimlaf yn ddiolchgar am fy ngoleuo; ond nid y ffordd i argyhoeddi dyn ydyw ei erlid; nid y ffordd i oleuo dyn ydyw ceisio ei ladd drwy ei gamddarlunio fel amddiffynydd caethiwed, ac fel pleidiwr gwrthryfel, pan y mae ei galon yn curo yn gyflym ac yn gynes o blaid trefn a Rhyddid. Os oedd fy marn yn brin o bwysau yn nghlorian yr oes yma pan yr oedd y llaw yn rhy gynhyrfus i ddal y glorian, dichon y mantola fy athrawiaeth yn llawer eglurach yn nghlorianau yr oes a ddaw.

Yr oeddwn yn ninas fawr wladgarol Cincinnati pan y daeth y newydd yno fod prif fyddinoedd y gwrthryfel wedi plygu o'r diwedd i roddi eu harfau i lawr. Yr oedd yno lawenydd mawr dros ben drwy'r holl ddinas yn y gobaith am adferiad heddwch, ac adgyfansoddiad yr Undeb; ond yr oedd yma braidd fwy o glod i rym y cledd nag oedd yn ddyladwy. Yr oedd rhai ag oeddynt *wedi bod*, yn nyddiau niwl a thywyllwch y rhyfel, yn cwyno am greulondeb galanastra y cleddyf, yn ymroi i ganu iddo ei fod wedi dwyn ei orchwyl mawr i ben. Nid oeddynt yn ystyried fod rheswm wedi effeithio yn fwy ar galonau cad-flaenoriaid a byddinoedd y gwrthryfel nag oedd y fagnel wedi allu gwneud. Nid oeddynt yn ystyried fod cydwybodau prif ddynion y De yn argyhoeddedig o werth Undeb, a bod ymlyniad yn eigion eu calonau wrth hen Gyfansoddiad llywodraeth eu tadau. Yr argyhoeddiad hyny oedd yn gwanychu eu gafael yn y cleddyf. Yr ymlyniad hwnw wrth hen gyfundrefn eu tadau ddarfu yn benaf blygu eu calonau i roddi eu harfau i lawr. Nid dysgyblaeth lem arw y cleddyf fagodd awyddfryd ynddynt am adgyfaniad yr Undeb, ac ymroddiad ynddynt i aros dan ei gysgod a'i amddiffyn.

Yr oedd yn dda iawn genyf weled y llawenydd mor gryf, ac mor wresog, ac mor gyffredinol am adferiad heddwch. Yr oedd fy nghalon wan yn cynhesu o ddiolchgarwch i Ragluniaeth dyner y nef am weithio y rhyfel i'w derfyn yn *gyflymach* na'm disgwyliad. Clywais rai o brif weinidogion Cincinnati yn cydnabod, mewn yspryd gwylaidd, fawr rwymau y wladwriaeth i gofio ac i garu yr Arglwydd am ryfedd diriondeb ei drugareddau; ac yr oedd yn amlwg fod y gynulleidfa fawr, ag oedd yn cydymostwng â hwy, yn mawrygu enw yr Arglwydd am ei fawr waredigaethau. Gwyddom y gallai Ef ddiffodd fflamau y rhyfel, a iachau y rhwyg, a dwyn da allan o'r holl derfysg; ond nid oeddwn wedi meddwl y buasai hyny yn cael ei wneud mor gyflym ac mor effeithiol. Nid wyf yn meddwl y dylai hyny ein gwneud yn llai ein galar oblegyd camweddau a phrofedigaethau y rhyfel. Ni ddylem anghofio ei ddrygau nifeiriol wrth lawenhau am ei ddarfyddiad. Nid wyf yn dychrynu cymaint oblegyd *beichiau* y rhyfel. Y mae y wlad mor eang, a'i hadnoddau mor amrywiaethol, a'i chyfleusderau mor liosog, a'i thrafnidaeth mor fawr fel na raid iddi deimlo ond ychydig mewn cydmariaeth oddiwrth feichiau y rhy-

fel. Ni byddai ond gorchest ysgafn i wlad mor helaeth ac mor oludog *dalu ei holl ddyled ar unwaith.* Pe gwnelid hyny, byddai yn beth newydd dan haul; ond byddai yn enwogrwydd uchel i bobl America. Buasai pedair blynedd o'r fath ryfel llydan cartrefol yn mwy na haner andwyo y gryfaf o hen wledydd Europe. Os ceir tangnefedd heddychol a chydweithrediad cymydogol, ni chymer ond ychydig o amser i'r Unol Dalaethau ymunioni eto yn dalach, ac yn sythach, ac yn gryfach nag erioed. Yr hyn sydd arnaf fwyaf o'i ofn ydyw y bydd i laweroedd o fechgyn ieuainc y filwriaeth ddwyn adref gyda hwy i'w hen gymydogaethau arferion anfuddiol llygredigaethau eu bywyd *milwraidd;* ac y bydd i swyddogion y fyddin fod yn falch o'u titlau, a'u haddurniadau, a'u gorchestion milwraidd; ac y byddant am wneuthur coeg-betheuach felly yn risiau breision iddynt ddringo ar hyd-ddynt i swyddau o urddas, ac awdurdod, a segurwch; ac na byddant yn foddlon i ddringo i fyny i anrhydedd a defnyddioldeb trwy weithio allan rinweddau tangnefedd cymdeithasol. Y mae y rhan fwyaf o'r rhai a gawsant flâs ar elw a gogoniant rhyfel, y rhan amlaf yn bur ddïymdrech am welliantau gwladol, ac yn gwbl ddïawch am y lleshad cyffredinol. Gobeithio y bydd i Faeslywyddion penaf y "Rhyfel Mawr" yn America astudio yspryd a dilyn ymddygiad yr anfarwol Washington, a throi ar derfyniad y rhyfel, gyda diolchgarwch a hunanymwadiad, i'w *Mount Vernon*, i fynwesau eu teuluoedd, i goleddu a chywreinio celfyddydau Heddwch; ac i weithio yn yspryd, ac yn ol cyfreithiau Cristionogaeth, er dyddanwch i'w meddyliau, er cysur i'w ceraint, ac er tangnefedd a llwyddiant eu gwlad. Gobeithir y cofir yn hir, hir am fawr-amryw brofedigaethau y rhyfel, ac y teimlir fod yr ad-uniad wedi dyfod, bron yn wyrthiol, trwy dyner oruwch-reolaeth Rhagluniaeth gref rasol y nef. Bu bron iawn i ddylif y gwrthryfel ymdori lawer gwaith ar draws Talaethau dedwydd cyfoethog y Gogledd, gyda rhyferthwy anwrthwynebol o gynddaredd. Bu bron iawn i ddinasoedd Cincinnati a Washington, os nid Pittsburgh, a Harrisburgh, a Philadelphia hefyd, gael eu gwneud yn oddaith lawer tro gan ysprydion creulawn dinystr. Bu bron iawn i ryfel *cartrefol* enyn yn Baltimore, New York, ac Albany; a rhwygo Talaethau mwyaf blodeuog canolbarth y wlad. Cafodd rhanau helaeth o'r Talaethau *terfyn* rhwng y Gogledd a'r Dê eu mathru a'u hadfathru, drachefn a thrachefn dan draed terfysg a gorthrymder; ac achoswyd llawer o golled ac o ddyryswch i wledydd tramor. Adgofiwn, gydag ymostyngiad a galar am golledion a galanastra y rhyfel. Ymlawenhawn, gyda gwylder a diolchgarwch am adsefydliad heddwth. A gobeithiwn y parha yr heddwch nes y bydd i gyfeillion Rhyddid, drwy rym moddion *moesol*, drwy nerth *anorchfygol* milwriaeth yr efengyl, ddwyn eu barn i gyflawn fuddugoliaeth.

*Mai*, 1865. S. R.

Ol-Nodiad.—Yr oedd yr awdwr yn gobeithio y buasai yn cael hamdden i *adolygu* y cyfansoddiadau canlynol yn ystod ei deithiau diweddar drwy Dalaethau Ohio, Pennsylvania, a New York; ond bu am dros ddau fis yn glaf iawn—"yn agos i angau." Nis gall byth anghofio yr ymgeledd—*meddygol, maethol a dyddanol*—a gafodd drwy wythnosau meithion ei glefyd. Y mae yn teimlo fod ei adferiad, dan fendith Rhagluniaeth, i'w briodoli i ofal, a medr, a thynerwch teulu anwyl Tawelan.

# DARLITHIAU, PREGETHAU, &C.

## ADDFWYNDER YN ADGYWEIRIO.

### RHAG-GRYBWYLLIAD.

**Rhoddir y lle *cyntaf* yn y gyfrol i'r ddarlith ar ADDFWYNDER, oblegyd ceir ynddi agoriad i resymiadau amryw o'r darlithiau eraill. Os ydyw barn yr awdwr am ddylanwad addfwynder yn anefengylaidd, gall ei fod yn camgymeryd yn nghylch rhai o'i bynciau eraill; oblegyd pwnc yr addfwynder ydyw *sylfaen* ei brif gasgliadau: ac os ydyw ei sylfaen o'i lle, gall ei oruwch-adeilad gael ei dymchwelyd; ond os yw ei sylfaen yn safadwy, y mae ei oruwch-adeilad yn ddiogel. Byddai yn dda gan hyny i'r darllenydd gymeryd lamp Ysprydoliaeth yn ei law i chwilio y *sylfaen* cyn iddo ddringo i geisio tafiu i lawr Ben-y-gongl.**

---

Y mae llawer o egnïadau poenus a drudfawr wedi cael eu gwneud o oes i oes er ceisio gwella drygau y byd drwy *erwinder*. Yr ydys wedi dyfal-geisio marwhau ei chwantau, a chywiro ei gyfeiliornadau, a diwygio ei foesau drwy *lymder cosbedigaethau*. Yr ydys wedi cynyg, gan bob cenedl, yn mhob gwlad, a than bob goruchwyliaeth, sefydlu iawnder cymdeithasol drwy y gadwyn a'r fflangell, a'r cleddyf, a'r crogbren. Yr ydym yn barnu pe buasai haner cwarter y draul a'r drafferth a gymerwyd i geisio ei wella drwy *erwinder* yn cael eu defnyddio i'w leshau drwy *addfwynder*, y buasid yn llawer mwy llwyddianus. Ein hamcan yn y ddarlith yma fydd ceisio egluro dylanwad addfwynder er adgyweirio calon wedi myned allan o'i lle; er ein dysgu i feddwl yn uwch am drefn addfwynder, a'n cymhell i'w harfer ar bob am-

gylchiad ; ac i beidio cynyg llymder o unrhyw natur—llymder yspryd, na llymder geiriau, na llymder arfau, nes cael prawf teg yn gyntaf fod addfwynder wedi methu.

I. Y mae egwyddorion llyfr Ysprydoliaeth, llyfr doethineb a chariad y nefoedd, yn dysgu mai moddion addfwynder ddylid gynyg er adgyweirio y beiadwy, a'i ddwyn i'r iawn allan o faglau cyfeiliornad a llygredd. Dichon mai Paul oedd y mwyaf ei ddefnyddioldeb o'r holl apostolion. Cafodd lawer o ddysg, a llawer o brofiad ; a llawer o feddwl yr Yspryd ; a dymà ei gyngor ef ar y pwnc dan ein sylw :—" *Y brodyr, os goddiweddir dyn ar ryw fai, chwychwi y rhai ysprydol, adgyweiriwch y cyfryw un mewn yspryd addfwynder, gan dy ystyried dy hun rhag dy demtio dithau.*" Y mae ei iaith yn nodedig o gynwysfawr. Y mae yn tybied fod pob dyn wrth natur mewn cyflwr dirywiedig, a bod pob dyn yn y byd profedigaethus hwn, yn agored i syrthio i " ryw fai ;" ac os goddiweddir dyn—rhyw ddyn, uchel neu isel, dysgedig neu annysgedig, hen neu ieuanc, brawd neu chwaer—ar ryw fai—yn y teulu, neu yn yr eglwys, neu yn y wladwriaeth ; rhyw fai mewn barn, neu air, neu weithred ; " chwychwi y rhai ysprydol," y rhai mwyaf profiadol o bethau ysprydol, y rhai mwyaf llawn o Yspryd Crist, y rhai sydd wedi eu toddi lwyraf gan gariad yr efengyl—" adgyweiriwch y cyfryw un"—ymgeleddwch ei gyflwr, adnewyddwch ei brofiad, arweiniwch ef yn ol i'w le, rhoddwch dànau ei delyn mewn cywair newydd, rhoddwch ei olwynion dyrysedig ar eu hechelion priodol, rhoddwch ei esgyrn toredig yn eu lle, rhoddwch olew yn ei friwiau, a gwisgwch ef â newid dillad ; a gwnewch hyny mewn yspryd addfwynder—gyda chalon dyner, gyda llygad llawn, gyda llais mwyn, gyda llaw esmwyth, mewn yspryd gwylaidd, boneddigaidd, ffyddlawn, a dirodres : " Gan dy ystyried dy hun"—dy wendid dy hun, a'th ddiffygion dy hun, a'th brofedigaethau dy hun, a'th fynych lithriadau dy hun ; " Rhag dy demtio dithau"—rhag dy dwyllo, a'th hudo, a'th faglu gan y byd, a'r cnawd, a'r diafol. Yr oedd Paul am i'w holl ddar-

llenwyr ystyried mai gogoniant a grym goruchwyliaeth yr adgyweirio, mai gogoniant a grym gweinidogaeth yr argyhoeddi, mai gogoniant a grym holl weinyddiadau disgyblaeth ydyw "YSPRYD ADDFWYNDER," yspryd llawn o dosturiaethau yr efengyl. Y mae mewn man arall yn darlunio yr yspryd gwerthfawr hwnw fel y canlyn: "Y mae cariad yn hir ymaros," yn hir i ddioddef heb ymwylltio i ddial; y mae "yn gymwynasgar" yn hoffi dangos caredigrwydd; "Nid yw yn cenfigenu" wrth ragorfreintiau rhai eraill; "Nid yw yn ymffrostio" o'i ddawn, na'i swydd, na'i sefyllfa; "Nid yw yn ymchwyddo" gan hunanoldeb; "Nid yw yn gwneuthur yn anweddaidd" i'w oed, na'i amgylchiadau; "Nid yw yn ceisio yr eiddo ei hun," ond abertha hunan-elw er lleshad eraill; "Ni chythruddir" i wylltineb nwydau; "Ni feddwl ddrwg," ni ddychymyga, ac ni phriodola ddrwg lle na bydd sail i hyny. Y mae, yn yr un cysylltiad, yn crybwyll amryw o nodau eraill cariad; ac yn rhesymu mai ofer pob doniau os na bydd yspryd addfwynder a chariad yn eu cyd-dymheru. Yr oedd Paul yn ymgais yn barhaus am fod yn llawn o'r yspryd hawddgar hyny wrth gyflawni holl ranau ei weinidogaeth, ac yn enwedig pan yn adgyweirio y beiadwy. Cyfeiria yn un o'i lythyrau at ei deimlad yn y geiriau canlynol: "Canys er fy mod yn rhydd oddiwrth bawb, mi a'm gwneuthum fy hun yn was i bawb, fel yr enillwn fwy. Ymwneuthum i'r rhai gweiniaid megys yn wan, fel yr enillwn y gweiniaid; mi a ymwneuthum yn bob peth i bawb fel y gallwn yn hollol gadw rhai." Yr oedd yn atolwg i'r Rhufeiniaid er trugareddau Duw: yn atolwg i'r Corinthiaid er addfwynder a hynawsedd Crist: yn coffa i'r Galatiaid mai ffrwyth yr Yspryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest; anogai y Colossiaid i wisgo am danynt ymysgaroedd cymwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros; a chyd-ddwyn â'u gilydd, a maddeu i'w gilydd, ac am ben y cyfan oll, gwisgo cariad fel rhwymyn perffeithrwydd. Cynghorai Timothy i ddilyn ffydd,

cariad, amynedd, addfwynder ; a bod yn dirion wrth bawb, yn athrawus, yn ddioddefgar, ac mewn addfwynder yn dysgu y gwrthwynebus. Gorchymynai i Titus ddysgu y saint i fod heb gablu neb, eithr bod yn amyneddgar, ac yn dirion, a dangos pob addfwynder tu ag at bob dyn.

Yr oedd Ioan y Duweinydd yn un o'r rhai mwyaf ysprydol ei feddwl, a mwyaf nefol ei brofiad o holl saint y ddaiar. Yr oedd yn selog dros y gwirionedd, ac yn llawn awydd, drwy holl ystod ei weinidogaeth gynes, gariadlawn, am i'w blant argyhoeddi ac adgyweirio eu gilydd ; ond yr oedd am i'w holl ddisgyblaeth gael ei dwyn yn mlaen mewn cariad. Yr oedd yn dysgu nad oedd ganddynt ddim i'w wneud i'r rhai nad ellid enill drwy addfwynder, ond ymneillduo oddiwrthynt. Prif linyn ei weinidogaeth oedd *cariad.* "Anwylyd, carwn ein gilydd, oblegyd cariad, o Dduw y mae ; a phob un ar sydd yn caru, o Dduw y ganwyd ef." "Hon yw'r genadwri a gawsom o'r dechreuad, bod i ni garu ein gilydd."

Yr oedd Pedr, Iago a Judah, a'r apostolion eraill, er yn selog dros burdeb athrawiaeth, a manylrwydd disgyblaeth, yn hollol yr un gyngor a Paul ac Ioan gyda golwg ar adgyweirio mewn "yspryd addfwynder." Y mae Iago, ar ol anog y saint i fod yn ddioddefus mewn trallodion, a thosturiol wrth eu gilydd, yn dywedyd, "Fy mrodyr od aeth neb o honoch ar gyfeiliorn oddiwrth y gwirionedd, a throi o ryw un ef, gwybydded y bydd i'r hwn a drodd bechadur oddiwrth gyfeiliorni ei ffordd gadw enaid rhag angau, a chuddio lluaws o bechodau." Yr oedd Pedr yn anog ei gyd-henuriaid i wylio rhag "tra arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw ;" ond porthi y praidd yn dyner, a bwrw golwg arnynt, a bod yn siampl iddynt o gariad a hunanymwadiad. Y mae yn anog y disgyblion i ymdrwsio oddifewn â gostyngeiddrwydd, a bod yn wyliadwrus i weddiau ; eithr "o flaen pob peth," fod ganddynt gariad helaeth at eu gilydd. Yr oedd cyngor Judah hefyd yr un ystyr pan y dywedodd, "Chwychwi, anwylyd, gan eich adeiladu eich hunain ar eich sancteiddiaf ffydd, a

gweiddio yn yr Ysbryd Glan, ymgedwch yn nghariad Duw, gan ddisgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol: a thrugarhewch wrth rai gan wneuthur rhagor; eithr rhai cedwch drwy ofn, gan eu cipio hwy allan o'r tân." Y mae yn dysgu fod "rhagór" i'w wneuthur rhwng rhai ac eraill, fod rhai mor dyner blygadwy fel y gellid eu harwain yn hawdd i'r iawn wrth linynau meinaf cariad; ond fod eraill wedi llithro yn mhellach i dir y gelyn, wedi suddo yn ddyfnach i'w faglau, nes y rhaid eu cipio fel pentewynion o'r tân: ond fod y cyfan i'w wneyd yn yspryd tosturiol, trugarog, addfwynder a chariad. Cariad sy'n cipio o'r tân: Y mae gerwindeb wedi digio a gwylltio llaweroedd i'r tân.

Yr oedd Solomon, athronydd mawr yr Hen Destament, yn hollol yr un farn a'r apostolion gyda golwg ar ddylanwad addfwynder. Dyma ychydig o ddiarebion ei ddoethineb a'i brofiad ar y pen hyny. "Ateb arafaidd a ddettry lid; ond gair garw a gyffry ddigofaint. Gwr digllon a gyffry gynen, ond gwr hwyrfrydig i lid a dyr ymryson. Calon gyfiawn a fyfyria i ateb, ond genau y drygionus a dywallt allan ddrwg. Na ddywed, mi a wnaf iddo ef fel y gwnaeth yntau i minau; mi a dalaf i'r gwr yn ol ei weithred. Ceryddwr doeth i'r glust a wrandawo, sydd fel anwyl-dlws euraidd, a gwisg o aur rhagorol. Trwy hir-ymaros y boddlonir pendefig, a thafod esmwyth a dyr asgwrn. Olew ac arogldarth a lawenycha y galon, felly y gwna mwynder cyfaill drwy gyngor ffyddlawn. Trwy falchedd yn unig y cyffry cynen, ond gyda'r pwyllog y mae doethineb. Er i ti bwyo ffol mewn morter â phestl yn mhlith gwenith, eto nid ymedy ei ffolineb ag ef. Fel glô i'r marwor, a choed i'r tân, felly y mae y gwr cynhenus i enyn cynen. Y diog i ddigofaint sydd yn llawn o synwyr; ond y digllon ei yspryd a ddyrchafa ynfydrwydd. Pren y bywyd yw meddyginiaeth tafod; ond trawsedd ynddo sydd rwyg yn yr yspryd. Gwell yw'r diog i ddigofaint na'r cadarn; a'r neb a reola ei yspryd ei hun na'r hwn a enillo ddinas. Y neb ni byddo ganddo atal ar ei yspryd ei hun, sydd megys dinas

ddrylliog heb gaer. Os dy elyn a newyna portha ef â bara; ac os sycheda, dod iddo ddiod i'w hyfed; canys marwor a bentyri ar ei ben ef; a'r Arglwydd a dâl i ti." Swm ac ystyr, ei eiriau hyn ydyw, Y gall y doeth a'r addfwyn, drwy ei fyfyrdod a'i bwyll, lunio araeth, neu ateb i ddattroi llid, i dori ymryson, ac i ddofi cynddaredd; y gall drwy ei addfwynder a'i hirymaros foddloni a meddalu y pendefig uchelfryd ystyfnig; y gall cymwynasau ei faddeugarwch a'i dosturi doddi ei elyn; y gall ei dafod esmwyth dori esgyrn; y gall ei gyngor ffyddlawn, a'i gerydd tyner fod yn olew i archollion y galon; ond fod geiriau geirwon y balch, a'r byrbwyll, a'r digllon yn cyffroi cynen, a dialgarwch, a therfysg; mai ysbryd o'i le sy'n dweyd—"Mi dalaf fi i'r gwr yn ol ei weithred;" fod gwell gobaith i ystwytho ac addysgu y ffol a'r gwrthwynebus drwy eiriau tirion addfwynder na thrwy ei bwyo mewn morter; a bod ceryddwr doeth caredig fel anwyl-dlws euraidd, ac yn werth mwy na gwisg o aur.

Un o egwyddorion cyfraith Moses oedd, "Os cyfarfyddi ag eidion dy elyn, neu a'i asyn, yn myned ar gyfrgoll, dychwel ef adref iddo: os gweli asyn yr hwn a'th gasâo yn gorwedd dan ei phwn, a beidi a'i gynorthwyo? gan gynorthwyo, cynorthwya gydag ef." Ac un o reolau bywyd Job oedd—peidio llawenychu am drychineb yr hwn a'i casâi; a pheidio ymgodi pan ddigwyddai drwg iddo; a pheidio dioddef i daflod ei enau bechu gan ofyn ei einioes ef drwy felldithio.

II. Rhydd *siamplau* duwiolion enwocaf y Beibl esboniad pellach i ni ar ddylanwad addfwynder. Lluosogodd anifeiliaid Abraham ac anifeiliaid Lot fel nad oedd y wlad yn abl i'w cynal i drigo yn nghyd: a bu cynen am y borfa rhwng bugeilydd Abraham a bugeilydd Lot. Bu edrychiadau gwgus a geiriau caledion rhyngddynt. Yr oedd teimladau o genfigen a dig a dial yn llosgi yn eu mynwesau, ac yn cynhyrfu yr is-fugeiliaid; a diameu y buasai'r teimladau hyny yn tori allan yn weithredoedd o greulondeb tuag at eu gilydd, neu tuag at ddeadelloedd eu gilydd, oni buasai i'r drwg gael ei

a dychwelodd Abimelech a "thywysog ei lu" mewn heddwch, i'w mangre; wedi cael boddhad yn holl ymddygiad Abraham. Buasai ambell i dywysog Cristionogol yn *ymladd* ag Abimelech am y ffynon, cyn y buasai byth yn rhoddi saith o hespinod, nac unrhyw anrheg arall iddo, er mwyn ei heddychu. Buasai yn llai gorchwyl i Abraham a'i weision orchfygu Abimelech nag oedd iddynt orchfygu y pedwar brenin galluog oeddynt wedi anrheithio dinasoedd y gwastadedd; ond yr oedd Abraham yn foddlon i wneud aberth er mwyn tangnefedd. Achosodd yr anghydfod fu rhwng Sarah a Hagar bryder dwys i'w feddwl nes i'r Arglwydd yn rasol ei wrando, a'i gyfarwyddo pa fodd i weithredu yn wyneb y brofedigaeth. Llwyddodd Abraham i faethu yr un yspryd pwyllog ac addfwyn yn Isaac ei fab.

Pan oedd Isaac wedi cynhyddu a myned yn "fawr iawn," darfu i'r Philistiaid genfigenu wrth ei lwyddiant, a llenwi â phridd y pydewau a gloddiasai gweision ei dad. Yr oedd y fath weithred yn un nodedig o annheg; ac yn brawf o'r yspryd mwyaf angharedig. Buasai yn hawdd i Isaac dalu y pwyth iddynt, oblegyd yr oedd yn gryfach o lawer na'r Philistiaid; ond yn lle treulio ei nerthoedd i ymladd a'r Philistiaid, ail gloddiodd yr hen bydewau; a chloddiodd hefyd bydew *newydd* yn y dyffryn, a chawsant yno ffynon gref o ddwfr rhedegog ag oedd o werth mawr iddynt yn y wlad hono; a bugeiliaid Gerar a ymrysonasant â bugeiliaid Isaac, gan daeru mai eiddynt hwy oedd y dwfr; a galwodd Isaac y ffynon *Esec*, o herwydd cynhenu o honynt. Cloddiodd ei weision wedi hyny bydew arall yno, ac ymgynhenasant am hwnw; a galwodd Isaac ei enw *Sitna*, am eu bod mor *gas;* ond yn lle ymwylltio a byddino ei weision i ryfela am y pydewau a gloddiasent, mudodd oddiyno, a chloddiodd bydew arall allan o gylch y gynen, ac nid ymrysonasant am hwnw, ac efe a alwodd ei enw *Rehoboth*—eangder—am fod Duw yn eangu arno. Deallodd cynhenwyr Gerar bob yn dipyn mai gwr boneddig am degwch, ac am heddwch, oedd Isaac, nad oedd

Gyda bod y brofedigaeth hono heibio, darfu i un arall drymach gyfarfod Jacob. Yr oedd wedi anfon cenhadau o'i flaen i wlad Seir i hysbysu i'w *frawd* ei fod yn dychwelyd o Mesopotamia i hen fangre ei febyd; a bod ganddo deulu lluosog, a phraidd lawer, a'i fod yn taer ymbil am ffafr ei frawd. Dychwelodd y cenhadau ar ffrwst a'r newydd ofnadwy fod ei frawd yn llawn o'i hen fwriad gwaedlyd i'w ladd, a'i fod yn dyfod i'w gyfarfod i'r dyben hyny a phedwar cant o wŷr gydag ef. Gallasid disgwyl y buasai Jacob yn brysio yn ol i Mesopotamia i gasglu byddin o'i hen gymydogion mewn hunan-amddiffyniad, ond nid felly y gwnaeth: neu gallasid disgwyl iddo gilio yn mhell-bell o'r cyrhaedd, a rhoddi i fyny bob gobaith am gael gweled ei hen anwyl rieni byth mwyach; ond nid felly y gwnaeth. Trodd holl ddyfais ei fyfyrdod ar unwaith i astudio cynllun o *gymod* a'i frawd; ac wedi gweddio am gyfarwyddyd a nodded Duw ei dadau, parotodd anrheg i'w frawd—"dau gant o eifr ac ugain o fychod; dau gant o ddefaid ac ugain o hyrddod; deg ar hugain o gamelod blithion a'u llydnod; deugain o wartheg, a deg o deirw; ugain o asynod, a deg o ebolion"—anrheg hardd, o bum gyr, o'r anifeiliaid goreu; ac efe a'u rhoddes dan law ei weision, pob gyr o'r neilldu, ac encyd rhyngddynt; ac yr oedd gyrwyr pob gyr, pan gyfarfyddent Esau, i ddweyd mai anrheg oedd oddiwrth ei was Jacob i'w Arglwydd Esau. Ac ar ol cychwyn y gyroedd dros ryd Jabboc, bu yn ymdrechu â'r angel hyd y wawr dranoeth; a phan ddyrchafodd ei lygaid a gweled byddin Esau yn dyfod o draw i'r golwg, efe a ranodd ei deulu, a gosododd y ddwy lawforwyn a'u plant yn mlaen, a Leah a'i phlant ar eu hol, a Rahel a Joseph yn olaf; ac efe ei hun a gerddodd o'u blaen hwynt, ac a ymostyngodd i lawr seithwaith hyd oni ddaeth yn agos at ei frawd; ond yr oedd angel y fendith, er yn anweledig, yn myned o'i flaen yntau, rhyngddo a'r perygl; ac fel hyn y mae Moses, mewn ychydig eiriau o symledd anghydmarol, yn darlunio yr olygfa effeithiol: "Ac Esau a redodd i'w gyfarfod ef, ac a'i cofleidiodd ef,

ddim eisiau eu cymorth. Toddwyd y galon ag oedd wedi bod yn magu dial am dros ugain mlynedd gan foneddigeiddrwydd a haelfrydedd Jacob ; a pharhaodd y cymod rhyngddynt dros weddill eu hoes.

Yn fuan iawn ar ol hyny, cyfarfu Jacob a thrallod arall a rydd i ni esboniad pellach ar ei yspryd dyoddefgar a heddychgar. Pan oedd ei unig ferch Dinah, tuag un ar bymtheg oed, yn ngwrid ei phrydferthwch, ac yn llonder ei llawenydd, aeth allan i weled merched y wlad. Yr oedd am weled pryd a gwedd, a moes, a gwisgiad merched ieuainc y gymydogaeth ; ac aeth i'w mysg, i'w haneddau, a'u cynulliadau ; a phan oedd yn llys Hemor, tywysog y wlad, Sichem, mab Hemor, a'i hoffodd hi, ei enaid a lynodd wrthi ; ac efe a'i cymerodd hi, ac a lefarodd wrth fodd ei chalon ; ac a'i halogodd hi : ac a erfyniodd ar ei dad fyned at Jacob i'w gofyn yn wraig iddo; ond Jacob a dawodd a son, hyd oni ddaeth ei feibion adref o'r maes. Traethodd Hemor ei gais wrthynt yn yr iaith a ganlyn :—" Glynu a wnaeth enaid Sichem fy mab i wrth eich merch chwi ; rhoddwch hi yn wraig iddo, ac ymgyfathrachwch â ni, a chwi a gewch breswylio gyda ni, a'r wlad fydd o'ch blaen chwi, trigwch a negeseuwch ynddi." A Sichem, y tywysog ieuanc, a ddywedodd hefyd wrth ei thad hi, ac wrth ei brodyr hi, "Caffwyf ffafr yn eich golwg, a'r hyn a ddywedwch wrthyf a roddaf : gosodwch arnaf fi ddirfawr gynysgaeth a rhodd, a mi a roddaf fel y dywedwch wrthyf, rhoddwch chwithau y llances i mi yn wraig." A meibion Jacob a atebasant Sichem a Hemor yn dwyllodrus ; oblegyd yr oeddynt wedi digio yn ddirfawr am halogi eu chwaer hwynt. A dywedasant, nid allwn roddi ein chwaer i wr dienwaededig ; ond yn hyn y cytunwn â chwi, os byddwch fel ninau, gan enwaedu pob gwryw i chwi, yna y rhoddwn ein merched ni i chwi, ac y cymerwn eich merched chwi i ninau, a ni a gyddrigwn, ac a fyddwn yn un bobl." A'u geiriau hwynt oedd dda yn ngolwg Hemor a Sichem ; ac nid oedodd y llanc wneuthur y peth ; oblegyd efe a roddasai ei serch ar ferch

ar ei wely yn ymyl marw, "Simeon a Lefi sydd frodyr, offer creulondeb sydd yn eu haneddau. Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach hwynt; fy ngogoniant na fydd un â'u cynulleidfa hwynt, canys yn eu dig y lladdasant wr, ac o'u gwirfodd y diwreiddiasant gaer. Melldigedig fyddo eu dig, canys tost oedd; a'u llid, canys creulon fu; rhanaf hwynt yn Jacob, a gwasgaraf hwynt yn Israel." Dyna ddedfryd yr Hollalluog, o enau eu hen dad wrth farw, yn cael ei chyhoeddi yn erbyn creulondeb eu dialgarwch, ac os tost fu eu dig, tost hefyd fu eu barnedigaeth.

Cawn engraifft dlws o bwyll a boneddigeiddrwydd cyngorwr ffyddlawn yn Jethro, ar ei ymweliad â Moses, pan oedd Israel yn gwersyllu wrth odre Horeb. Ar ol aberthu i'r Arglwydd, a gwledda gyda henuriaid Israel, dywedodd Jethro wrth Moses, Pa ham yr eisteddi dy hun, ac y saif yr holl bobl ger dy fron o'r bore hyd yr hwyr? Nid da y peth yr ydwyt yn ei wneuthur. Tydi a lwyr ddiffygi, a'r bobl yma hefyd y rhai sydd gyda thi: canys rhy drwm yw y peth i ti, ni elli ei wneuthur dy hun. Gwrando ar fy llais i yn awr, mi a'th gyngoraf di, a bydd Duw gyda thi: Bydd di dros y bobl ger bron Duw, a dwg eu hachosion at Dduw, dysg hefyd iddynt y deddfau a'r cyfreithiau, a hysbysa iddynt y ffordd a rodiant ynddi, a'r gweithredoedd a wnant; ac edrych dithau allan o'r holl bobl am wŷr nerthol, yn ofni Duw, gwŷr geirwir yn casau cybydddod, a gosod y rhai hyny arnynt hwy, yn dywysogion ar filoedd, yn dywysogion ar ganoedd, yn dywysogion ar ddegau a deugain, ac yn dywysogion ar ddegau. A barnant hwy y bobl bob amser; ond dygant bob peth mawr atat ti, a barnant eu hun bob peth bychan; felly yr ysgafnhâi arnat dy hun, a hwynthwy a ddygant y baich gyda thi. A Moses a wrandawodd ar lais cyngor caredig ei chwegrwn, ac a wnaeth yr hyn oll a ddywedodd efe.

Yr oedd addfwynder a llaricidd-dra yn cyfansoddi un o brif elfenau dylanwad Moses. Pan fynegwyd iddo fod Eldad a Medad yn proffwydo yn y gwersyll, a phan oedd Josua am

iddo "wahardd iddynt," dywedodd Moses wrtho, "Ai cenfigenu yr ydwyt ti drosof fi? O na byddai holl bobl yr Arglwydd yn broffwydi, a rhoddi o'r Arglwydd ei yspryd arnynt." A phan lefarodd Miriam ac Aaron yn ei erbyn, er bychanu ei swydd, dyoddefodd yn llariaidd nes i'r Arglwydd ddisgyn yn ngholofn y cwmwl i amddiffyn ei gam, a hyfryd iawn oedd ei weled yn eiriol dros y rhai oeddynt newydd ei ddirmygu a'i athrodi.

Ceir engraifft arall o nerth yspryd a geiriau addfwynder yn hanes Gedeon. Pan oedd newydd enill buddugoliaeth y piser-au a'r lampau ar lu y Midianiaid, yr oedd gwŷr Ephraim yn hynod o genfigenllyd a siomedig, ac yn ei ddwrdio yn dost, mewn yspryd câs, ac ar dori allan mewn gwrthryfel, am iddo fyned i'r maes heb eu gwahodd hwy gydag ef; ond medrodd Gedeon liniaru eu cenfigen, ac arafu eu llid, a thawelu eu cynwrf, drwy wên deg, ac ychydig eiriau o ganmoliaeth iddynt; mai hwy oeddynt wedi perffeithio y fuddugoliaeth drwy ddal dau dyw-ysog y Midianiaid, Oreb a Zeab; a bod lloffion grawnwin Ephraim, yn well na chasgliad grawnwin Gedeon.

Ceir engraifft darawiadol arall o nerth yspryd heddychgar a maddeugar yn hanes y brenin Saul. Yr oedd yn llawn drwy-ddo o'r genfigen greulonaf tuag at Dafydd. Cynhygiodd ei drywanu fwy nag unwaith. Ceisiodd hefyd ladd Jonathan *ei fab* am ei fod yn ffyddlawn i Dafydd. Lladdodd offeiriaid yr Arglwydd yn Nob am iddynt roddi bwyd i Dafydd. Yr oedd ganddo unwaith dair mil o wŷr etholedig yn erlid ar ol Dafydd drwy'r coedydd, a'r anialwch, ac ogofeydd y creigiau: a phan oedd ar gopa creigiau y geifr gwylltion yn anialwch Engedi, trodd Saul o'r naill du i ogof corlanau y defaid. Yr oedd Daf-ydd a'i wŷr yn aros yn ystlysau yr ogof, a neshaodd Dafydd at Saul yn ddirgel, a thorodd gwr y fantell oedd am dano; ond ni laddodd ef, ac ataliodd ei wŷr rhag ei daro. Pan aeth Saul allan o'r ogof i'w ffordd, llefodd Dafydd ar ei ol, gan ddywedyd, "Fy Arglwydd frenin." A phan edrychodd Saul o'i ôl, gos-tyngodd Dafydd a'i wyneb tua'r ddaear, ac ymgrymodd, a dy-wedodd wrth Saul: "Paham y gwrandewi eiriau dynion yn

dywedyd, wele y mae Dafydd yn ceisio niwed i ti. Wele, dy lygaid a welsant y dydd hwn, ddarfod i'r Arglwydd dy roddi di yn fy llaw i heddyw yn yr ogof; a dywedwyd wrthyf am dy ladd di; ond fy enaid a'th arbedodd di, a dywedais, Nid estynaf fy llaw yn erbyn fy meistr, canys eneiniog yr Arglwydd yw efe. Fy nhad, hefyd, gwel, ïe gwel gwr dy fantell yn fy llaw i: canys pan dorais ymaith gwr dy fantell di, heb dy ladd; gwybydd a gwel nad oes yn fy llaw i ddrygioni na chamwedd, ac na phechais i'th erbyn, eto yr wyt ti yn hela fy einioes i, i'w dala hi. Barned yr Arglwydd rhyngof fi a thithau, a dialed yr Arglwydd fi arnat ti; ond ni bydd fy llaw i arnat ti." A phan orphenodd Dafydd lefaru y geiriau hyn wrth Saul, yna y dywedodd Saul, "Ai dy lef di yw hon, fy mab Dafydd?" A Saul a ddyrchafodd ei lef, ac a wylodd. Efe a ddywedodd hefyd wrth Dafydd, cyfiawnach wyt ti na myfi, canys ti a delaist i mi dda, a minau a delais i ti ddrwg. A thi a ddangosaist heddyw wneuthur o honot â mi ddaioni; o herwydd rhoddodd yr Arglwydd fi yn dy law di, ac ni'm lleddaist. Oblegyd os caffai wr ei elyn, a ollyngai efe ef mewn ffordd dda? am hyny, yr Arglwydd a dalo i ti ddaioni, am yr hyn a wnaethost i mi y dydd hwn. Ac wele, yn awr, mi a wn gan deyrnasu y teyrnesi di, ac y sicrheir breniniaeth Israel yn dy law di. Twng dithau wrthyf yn awr i'r Arglwydd na thori ymaith fy hâd i ar fy ol, ac na ddyfethi fy enw i o dŷ fy Nhad. A Dafydd a dyngodd wrth Saul. A Saul a aeth i'w dŷ; Dafydd hefyd a'i wŷr a aethant i fyny i'r amddiffynfa." Dyma engraifft o hen galon galed, greulawn, genfigenllyd, ddialgar, yn llawn drwyddi o'r "drygioni" gwaethaf, yn cael ei "gorchfygu gan ddaioni;" ïe, calon lawn o gynddaredd y "drwg ysbryd" ei hun, yn cael ei thoddi gan wres "marwor" caredigrwydd.

Amlygir nerth yr un ysbryd boneddigaidd yn yr effaith ddymunol a gafodd araeth Abigail ar galon Dafydd pan oedd yn mhoethder ei ddigllonedd am ddial ar Nabal. Pan oedd Dafydd yn ymguddio rhag Saul yn anialwch Paran, clybu fod Nabal yn cneifio ei ddefaid yn Carmel. Yr oedd gan Nabal dair

ld eiddot ti heddwch. Ac yn awr, clywais fod rhai yn
i ti: y bugeiliaid sydd genyt a fuant gyda ni, ni wnaeth-
rhad arnynt hwy, ac ni bu dim yn eisiau iddynt, yr holl
iau y buont hwy yn Carmel. Gofyn i'th lanciau, a hwy
gant it; gan hyny, caed y llanciau hyn ffafr yn dy olwg
anys ar ddiwrnod da y daethom ni—dyro, atolwg, yr hyn
lo i'th law, i'th weision, ac i'th fab Dafydd." Ond Nabal
oodd weision Dafydd, ac a ddywedodd, "Pwy yw Daf-
a phwy yw mab Jesse? llawer sydd o weision heddyw
i ymaith bob un oddiwrth ei feistr. A gymeraf fi fy
a'm dwfr, a'm cig a leddais i'm cneifwyr, a'u rhoddi i
is gwn o ba le y maent?" A'r llanciau a ddychwelas-
a waglaw, a mynegasant i Dafydd holl eiriau Nabal.
dd y fath eiriau pigog lid Dafydd, a gwegysodd ef a
ar cant o'i wŷr eu cleddyfau, mewn llawn fwriad i ddy-
Nabal, ac anrheithio ei eiddo. Yn y cyfamser mynegodd
reision Nabal i'w feistres Abigail fod Nabal wedi difenwi
lau Dafydd; ac ychwanegodd, mewn yspryd gonest, fod
Dafydd wedi bod yn fûr amddiffyn iddynt ddydd a nos,
li bod yn dda wrthynt yr holl ddyddiau y buont gyda
n y maes; ond fod ei gwr yn fab Belial, fel nad cllid
iddan ag ef Yr oedd yn anrhydedd i weision Dafydd,

[redacted]



o gras-ŷd, a chan swp o resin, a dau can teisen o ffigys, ac a'u gosododd ar asynod; a hi a ddywedodd wrth ei gweision, Cerddwch o'm blaen i, wele, fi yn dyfod ar eich ôl; ond wrth Nabal ei gwr nid ynganodd hi Ac a hi yn marchogaeth ar asyn, ac yn dyfod i waered ar hyd ystlys y mynydd, yna, wele Ddafydd a'i wŷr yn dyfod i waered i'w herbyn; a hi a gyfarfu â hwynt. A phan welodd Abigail Ddafydd, hi a frysiodd, ac a ddisgynodd oddiar yr asyn, ac a syrthiodd ger bron Dafydd ar ei hwyneb, ac a ymgrymodd hyd lawr, ac a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ddywedodd, "Arnaf fi, fy arglwydd, arnaf fi, bydded yr anwiredd; a llefared dy wasanaethferch atolwg wrthyt, a gwrando eiriau dy lawforwyn. Atolwg, na osoded, fy arglwydd ei galon yn erbyn y gwr Belial hwn, sef Nabal; canys fel y mae ei enw ef, felly y mae yntau: Nabal yw ei enw ef, ac ynfydrwydd sydd gydag ef, a minau, dy wasanaethferch, ni welais weision fy arglwydd, y rhai a anfonaist. Ac yn awr, yr anrheg yma, yr hon a ddûg dy wasanaethferch i'm harglwydd, rhodder hi i'r llanciau sy'n canlyn fy arglwydd; a maddeu, atolwg, gamwedd dy wasanaethferch; canys yr arglwydd gan wneuthur a wna i'm harglwydd dŷ sicr; o herwydd fy arglwydd sy'n ymladd rhyfeloedd yr Arglwydd, a drygioni ni chafwyd ynot ti yn dy holl ddyddiau. Er cyfodi o ddyn i'th erlid di, ac i geisio dy enaid, eto enaid fy arglwydd a fydd wedi ei rwymo yn rhwymyn y bywyd gyda'th Arglwydd dy Dduw; ac enaid dy elynion a chwyrn-deifl efe, fel o ganol ceudab y ffon dafl. A phan wnelo yr Arglwydd i'm harglwydd, yn ol yr hyn oll a lafarodd efe o ddaioni am danat, a phan y'th osodo di yn flaenor ar Israel; yna ni bydd hyn yn ochenaid i ti, nac yn dramgwydd calon i'm harglwydd, ddarfod i ti dywallt gwaed heb achos, neu ddial o'm harglwydd ef ei hun; ond pan wnelo Duw ddaioni i'm harglwydd, yna cofia di dy lawforwyn." A dywedodd Dafydd wrth Abigail, "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel, yr hwn a'th anfonodd di y dydd hwn i'm cyfarfod i, bendigedig hefyd fo dy gyngor, a bendigedig fyddych dithau yr hon a'm lluddiaist y dydd hwn rhag dyfod i

walit gwaed, ac i ymddial a'm llaw fy hun. Yna y cymer-
th Dafydd o'i llaw hi yr hyn a ddygasai hi iddo ef, ac a ddy-
wedd wrthi hi, dos mewn heddwch i'th dŷ, gwel, mi a wran-
dawir ar dy lais, ac a dderbyniais dy wyneb." Ac Abigail a
aeth at Nabal, ac wele wledd ganddo ef yn ei dŷ, fel gwledd
enin; a chalon Nabal oedd lawen ynddo ef, canys meddw
wn oedd efe, am hyny nid ynganodd hi wrtho ef air, na bych-
na mawr, nes goleuo y bore. A'r bore pan aeth ei feddw-
d allan o Nabal, mynegodd ei wraig iddo ef y geiriau hyny;
galon ef a fu farw o'i fewn, ac efe a aeth fel careg. Yn
hen deng niwrnod ar ol hyn bu Nabal farw. Pan glybu
afydd am ei farwolaeth, bendithiodd yr Arglwydd am ei atal
rhag dial arno, ac effeithiodd araeth fwyn Abigail, nid yn
ig i atal Dafydd rhag dial, ond i enill iddi hi ei hun yr an-
ydedd uchel o gael ei dewis yn wraig i'r brenin galluocaf ac
wocaf fu ar Israel, ac i'r caniedydd pereiddiaf, a'r gweddiwr
maf yn ei oes.

Dameg o nerth anorchfygol at ddal ac argyhoeddi y tros-
dwr, ac at ei gynhyrfu i ddigio wrtho ei hun yn lle wrth ei
ryddwr, oedd dameg Nathan wrth Dafydd. Yr oedd Daf-
d, er yn hen grefyddwr diwyd, cynes, myfyrgar, doniol, prof-
lol, uchel ei sefyllfa, ac eang ei ddylanwad,—wedi bod yn
og o'r pechodau mwyaf anfad; eto pe buasai Nathan yn taro
nynt ar unwaith, ac yn dechreu drwy gyhoeddi â llais uchel
nghanol y llys, ei feddyliau ofer yn oriau ei lythineb, ei od-
eb gyda gwraig Urias, ei ddichell isel yn meddwi Urias, a'i
ealondeb wedi hyny yn ei ladd â chleddyf meibion Ammon,
chawsai ei gerydd ddim y fath wrandawiad, na dim y fath
laith ag a gafodd. Ond drwy ei ddameg ddoeth, gymwys-
iol, cafodd afael yn nghydwybod Dafydd cyn iddo gael cyfle
serio, na'i llygru. Yr oedd gwëoedd ei ddameg mor fanwl fel
d oedd dim modd iddo ddianc; ac yr oedd mor gymwysiadol
nad oedd dim lle i wrthddywedyd. Yr oedd Nathan yn
na heb arbed, ac yr oedd ei eiriau yn llymach nag un cleddyf
na dau-finiog. Yr oeddynt wedi eu minio gyda'r fath fedr a'r

fath ofal, fel yr oeddynt yn cyrhaeddyd drwyodd hyd wahaniad yr enaid a'r yspryd; a hyny cyn i lygredd y galon gael hamdden i ymarfogi i'w herbyn. Sylwer fel yr oeddynt yn tori eu ffordd wrth dreiddio drwyodd at y gydwybod. "Dau wr oedd yn yr un ddinas; y naill yn gyfoethog, a'r llall yn dlawd. Gan y cyfoethog yr oedd llawer iawn o ddefaid a gwartheg; a chan y tlawd nid oedd dim ond un oenig fechan, yr hon a brynasai efe, ac a fagasai; a hi a gynyddasai gydag ef, a chyda'i blant: o'i damaid ef y bwytâi hi, ac o'i gwpan ef yr yfai hi, ac yn ei fynwes ef y gorweddai hi, ac yr oedd hi iddo megys merch. Ac ymdeithydd a ddaeth at y gwr cyfoethog; ond efe a arbedodd gymeryd o'i ddefaid ei hun, ac o'i wartheg ei hun i arlwyo i'r ymdeithydd a ddaethai ato, ond efe a gymerth oenig y gwr tlawd, ac a'i paratodd i'r gwr a ddaethai ato." A digofaint Dafydd a enynodd yn ddirfawr wrth y gwr, ac efe a ddywedodd wrth Nathan, Fel mai byw yr Arglwydd, euog o farwolaeth yw'r gwr a wnaeth hyn. A'r oenig a dâl efe adref yn bedwar dyblig, o herwydd iddo wneuthur y peth hyn ac nad arbedodd. A dywedodd Nathan wrth Dafydd, Ti yw'r gwr. Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel; Myfi a'th eneiniais di yn frenin ar Israel, myfi hefyd a'th waredais di o law Saul: Rhoddais hefyd i ti dŷ dy Arglwydd, a gwragedd dy Arglwydd yn dy fynwes, a mi a roddais i ti dŷ Israel a Judah; a phe rhy fychan fuasai hyny, myfi a roddaswn i ti fwy o lawer. Paham y dirmygaist air yr Arglwydd, i wneuthur drwg yn ei olwg ef? Urias yr Hethiad a darewaist ti â'r cleddyf, a'i wraig ef a gymeraist i ti yn wraig; a thi a'i lleddaist ef â chleddyf meibion Ammon. Yn awr gan hyny, nid ymedy y cleddyf a'th dŷ di byth. Fel hyn y dywed yr Arglwydd: Wele, myfi a gyfodaf i'th erbyn ddrwg o'th dŷ dy hun; a mi a ddygaf dy wragedd di yngwydd dy lygaid, ac a'u rhoddaf hwynt i'th gymydog, ac efe a orwedd gyda'th wragedd di yn nolwg yr haul hwn. Er i ti wneuthur mewn dirgelwch; eto myfi a wnaf y peth hyn ger bron holl Israel, a cher bron yr haul. A dywedodd Dafydd wrth Nathan, Pechais yn erbyn yr Arglwydd. A Nathan a

gweithwyr, a holl swyddwyr a gweision ei lŷs bron yn aneirif; ac yr oedd llawer yn ofynol at eu cynhaliaeth. Yr oedd darpariaeth fawr yn ofynol at luniaeth ei fwrdd. Yr oedd gwellt ac ebran lawer yn angenrheidiol at ddeugain mil o bresebau meirch: ac yr oedd treuliau adeiladu a dodrefnu ei balasau, a'i arfdai, a dinasoedd ei gerbydau, a llysoedd ei drysorau; a chynhaliaeth sefydliadau saith gant o wragedd, oll yn freninesau, a thri chant o ordderchadon, a gwasanaeth eu duwiau hwynt, yn feichiau trymion iawn ar y wlad. Rhwng y darpariaethau at luniaeth, a'r dynion, a'r arian oedd yn godi, yr oedd ei dreth yn "drom" arswydus; a hyny oll yn ychwanegol at feichiau rhyfeloedd ei dad. Yr oedd *achos* gan y bobl i gwyno fod yr iau yn drom, ac yr oedd yn bryd iddynt ddeisyfu am iddi gael ei hysgafnhâu. Gofynodd Rehoboam am dridiau i ystyried eu cais. Nid oedd dim yn anmhriodol yn hyny, pe buasai ei fryd ar degwch a heddwch. Ymneillduodd y bobl yn foneddigaidd i ddisgwyl am ei atebiad. Ymgynghorodd yntau â'r "henuriaid," a fuasent yn sefyll ger bron Solomon ei dad. Yr oedd yr henuriaid hyny yn ddynion o astudiaeth ac o brofiad, a dywedasant wrtho: "Os byddi di heddyw was i'r bobl hyn, a'u gwasanaethu hwynt, a llefaru wrthynt eiriau teg; yna byddant weision i ti byth." Yr oedd eu cyngor yn un call a thêg ac amserol; o blegyd yr oeddynt yn gwybod am sefyllfa y wlad, ac yspryd y deisyfwyr; ond yr oedd Rehoboam yn rhy uchel ac ystyfnig i dderbyn eu cyngor. Yr oedd yn ystyried yr awgrymiad iddo ef, ac efe yn frenin, yn frenin newydd, yn fab i Solomon, ac yn ŵyr i Dafydd, fod yn "was" i'r bobl, a'u "gwasanaethu hwynt," a llefaru geiriau teg wrthynt yn ddirmyg ar ei urddas, ac yn sarhâd ar ei awdurdod; ac efe a wrthododd gyngor eu doethineb a'u profiad; ac a'u bwriodd hwy a'u cyngor o'r neilldu; ac a ymgynghorodd a'r "gwŷr ieuainc a gynyddasent gydag ef." Gwŷr ieuainc uchelfrydig a dibrofiad fel yntau; gwŷr ieuainc awyddus am swyddau uchel, ac am rwysg a rhodres, segurdod a moethau a difyrwch, a hyny ar draul y wlad; gwŷr ieuainc dirmygus o bwyll ac o brofiad yr Henuriaid, a pharod i gyn-

llwynwyr er eu cael o'r ffordd. A'i gynghorwyr ieuainc a'i hanogosant ef i sefyll yn dŷn dros ei urddas a'i arglwyddiaeth, a'i "Divine right;" ac i ddangos i'r bobl wyneb llawn o ddigllonedd breninol, a'u hateb mewn llais garw fel hyn: "Fy mys bach a fydd breisgach na lwynau fy nhad; ac yn awr fy nhad a'ch llwythodd ag iau drom, minau a ychwanegaf ar eich iau chwi; fy nhad a'ch cospodd chwi â ffrewyllau, a minau a'ch cospaf chwi ag ysgorpionau." A'r brenin balch ac ynfyd a hoffodd gyngor hunanoldeb a gwallgofrwydd y gwŷr ieuainc; ac a atebodd y bobl yn arw yn ol geiriau eu cyngor; a'r canlyniad galarus fu i'r freniniaeth gael ei rhwygo ar unwaith. Pan welodd y bobl na wrandawai y brenin ar eu deisyfiad, a'i fod wedi treulio y "tridiau" i chwilio am eiriau i'w dirmygu, hwy a atebasant yn un floedd, yn nigllonrwydd eu siomedigaeth, "Pa ran sydd i ni yn Dafydd? Nid oes i ni etifeddiaeth yn mab Jesse. O Israel, dos i'th bebyll, edrych yn awr ar dy dŷ dy hun, Dafydd," ac ni lynodd ond llwyth Judah yn unig wrth dŷ Dafydd. A'r encilwyr a urddasant Jeroboam yn frenin ar Israel, ac aeth y rhwyg yn anwelladwy; a bu yn achos o genfigenau parhaus, ac o ryfeloedd mynych rhwng Israel a Judah. Parhaodd yr elyniaeth am lawer o genhedlaethau, ac achosodd i'r ddwy blaid fyned i'r draul fawr o adeiladu dinasoedd o gadernid, ac amddiffynfeydd, a gosod ynddynt gellau bwyd, ac olew, a gwin, a tharianau, a gwaywffyn, rhag ymosodiadau eu gilydd. A bu rhyfeloedd rhwng Rehoboam a Jeroboam dros eu holl ddyddiau; a syrthiodd o Israel, mewn un frwydr, yn amser mab Rehoboam, bum' can mil o wyr etholedig. Mor hawdd fuasai i Rehoboam ar y cyntaf, drwy eiriau teg, dawelu a boddloni y bobl. Gallasai yn hawdd drwy "brysuro gwaith cyfiawnder" sicrhau ei orsedd, ac enwogi ei freniniaeth. Effaith *naturiol* ei eiriau geirwon, a'i ymddygiad trahaus oedd cynhyrfu terfysg a gwrthryfel; ac effaith *naturiol* geiriau teg a boneddigaidd fuasai sicrhau heddwch a llwyddiant ei deyrnasiad. Y mae yn alaethus i feddwl am yr holl ryfeloedd annheithiol a llofruddiog fuont yn andwyo bron holl wledydd y

byd, y rhai a gynhyrfwyd drwy eiriau ac ymddygiadau trahaus a byrbwyll tywysogion ac arglwyddi ieuainc beilchion a gwyllt-ion o yspryd Rehoboam ; ac mor hawdd fuasai eu rhagflaenu a'u hatal drwy ychydig o bwyll, a boneddigeiddrwydd, ac addfwynder.

Yr unig siampl arall o'r *Beibl*, a gawn goffhau, ydyw yr engraifft dra nodedig o ddylanwad, addfwynder, a ffyddlondeb a geir yn yr effeithiau hyfryd a gafodd ymresymiadau a chyngorion Paul ar y ffoadur Onesimus, ac ar ei feistr Philemon. Y mae llythyr Paul at Philemon yn un o'r rhai tlysaf a boneddigeiddiaf a ysgrifenwyd erioed. Ni buasai doniau Pliny byth yn medru ei gyfansoddi. Y mae naws a mîn y cariad coethaf ar bob gair sydd ynddo. "Paul carcharor Crist Iesu, a'r brawd Timotheus, at Philemon ein hanwylyd a'n cydweithiwr. Yr wyf yn diolch i'm Duw, gan wneuthur coffa am danat yn wastadol yn fy ngweddiau, wrth glywed dy gariad, a'r ffydd sydd genyt tu ag at yr Arglwydd Iesu, a thu ag at yr holl saint: canys y mae genym lawer o lawenydd a diddanwch yn dy gariad di, o herwydd bod ymysgaroedd y saint wedi eu lloni trwot ti, frawd. O herwydd paham, er bod genyf hyfdra lawer yn Nghrist, i orchymyn i ti y peth sydd weddus; eto o ran cariad yr ydwyf yn hytrach yn atolwg, er fy mod yn gyfryw un a Paul yr hynafgwr, ac yr awr hon hefyd yn garcharor Iesu Grist. Yr ydwyf yn atolwg i ti dros fy mab Onesimus, yr hwn a genhedlais i yn fy rhwymau: yr hwn gynt a fu i ti yn anfuddiol, ond yr awr hon yn fuddiol i ti ac i minau hefyd: yr hwn a ddanfonais drachefn ; a derbyn dithau ef, yr hwn yw fy ymysgaroedd i. Yr hwn yr oeddwn i yn ewyllysio ei ddal gyda mi, fel drosot ti y gwasanaethai efe fi yn rhwymau yr efengyl. Eithr heb dy feddwl di ni ewyllysiais wneuthur dim ; fel na byddai dy ddaioni di o angenrhaid, ond o fodd. Canys ysgatfydd, er mwyn hyn yr ymadawodd dros amser, fel y derbynit ef yn dragywydd ; nid fel gwas bellach, eithr uwchlaw gwas, yn frawd anwyl, yn enwedig i mi; eithr pa faint mwy i ti, yn y cnawd, ac yn yr Arglwydd hefyd? Os wyt ti gan hyny yn fy nghymeryd i yn gydymaith,

wyl yn ngolwg ei fam: ac y mae'n amlwg i'w rieni, ac yn enwedig ei fam, ei ddysgu yn serchog ac yn dyner, mewn ysbryd addfwynder. Dylai y byd fod yn awr yn oleuach ac yn *efengyleiddiach* nag oedd yn amser Solomon; dylai fod ei foddion *moesol* yn effeithiolach yn awr nag oeddynt y pryd hyny, oblegyd ei fod wedi cael gwersi lawer ar gariad ac addfwynder na chlywodd Solomon mo'u clywed. Y mae Athraw o ysgol uwch na'r eiddo ef yn dywedyd, "Y tadau, na chyffrowch eich plant, fel na ddigalonont. Na yrwch eich plant i ddigio, eithr maethwch hwy yn addysg ac yn athrawiaeth yr Arglwydd." Y mae yr olygfa yn dywyll iawn pan y mae'r wialen yn llaw tad sydd heb ddysgu addfwynder. Mynych iawn y mae gerwindeb yn methu. Ychydig flynyddoedd yn ol yr oedd athraw profiadol yn cymeryd gofal ysgol mewn cylch newydd. Hysbyswyd iddo gan y prif ardalwyr fod yno un bachgen ag y byddai raid iddo ei fflangellu bob dydd; gan arwyddo fod ei ragflaenwyr wedi *profi* nad oedd dim modd ei drin yr un ffordd arall, a'i fod yn myned waeth waeth. Penderfynodd yr athraw newydd gymeryd ffordd newydd, a bu yn dirion iawn wrth y bachgen drwg. Yr oedd y fath ddull newydd yn dyrysu y bachgen ar y cyntaf, am ei fod mor wahanol i'r driniaeth ag oedd wedi arfer gael; ond bob yn ronyn darfu i dynerwch geiriau, ac edrychiadau, a holl ymddygiadau ei athraw newydd fagu tynerwch yn nghalon y bachgen. Llwyr orchfygwyd ei ddireidi, a daeth yn fuan iawn y bachgen mwyaf ufudd a diwyd, a'r mwyaf cariadus a llwyddianus yn yr holl ysgol. Etholwyd y bachgen hwnw wedi hyny yn Brif Ynad un o Dalaethau America. Buasai *parhad* goruchwyliaeth y fflangellu yn debyg iawn o andwyo y galon fawr weithgar hono, a buasai hyny yn greulondeb ac yn drueni. Dichon mai nid ar unwaith, bob amser, y gellir tyneru ac enill calon gref felly wedi cael cam-addysg, a cham-driniaeth. Nid *un* gawod sy'n ireiddio'r crasdir. Nid *un* haulwen sy'n addfedu'r ffrwythau. Ac nid *un* wên dynera y galon. Ond *dilyner* trefn yr addfwynder, y gair mwyn, y llygad llon, y wên deg, y cyngor car-

edig, a'r ymddygiad tirion, a bydd gan addysgydd y meddwl ieuanc, ac ymgeleddwr y galon ieuanc, gystal sail i obeithio am ffrwyth y fath driniaeth, ag sydd gan y llafurwr gofalus, a da ei amynedd, i ddysgwyl am werthfawr gynyrch y tir a amaethir ganddo.

Aeth ymwelydd unwaith i Ysgol Sul yn Boston, ac wrth edrych o'i amgylch, gwelai frawd a chwaer bychain yn eistedd yn ymyl eu gilydd. Mewn moment o natur ddrwg, tarawodd y bachgen bach ei chwaer. Cynhyrfodd hyny yr eneth fach, a chyda golwg llawn o lid, cododd ei dwrn caeedig i daro yn ol; ond ar hyny cyfarfu llygad yr athrawes lygad y ferch fach. "Aros, fy ngeneth anwyl i," meddai yr athrawes yn dirion, "gwell i ti *gusanu* dy frawd bach na'i daro." Aeth y gair at ei chalon. Gollyngodd ei llaw i lawr, newidiodd ei gwedd, taflodd ei breichiau am wddf ei brawd, a chusanodd ef. Toddodd hyny ei galon yntau. Gallasai ddal *ergyd*, ond methodd ddal *cusan—cusan chwaer*, y chwaer oedd newydd *daro*—a dechreuodd y dagrau ymdreiglo dros ei ruddiau. Effeithiodd hyn eilwaith ar y chwaer, a chyda'r teimlad tirionaf, cymerodd ei chadach gwyn bychan i sychu ei ddagrau; ond nid oedd hyny ond peri iddynt dreiglo yn gyflymach. Ie, y ffordd gyflymaf, ac effeithiolaf, a sicraf, i doddi y galon yw rhoi "cusan am ergyd." Yr un defnydd sydd yn nghalon y rhyfelwr "*mawr*" ag oedd yn nghalon yr ymladdwr *bach* yn Boston. Y ffordd i atal pob ymladd ydyw "talu da am ddrwg"— "gorchfygu drygioni trwy ddaioni."

Yr oedd dau fachgenyn o gylch yr un oed, o'r enwau Abel a George, mewn ysgol yn New York. Yr oeddynt yn fechgyn tlysion, ond o nwydau gwylltion, ac yr oeddynt wedi cael eu dysgu *gartref*, o'u cryd i fyny, i *ymladd* am eu hiawnderau, ac i dalu y pwyth i'w gelynion. Yr oeddynt un diwrnod, rhwng oriau gwersi yr ysgol, yn chwareu pinau. Yr oedd yr hwn a fedrai wthio ei bin ar draws pin y llall, yn enill y ddau. Gwthiodd Abel ei bin, meddai ef, ar draws blaen pin George. Haerai George nad oeddynt ddim yn croesi. Yn lle ymbwyllo,

a galw canolwr i farnu, cipiodd Abel y ddau bin gan haeru ei fod wedi eu henill. Cynhyrfodd hyny George, a tharawodd Abel yn ei wyneb. Gwylltiodd Abel ar hyny, a tharawodd yn ol, a dyna yr *ymladd* yn dechreu. Ymdyrodd y plant eraill o'u deutu, nid i'w hysgaru, ond i'w hysio i ymladd. Gwaeddai rhai, "taro fo, Abel." Llefai y lleill, "rho hi iddo fo, George ;" ac yr oedd y ddau fachgen erbyn hyn yn llawn cynddaredd, yn curo, ac yn llusgo, ac yn crafu eu gilydd hyd y medrent. O'r diwedd, syrthiodd y ddau, afael yn ngafael ; ond digwyddodd Abel fod yn uchaf, ac ymrôdd i bwyo gwyneb George nes oedd y gwaed yn neidio allan o'i enau ac o'i ffroenau. Wrth ei weled yn gorwedd fel un marw, llusgodd y bechgyn Abel ymaith ; ond er hyny nid allai George godi. Tybiasant ei fod wedi cael ei ladd, ac yn y dychryn galwyd yr athraw yno. Cariodd yntau George i'r tŷ, a golchodd ymaith y chwys a'r gwaed ; ond yr oedd ei ben a'i wyneb wedi eu hysigo gymaint, fel y collodd un o'i lygaid, a bu bron iawn iddo golli y llall, a myned yn gwbl ddall. Pe buasem ni yno, buasem yn foddlon i Abel a George, ac yn enwedig y bechgyn mwy oeddynt yn eu hysio i ymladd, gael y fraint i gael eu galw i sefyll, nid yn unig ar stôl y penyd o flaen pwlpud Paul dan bregeth addfwynder, ond o flaen brawdle Solomon i glywed dedryd y wialen, a chael yr hyfrydwch ar ol hyny o brofi blâs ei brigau, a dichon na buasai ddim yn golled i'r *rhieni* i geisio fforddio amser i fod yn y *ddwy* odfa.

Yr oedd dau frawd, o'r enwau Thomas a Gerald, yn rhedeg i lawr yr heol pan oedd yn llithrig o rew, gan dreiglo cylch o'u blaen. Tarawodd Thomas, y blaenaf, ei droed wrth garreg, a syrthiodd ar ei wyneb. Wrth fod Gerald yn ei ymyl, yn rhedeg ei oreu ar ei ol, methodd sefyll yn sydyn, ond syrthiodd ar draws Thomas, yr hwn a friw-wyd felly *ddwy* waith, sef gan ei gwymp ei hun, a chan godwm ei frawd. Cododd y ddau yn bur wyllt, a dechreuodd Thomas, dan ei friwiau, drin a churo ei frawd. Pe buasai Gerald yn debyg i Abel a George, buasai yn taro yn ol, a buasai yno friwio pellach ; ond

gwthiodd Gerald ei law i waelod ei logell, a thynodd allan ddarn hir o *siwgr candy*, a phan yr oedd ei frawd yn agor ei enau wrth ei drin a'i guro, gwthiodd Gerald y candy i'w enau; a'r foment y profodd Thomas flâs y siwgr, cauodd ei enau, tawodd a thrin, a pheidiodd a churo; ac yr oedd yn amlwg ei bod yn ddrwg iawn ganddo ei fod wedi trin a churo ei frawd caredig; a hyny am ddim ond iddo gwympo, pan oedd ef ei hun wedi cwympo yn gyntaf ar draws ei lwybr. Ond gorchfygwyd nwydwylltedd Thomas gan garedigrwydd Gerald.

Gwelsom fachgenyn gwyllt, hunanol brolgar unwaith yn ceisio cynhyrfu bachgenyn siriol arall i ymladd ag ef. Yr oedd yn miagamu arno, ac yn cau ei ddwrn wrth ei ddanedd, ac yn poeru yn ei wyneb, ac yn ei alw ar bob math o enwau o anfri; ac yr oedd cyfeillion y bachgen ymladdgar yn galw y bachgen heddychgar yn *coward*, ac yn gwneud eu goreu i'w gynhyrfu i ymladd; ond dioddefodd y cyfan yn dawel. O'r diwedd diflasodd y bachgen ymladdgar geisio ei gynhyrfu, ac yr oedd yn amlwg fod arno gywilydd am ei fod wedi bod mor frwnt wrtho; ac yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyny daeth yn ostyngedig ato i ofyn ei faddeuant.

Pan oedd dwy chwaer, o'r enwau Ruth ac Amy, yn cydchwareu ar weirglodd yn ymyl tŷ eu tad yn Pennsylfania, gwelent draw un o flodau cynaraf y gwanwyn yn gwenu arnynt. Rhedodd y ddwy tuag ato, ond llaw Ruth, yr hynaf, oedd y gyntaf i'w gyrhaedd. Ar hyny, gwaeddodd Amy mewn digter, Y fi pia fo, fi gwelodd o gyntaf. Nage, meddai Ruth, nid tydi pia fo, ond y fi; oblegyd gwelais o cyn gynted a thithau, ac y fi aeth ato gyntaf, y fi tynodd o, y fi pia fo, y mae o gen' i, ac ni chei di mo'no. Ar hyny, gwylltiodd Amy, tarawodd ei chwaer, a chynygiodd gipio'r blodeuyn o'i llaw. Tarawodd y llall yn ol, ac yno y buont yn ymladd, yn curo, yn tynu gwallt, ac yn rhwygo dillad eu gilydd, nes i'w mam eu clywed yn ysgrechian, a rhedeg yno i weled beth oedd y mater. Mae Ruth wedi dwyn fy mlodeuyn, i meddai Amy. Naddo, mam, meddai Ruth, y fi gwelodd o, y fi tynodd o gyntaf. Pa le y

mae'r blodeuyn? meddai'r fam. Erbyn edrych, yr oedd wedi cael ei ddryllio, a'i fathru dan draed yn y frwydr, ac felly yr oedd y ddwy wedi ei golli. Pe buasai Ruth, ar y cyntaf, yn dweyd wrth ei chwaer lai na hi, Os wyt ti yn meddwl mai ti bia'r blodeuyn, gwell gen'i i ti ei gael, nag i mi ei gadw; gwell gen'i dy serch di na holl flodau'r byd. Buasai y ddwy felly yn cael o berarogl y blodeuyn, ac yn cael cydsyllu ar ei hardd-liwiau, ac yn cael caru eu gilydd fel dwy chwaer; ac yn cael caru eu tad nefol, am wneud y fath flodau tlysion, ac am roddi y fath gyflawnder o honynt yn eu cyrhaedd. Y mae llawer dwy *wlad* yn debyg i'r ddwy *chwaer*, wedi bod yn curo ac yn rhwygo eu gilydd am ryw flodeuyn. Un wlad yn taeru, y fi gwelodd o gyntaf. A'r llall yn dweyd, y fi cyrhaeddodd o gyntaf; ac felly yn gwyllt ymladd am dano, nes dryllio y blodeuyn, ac andwyo eu gilydd; pan y buasai yn hawdd i'r ddwy gydfwynhau o beraroglau iachusol yr un blodeuyn.

Yr oedd tad unwaith yn cwyno yn ofidus wrth gyfaill iddo ei fod yn cael ei boeni yn fawr drwy fod ei *blant* mor gynengar; ond erbyn i'w gyfaill graffu ychydig ar y teulu, deallodd fod y tad hwnw bob amser yn dysgu ei blant i "gadw eu rhych," ac i sefyll yn dyn am eu hawliau, ac i *ymladd* os byddai raid cyn eu colli; a "chofio i'w caseion," a dal ar bob cyfle i "dalu y pwth" iddynt. Nid rhyfedd fod y plant hyny yn rhai cynengar. Yr oedd yr un boneddwr unwaith ar swper mewn teulu lle yr oedd tri o blant. Pan ranodd y fam iddynt "*custard pie*," dechreuasant edrych yn gornelog ac yn gilwgus ar ranau eu gilydd, er ceisio deall gan ba un yr oedd y darn mwyaf; a dechreuodd Charles, yr hwn oedd wedi digwydd cael y dernyn mwyaf y tro hwnw, ymffrostio. Cynhyrfodd hyny eiddigedd James a Jane. Trodd James yn bur hyf at ei fam i ddadlu am gael darn mwy; ond gan iddo fethu llwyddo, ceisiodd gipio dernyn Charles, ond methodd; ac yna dechreuodd wthio, a tharo, a chicio coesau ei frawd, a thaflodd y *custard* i'r llawr. Pan dawelodd y terfysg, a phan gafwyd yno ychydig o ddistawrwydd, adroddodd y boneddwr

plant yr hanesyn bach a ganlyn am frawd a chwaer oedd-t yn byw yn eu hymyl:
Yr oeddwn i neithiwr ar swper yn nhŷ tad a mam Lydia ch, ac Oliver bach. Aeth y fam allan i gyrchu i ni ychydig *peaches*. Yr oedd rhai o honynt yn rhai mawrion, addfed, bochgochion iawn; yr oedd y lleill yn felysion, ond o ryw-aeth llai. Estynodd y tad i mi un o'r rhai mwyaf, a rhodd-d un i'r fam, ac un i Lydia fach wyth oed, ac estynodd un all *lai* i Lydia i gymeryd allan i'w brawd bach pedair oed. eth Lydia, yn siriol iawn, a dychwelodd yn mhen deng unud. Gofynodd ei thad iddi, a oedd hi wedi rhoi i'w awd bach y peachen oedd ef wedi anfon iddo? Gwridodd ydia, a throdd draw, heb ateb. Gofynodd yntau eilwaith, oedd hi wedi ei rhoddi i'w brawd bach. Naddo, nhad, ddai'r fach, ni roddais i mo *hono*. Beth wneist ti i hono? ddai'r tad. Bwyteais hono, meddai Lydia fach. Roddaist ddim i dy frawd? meddai'r tad. Do, nhad, rhoddais fy *eachen fawr* fy hun iddo. Paham na buasit ti yn rhoddi io yr un berais i i ti roi? meddai'r tad, braidd yn llym. m fy mod yn gwybod, fy nhad, y byddai yn well ganddo fy *fawr* i. Ond ni ddarfu i ti ddim ufuddhau gorchymyn dy d. Nid oeddwn i ddim yn meddwl bod yn anufudd i fy ad, meddai'r fechan, a'i mynwes yn chwyddo, a'i llygad yn wn, a'i gwefus yn crynu. Ond buost yn anufudd, fy merch ch i, meddai y tad. Ni feddyliais i ddim, meddai'r fach, y asech yn anfoddlon i mi roddi y *fwyaf* i'm brawd bach, a chreuodd ei dagrau lifo. Yr oeddwn am i ti gael y *fwyaf*, ddai'r tad, am dy fod yn hŷn, ac yn fwy nag ef. Carwn i, ddai'r fach, i chwi roddi y pethau mwyaf a goreu i'm brawd ch. Pa'm, meddai'r tad, a'i lygad yntau, erbyn hyn, yn chreu llenwi. Am fod mor anwyl genyf am dano, meddai'r waer fach haelgalon, ac yr wyf fi bob amser yn ddedwydd n y bydd ef yn cael y pethau goreu. Yr wyt ti yn iawn, merch fach anwyl i, meddai'r tad, gan ei gwasgu yn ei fyn-s, a gelli fod yn dawel na wnaiff dy dad ddim digio byth

wrthyt am ddymuno rhoddi y pethau goreu i dy frawd bach. Y mae ef yn fachgen bychan, pur, anwyl, ac y mae'n dda genyf fi dy fod yn ei garu mor fawr. A wyt ti yn meddwl ei fod ef yn dy garu di gymaint ag wyt ti yn ei garu ef? Ydyw, nhad, meddai'r fach, oblegyd pan gynygiais y peachen fwyaf iddo, bum yn hir cyn cael ganddo ei chymeryd, am ei fod eisiau i mi gymeryd y fwyaf.

Yna trodd y boneddwr at y plant oeddynt newydd fod yn ymladd yn nghylch y "*custard pie*," a gofynodd, oeddynt hwy yn adnabod Lydia fawr ac Oliver bach? Ydym, meddent hwythau. Ddarfu i chwi erioed eu gweled yn syrthio allan, ac yn curo eu gilydd? Naddo, meddent hwythau. Pa ham na byddent weithiau yn syrthio allan? Plygodd Charles a James eu penau, heb roddi ateb. Am eu bod, meddai Jane, bob amser am roi y pethau goreu i'w gilydd. Ac yr oedd ateb Jane yn gywir. Ni bydd byth gynen, nac ymladd rhwng plant pan y bydd y naill yn hoffi gwel'd y llall yn ddedwydd, ac am roddi y pethau mwyaf a goreu i'w gilydd. A phan y mae *teuluoedd* cymydogaethol yn hoffi gweled eu gilydd yn ddedwydd, nid oes dim perygl iddynt byth ymgynhenu. A phan y mae *gwledydd* cymydogaethol yn hoffi gweled eu gilydd yn llwyddianus a dedwydd, nid oes dim perygl iddynt fyned i ryfel. Un o brif elfenau tawelwch a dedwyddwch mewn teulu ydyw fod y naill aelod yn dymuno dedwyddwch yr aelodau eraill; ac elfen fawr heddwch a llwyddiant teyrnasoedd y byd ydyw fod pob gwlad yn llawenychu yn llwyddiant a dedwyddwch gwledydd eraill. Afreidiol fyddai i ni ychwanegu siamplau am ddylanwad addfwynder ar feddyliau *plant*. Nid oes neb ag sydd wedi sylwi ychydig ar blant na ŵyr yn dda fod caredigrwydd yn effeithio yn ddwys iawn ar eu calonau

Gellir gorchfygu y *cymydogion* cyndynaf ac anhecaf drwy garedigrwydd ac addfwynder. Yr oedd genyf, meddai y dyngarol William Ladd, Yswain, faes teg o egin ŷd ychydig oddiwrth y tŷ; ond bob tro y marchogwn heibio iddo, byddai

defaid fy nghymydog Pulsifer yno yn dystrywio fy ngobaith am gynhauaf. Yr oeddynt yn ddefaid meinion coeshir, ac mor gyflym a'r milgwn, ac nid oedd na mûr na chae allai eu cadw allan. Anfonais lawer cenad i gwyno yn eu cylch, ond heb lwyddo. Yr oedd fy egin i yn fwy blasus na'r borfa gartref, ac ynddo yr oeddynt bron o hyd. Wrth farchogaeth heibio un diwrnod, a'u gweled oll yno, digiais, ac archais i'm dynion osod y cŵn arnynt, ac os na lwyddai hyny, y talwn iddynt am eu saethu. Troais ymaith yn ffrom ddig, ac yn llawn o ryfel; ond mewn moment daeth goleuni i'm meddwl, a phenderfynais wneuthur un prawf *ymarferol* o'r egwyddorion *heddwch* oeddwn wedi bregethu i eraill. Ac felly, bore dranoeth, marchogais i ymweled a'm cymydog Pulsifer. Cefais ef yn hollti coed wrth ei ddrws. Bore da, gymydog. Dim ateb. Bore da, meddwn eilwaith; dim ateb, ond math o rochiad fel mochyn, heb godi ei ben i edrych arnaf. Daethym yma, meddwn inau, i siarad â chwi yn nghylch y *defaid.* Ar hyny taflodd y fwyall i lawr, a llefodd yn y dull mwyaf nwydwyllt, Cymydog gwych ydych chwi yn peri i'ch gweision ladd fy nefaid i, gwr cyfoethog fel chwi yn peri saethu defaid dyn tlawd! Yr oeddwn ar *fai*, meddwn inau; eto nid yw ddim yn iawn gadael i'r defaid fwyta yr holl ŷd; a daethym yma i ddweyd y cymerwn i eich defaid chwi at fy nefaid fy hun i'r borfa wrth y tŷ; ac yn niwedd y flwyddyn y cewch chwithau ddyfod i'w cyrchu adref, ac os bydd yr un o honynt ar goll, y cewch chwi eich dewis o'm dëadell i yn ei lle. Ar hyn, synddelwodd Pulsifer. Ni wyddai pa fodd i'm hateb; ond o'r diwedd, bloesg ofynodd—Nage, Squire, ydych chwi o ddifrif? Ydwyf, yn wir, meddwn inau; oblegyd gwell i mi gadw y defaid yn y *borfa*, na'u cadw yn yr ŷd, a gwelaf nad all un cae eu cadw allan. Wedi munud o ddistawrwydd, llefai Pulsifer, Ni chaiff y defaid byth eich blino mwy. Mynaf eu llyffetheirio oll. Ond yr wyf am i chwi wybod, pan y mae rhywrai yn son am saethu, y gallaf finau saethu; a phan y maent hwy yn dirion, y gallaf finau fod yn dirion. Ni ddaeth y defaid

byth wedi hyny i ormesu ar fy rhandir. Pan ydym ni yn son am ddrygu ein cymydogion, y maent hwythau yn gosod eu bryd ar dalu y pwyth yn ol i ni. A phan y mae *gwlad* yn bwgwth rhyfel, y mae y wlad a fygythir yn parotoi at ryfel; ond y mae cariad yn cenhedlu cariad, ac y mae dymuno tangnefedd yn ddigon i gadw tangnefedd. Buasai yn hawdd ysgoi y *rhyfeloedd gwaedlyd* sydd bron iawn wedi andwyo y byd, pe buasai teyrnas yn ymddwyn at deyrnas fel yr ymddygodd William Ladd tuag at ei gymydog Pulsifer.

Yr oedd mintai o dros ddeg ar hugain o deuluoedd o Loegr Newydd yn mysg y sefydlwyr cyntaf yn Illinois. Y mae Mrs. Child, yr hon a gafodd gyfle i wybod ei hanes, yn adrodd iddynt fyned allan fel cymdeithas fechan o gyfeillion, dan gyfamod i ddilyn *heddwch a phawb*, a bod yn gariadlawn tuag at eu gilydd yn eu cymydogaeth newydd. Wrth eu bod yn ofalus, ac yn ddiwyd, ac yn gynil, ac yn gymydogol, yr oedd eu holl waith yn llwyddo, ac yr oeddynt yn ddedwydd yn eu gwaith. Ond yn lled fuan daeth bleiddiaid i'w corlan, bleiddiaid o ddynion diegwyddor ac ysglyfaethus, dynion yn credu mewn trais a gormes, ac yn ymddwyn yn ol eu cred. Ymresymodd y Cristionogion heddychgar yn erbyn eu trais a'u lladrad yn yr yspryd addfwynaf, gan ddangos iddynt ar yr un pryd bob cymwynasgarwch a charedigrwydd, a dweyd yn gyhoeddus ac eglur wrthynt na wnaent dalu yn ol ddim ond *daioni*. Bob yn dipyn daeth cyfreithwyr i'r ardal i gynyg eu gwasanaeth i erlyn eu hanrheithwyr, ac i derfynu pob dadleuon. Atebasant i'r cyfryw, eu bod am eu croesawu yn garedig fel cymydogion, ond na byddai arnynt ddim eisiau eu gwasanaeth swyddol. Beth wnewch chwi, meddai'r cyfreithwyr, os bydd i ladron losgi eich ysguboriau, a lladrata cynyrch eich cynhauaf? Ceisiwn dalu da am ddrwg. Yr ydym yn credu pwys hyny fel athrawiaeth o'r awdurdod uchaf, ac mai ein doethineb yn gystal a'n dyledswydd ydyw ei dilyn. Pan ddeallodd y lladron eu penderfyniad, gwnaethant lawer o *sport* o'u hyspryd a'u hegwyddor, gan feddwl y gallent yn fuan eu

cynhyrfu i ddial. Ond pan dynid ysgubor i lawr yn y nos, yr oedd y tangnefeddwyr cymydogol yn ei hail godi yn ddistaw cyn gynted ag y gallent. Pan fyddid yn troi gwartheg i'w caeau hwy, byddai y tangnefeddwyr yn eu porthi yn eu buarthau, neu yn eu hysguboriau, ac yn eu gyru yn ofalus adref erbyn amser godro, rhag i'w gelynion fod heb laeth i'w plant. Teimlodd y cymydogion gelynol bob yn dipyn mai *sport* gwael iawn oedd drygu y fath gymydogion; ac yr oedd eu *calon* yn methu chwerthin am eu castiau creulawn, a pheidiasant bob yn dipyn a bylchu eu hamgaeau, a chneifio mwng eu ceffylau, a thori coesau eu hieir. Paid, paid, meddai'r bachgen gwaethaf wrth ei frawd llai nag ef, paid taflu y gareg yna at eu cywion. Pan leddais i un o'u cywion goreu yr wythnos ddiweddaf, anfonasant y cyw i mam i wneud "*chicken broth*" i'n chwaer glaf. Y mae'n gywilydd i ni daflu ceryg at eu cywion. Gorchfygasant felly ddrygioni drwy ddaioni, fel nad oedd yno yn fuan yr un cymydog a feddai galon i'w drygu. Yr oeddynt o flwyddyn i flwyddyn yn parhau i lwyddo yn y byd, ac yn parhau, ar yr un pryd, i enill serch eu cymydogion. Nid oedd yn eu mysg ddim gwaith, na dim talion i gyfreithwyr, na policemen; a phan y byddai y sirydd yn eu tai, yn cefian ei esgusodion wrth gymeryd ymaith eu heiddo at *dreth y rhyfel*, yr oeddynt yn crybwyll wrtho yn addfwyn fod ganddo "*bad trade*"—trade na ddaliai ei chwilio yn ngoleuni cydwybod ystyriol. Ond yr oeddynt yn ddiareb o *hael* yn eu cyfraniadau at bob sefydliad buddiol. Yn mhen deng mlynedd ar ol eu sefydliad yno, daeth tiroedd y llywodraeth yn yr holl gylch hwnw i'r farchnad, i gael eu gwerthu. Yr oeddynt hwy, yn ol y ddefod, i gael cynyg am eu ffermydd yn mhris y llywodraeth, sef dolar a chwarter yr erw; ond yr oedd y fath wylltineb am diroedd y pryd hyny, fel yr oeddynt yn debyg o redeg yn uchel anarferol yn yr arwerthiad cyhoeddus. Yr oedd llu o anturiaethwyr o New York, a Boston, a Philadelphia, a Baltimore, a llawer o fanau eraill, wedi dyfod yno i brynu, ac yr oeddid yn cynyg bron yn wallgofus

y dydd cyntaf o'r arwerthiad. Prynodd rhai eu ffermydd i mewn am ddau ddolar ar bymtheg, a rhai am bum dolar ar hugain, a rhai am ddeugain dolar yr erw. Nid oedd ond gobaith gwan iawn ganddynt hwy i allu cadw eu ffermydd. Yr oeddynt, fel y sefydlwyr cyntaf yn y cylch hwnw, wedi cael cyfle i ddewis y tiroedd goreu yno ; a chan eu bod wedi eu hamaethu gyda'r fath ddiwydrwydd a'r fath ofal, yr oedd eu ffermydd yn werth llawer mwy na dim oeddid wedi wertho. Pan ddaeth y dydd i'w cynyg i'r cyhoedd, synasant yn fawr i weled eu holl gymydogion, yn brysur iawn yn y bore yn mysg y prynwyr, yn deisyf arnynt beidio cynyg am eu ffermydd ar draws yr hen sefydlwyr cymydogol a thangnefeddgar. Mae'r bobl yna, meddent, wedi bod yn llafurio yn ddyfal ac yn galed arnynt am dros ddeng mlynedd, a hyny drwy lawer o rwystr-au a phrofedigaethau. Ni wnaethant niwed erioed i ddyn nac anifail. Y maent bob amser yn talu da am ddrwg. Y maent wedi bod yn fendith fawr i'r gymydogaeth, a byddant yn fendith eto pa le bynag y byddant. Byddai yn bechod ac yn warth i gynyg ar eu traws am y cartrefleoedd cysurus a wnaethant iddynt eu hunain. Gadewch iddynt gael eu ffermydd ag ydynt wedi driu mor ofalus ac mor anrhydeddus am bris y llywodraeth. Pan agorodd y farchnad cynygiasant ar unwaith bris y llywodraeth, gan ddisgwyl y buasid yn galw arnynt yn union i gynyg yn uwch ; ond gwnaeth eu hanes a'u cymeriad y fath argraff ar feddyliau yr holl brynwyr o *bell* ac *agos* fel na chynygiodd neb ar eu hol, a chawsant fwynhau eu cartrefleoedd yn mhris y llywodraeth : ac felly, yn ol awgrym-iadau y Gwaredwr, profodd eu caredigrwydd i'w cymydogion, a'u hysbryd tangnefeddus a maddeugar yn elw mawr iddynt eu hunain yn y pen draw, ar ol eu holl brofedigaethau. Cafodd Mrs. Child yr hanes o enau un o *hynafgwyr* mwyaf profiadol y sefydliad ; ac er ei fod yn hen bererin annysgedig o "anial-dir y Gorllewin," yr oedd yn gorfod synu gyda gŵylder wrth glywed ei esboniadau o ddeddfau cariad. Beth wnaech chwi, meddai hi wrtho, pe bai crwydryn diog a lladronig yn dyfod i

os yn eich mysg, ac yn gomedd gweithio? Rhoddem fwyd do rhag newynu, a diddos iddo rhag yr oerder, ac ymddygem o fel at frawd euog syrthiedig. Oni wnai y fath ymddygiad lenu minteoedd o'r fath segurwyr euog atoch, pa fodd y gall-h rwystro iddynt eich bwyta i fynu? O, byddent yn sicr o liwygio, neu o beidio aros gyda ni. Ni ddywedem eiriau cas rthynt, ni edrychem yn llidiog arnynt, ni wrthodem ddiwallu hangenion; ond edrychem arnynt gyda thosturi, a dwys-ar, fel ar blentyn anwyl, afradlon ac euog. Effeithiai cym-ynasau fwy ar eu calonau na'r fflangellau na'r carcharau. id allent byth sefyll tosturiaethau caredigrwydd. Byddent n sicr o doddi dan farwor cariad, neu ddianc ymaith. Yr wyf n credu yr enillid naw o bob deg o honynt i dir tegwch a rhin-edd. Yr oedd Mrs. Child yn cyhoeddi fod tystiolaeth a phrof-d yr hen bererin o'r gorllewin wedi bod yn fwy o nerth i'w dd, ac o gyfoeth i'w phrofiad na llwyth llong o berlau goreu Dwyrain. Gorchfygodd cariad y cas yn yr amgylchiadau ybwylledig, er pob *anhawsderau*, Yr oedd y wlad yn new-ld, heb lysoedd barn yn eu cyrhaedd. Nid oedd yno ddim n sefydliadau yn agos i ddylanwadu drwy eu moddion add-g, a'u hordinhadau crefyddol. Yr oedd yr anturiaethwyr di-fraith a digydwybod a ddaethant heibio iddynt yn fwy mal-ddrwg, ac yn fwy anrheithgar, nag unrhyw lwyth o frodor-n anwaraidd allasent ddyfod heibio iddynt; ond er y cyfan l, gorchfygasant y drygioni trwy ddaioni.

Buasai yn hawdd lliosogi engreifftiau o ddylanwad caredig-rydd ac addfwynder mewn gwahanol *gymydogaethau*; neu amplau o atebion arafaidd yn dattroi llid, a geiriau geirwon i cyffroi digofaint rhwng *cymydogion*. Rhoddwn un eng-ifft eto o gylch gwahanol i'r rhai blaenorol: Amryw flynydd-dd yn ol, darfu i ddyn yn Manchester ysgrifenu llyfryn llawn athrod i geisio andwyo cymeriad masnachdy cyfrifol "*Grant frodyr.*" Yr oedd blaenor y masnachdy, William Grant, foneddwr nodedig o hawddgar a haelfrydig ei natur. Bu-ai yn hawdd i Mr. Grant a'i frodyr 'gospi y dyn am ei ath-

rod ; ond dewisasant beidio, gan ddweyd yn dawel y byddai y dyn fyw i edifarhau. Cludodd rhyw garn-athrodwr y geiriau hyny i'r athrodwr. O meddai hwnw, y maent yn disgwyl i mi ryw dro syrthio i'w dyled ; ond gofalaf fi rhag hyny. Eithr syrthio i'w dyled a wnaeth, yn annisgwyliadwy. Yr oedd wedi rhoddi "*Promissory Note*" i un o'i ofynwyr. Yr oedd hwnw yn ddyledwr i Grant a'i frodyr, a rhoddodd hwnw y note hyny iddynt fel rhan o'r taliad ; ond torodd cyn gallu ad-brynu y note, ac felly yr oedd Grant a'i frodyr i syrthio ar dynwr *cyntaf* y note, sef ar eu Hathrodwr. Torodd hwnw, ac nid oedd modd iddo ail-gychwyn unrhyw fasnach heb gael *certificate* o Lŷs y Methdalwyr, ac nid allai gael y *certificate* heb i'w ofynwyr parchus, Grant a'i frodyr, law-nodi ei erfyniad. Yr oedd yn teimlo mai ofer fyddai iddo ofyn ganddynt y fath gymwynas, gan ei fod wedi eu hathrodi mor greulawn ; ond darfu i wasgfeuon ei wraig a'i blant o'r diwedd ei wasgu i ddeisyf y gymwynas. Galwodd yn grynedig yn swyddfa eu cyfrifon. Nid oedd neb yno ar y pryd ond y blaenor, Mr. Grant ei hun. Y gair cyntaf a ddywedodd Mr. Grant wrtho, ar ol iddo fyned i mewn, oedd—"Cauwch y drws." Dywedodd ei gais dan grynu, ac estynodd ei ddeisyfiad i Mr. Grant. Darfu i chwi unwaith ysgrifenu llyfr yn ein herbyn ni, meddai Mr. Grant. Yr oedd yr ymbilydd druan, erbyn hyn, yn disgwyl gweled ei ddeisyfiad yn y tân, ond heb yngan gair yn ychwaneg, ysgrifenodd Mr. Grant ar ei bapur, ac estynodd ef yn ol i'r dyn, yr hwn oedd yn disgwyl gweled y geiriau *athrodwr* a *scoundrel* yn ysgrifenedig arno ; ond yn lle hyny yr oedd enw "Grant a'i frodyr" yno, mewn llythyrenau mawrion, fel cefnogwyr ei erfyniad. Nid ydym ni byth, meddai Mr. Grant, yn gomedd llaw-nodi deisyfiad masnachydd gonest, ac ni ddarfu i ni ddim deall erioed eich bod chwi yn *anonest*. Ar hyny, aeth llygaid y dyn yn ffynonau o ddagrau. O, ebe Mr. Grant, y mae fy ngair i yn wir, y byddech chwi byw i edifarhau am ysgrifenu y llyfr hwnw. Ni ddarfu i mi ddim dweyd hyny fel un math o *fygythiad*, ond mewn hyder y deuech i'n hadnabod yn well, ac

i yn ofid genych eich bod wedi cynyg ein drygu. Yr gweled eich bod yn edifarhau yn awr. Ydwyf, ydwyf, meddai'r truan diolchgar, yr wyf yn edifarhau o ddyfnwerwder calon. Wel, fy anwyl gyfaill, meddai Mr. yr ydych yn ein hadnabod yn well yn awr. Pa fodd arnoch, a beth ydych chwi yn fwriadu wneud? Atebau fod ganddo gyfeillion ag oeddynt yn barod i'w gyn- i ail-gychwyn masnach fechan; ond ei bod yn wasgm arno, ei fod wedi rhoddi y cyfan oll oedd ganddo i r ofynwyr, a'i fod yn gorfod cadw angenrheidiau oddideulu er gallu cael arian i dalu am y certificate. Fy gyfaill, meddai Mr. Grant, gyda theimlad tyner, y mae galed i'ch gwraig a'ch plant orfod dioddef felly, rhoddapur deg punt yma drosof fi i'ch gwraig i brynu y pethaf angenrheidiol. Peidiwch wylo, fy anwyl gyfaill, try h yn dda i chwi eto. Cedwch eich yspryd i fynu, wch fel dyn, a chewch godi eich pen eto yn ein mysg. idd y dyn ddiolch iddo, ond yr oedd ei wddf yn rhy deimlad calon iddo fedru tori geiriau; a gwasgodd ei ar ei wyneb, a brysiodd allan dan wylo fel plentyn.

ae genym brofion lliosog y gellir gorchfygu yr *anwariaid anwybodus* drwy garedigrwydd ac addfwynder. Ychnyddoedd yn ol ar y terfyn rhwng Talaethau America a Indiaid, sefydlodd rhai o genhadon y Morafiaid; a sant i gasglu yno eglwys o'r Indiaid, ac adeiladasant yno no a chyfleus i breswylio ynddi. Bu rhyfel wedi hyny rr Americaniaid a'r Indiaid, ac yr oedd y *ddwy* blaid eithio yr Indiaid crefyddol. Yr oedd yr Americaneu dyfetha am mai *Indiaid* oeddynt; ac yr oedd yr am eu dyfetha am fod athrawon *gwynion* yn eu mysg; dd pob argoelion fod eu dinystr yn sicr, ac yn agos. , wele fyddin o Huroniaid gwylltion yn cyflymu tuag ef. Parotodd y Cristionogion *luniaeth* i'r gelyn, ac nt genhadwr, gyda'r lluniaeth, i hyspysu fod gair Duw ygu hwy i ddilyn *heddwch a phawb*, a'u bod yn ymbil

am gael heddwch iddynt eu hunain, ac i'r athrawon gwynion oedd yn eu mysg. Gallesid meddwl, gan fod y penaeth gwyllt newydd ddyfod allan o'r coedydd yn sychedig am waed, a'i fod wedi parotoi at ryfel, a bod yr ysglyfaeth yn ei olwg, ac yn hawdd ei gael, y buasai yn chwythu ei gorn rhyfel, ac yn arwain ei fyddin yn mlaen i ladd ac anrheithio ; ond nid felly y gwnaeth. Darfu i eiriau ac anrheg y Cristionogion doddi ac enill ei galon, ac atebodd yn addfwyn, Ni wnaf i chwi niwed. Ufuddhewch i'ch athrawon. Addolwch eich Duw. Nac ofnwch Ni chaiff dim eich drygu. Hyf-haerwyd lawer gwaith, nad oes dim modd gwareiddio yr Indiaid. Y mae yn hawddach gwareiddio yr Indiaid na gwareiddio y bobl sydd am eu hathrodi a'u herlid.

Tuag ugain mlynedd yn ol cynaliodd Penaethiaid un-ar-bymtheg o wahanol lwythau o Indiaid America, Gynghorfa i lunio ammodau o gytundeb er dyogelu a meithrin cyfeillgarwch a chydfasnach rhwng y gwahanol lwythau. Cawsant gyfarfod hyfryd, a chytunasant yn

1. I beidio gormesu ar etifeddiaethau eu gilydd.

2. I addysgu eu gilydd hyd y gallant yn mhob celfyddyd fuddiol.

3. I lwyr ymwrthod â phob masnach mewn gwirodydd meddwol.

4. I gospi troseddwyr yn ol prawf a dedryd llysoedd teg a rheolaidd, ac nid trwy arfau dial. Ac yn

5. I wneud eu goreu er enill holl Indiaid Gorllewin America i fabwysiadu yr un egwyddorion. Pe buasai penaduriaid Europe wedi gallu cytuno, er dechreuad y ganrif bresenol, ar yr un egwyddorion, ni buasai yn ddim colled iddynt hwy na'u deiliaid erbyn heddyw. Y mae ganddynt wersi pwysig eto i'w dysgu oddiwrth Indiaid eithafoedd y byd.

O gylch yr un pryd ar gyngorfa grybwylledig, bu terfysgoedd gwaedlyd yn New Zealand rhwng y brodorion a'r sefydlwyr Prydeinig. Wrth derfynu, neu yn hytrach er mwyn terfynu y gynen, galwodd Llywydd Lloegr y penaethiaid Paganaidd ato,

i gwrando yn astud, a myfyrio yn ddifrifol ar adrodd-y ddwy blaid, anerchodd y brodorion yn y dull teg a syn-ymaa: "Yr wyf yn awr wedi gwrando y *ddwy* ochr, ac styried y *ddau* adroddiad; ac yr wyf felly yn barod i a fy mhenderfyniad; a dyma ydyw: Gwrandewch, aethiaid a henuriaid ar fy marn. Yn y lle cyntaf, th y Saeson gam. Nid oedd yn iawn iddynt adeiladu tai ag yr oeddych chwi yn gwadu ei werthiant iddynt, pan d y cyflafareddwyr heb farnu rhyngoch. Gwnaethant efyd wrth geisio eich dal pan nad oeddych wedi cyflawni w drosedd. Yr oeddynt ar fai pan yn mesur eich tir yn fch cydsyniad, pan oedd y swyddog heb derfynu y ddadl. sech chwithau yn Saeson, buasech yn deall ei bod yn rthwynebu swydd yr Ynadon. Pe na buasai dim ond s gallaswn eich beio chwi yn gymaint a'r Saeson. Ond g mawr o'ch tu chwi oedd i chwi ladd y dynion ddarfu *wag* i chwi, ac ymddiried i'ch gair a'ch anrhydedd. Nid Saeson byth yn lladd eu carcharorion fyddant wedi ymos-ldynt. Marwolaeth y trueiniaid hyny yw yr hyn a wnaeth dwl mor dywyll, a'm calon mor alarus; ond gwn mor dd ydyw atal llid dynion, pan fyddo eu nwydau wedi eu fu. Gwn fod yn drwm genych yn awr fod y dynion redi eu lladd. Gan mai y Saeson *ddechreuodd* yr ym-a chan mai eu camymddygiad beiadwy hwy a'ch cyn-d chwi i droseddu, nid âf i ddial eu marwolaeth. O hyn gadewch i ni gyd-fyw yn heddychlawn, a gallu ymddiried gilydd. Dyma fy nedryd fel Rhaglaw brenines Lloegr. y ngair ei gadw. Cosbaf y Saeson os cynygiant wneud i urhyw annhegwch. Rhaid i'ch Swyddwyr chwithau fy orthwyo i luddias y brodorion i wneuthur cam, fel y gallom r yn ddedwydd mewn heddwch, a helpu ein gilydd. Bydd les i'r naill fel y llall. Ni ddylai y brodorion ymyrid a'r od ag y mae y Saeson wedi brynu yn deg; ac ni ddylai on ormesu ar y tir ag y mae y brodorion heb werthu yn hlawn. Ni chaiff yr un Sais ormesu ar ddim o'ch medd-

ianau. Pan y bydd unrhyw anmheuaeth ynghylch terfynau, neu unrhyw beth arall, rhaid apelio yn deg at rëol y gyfraith; ac edrychaf finau am i'r gyfraith gael ei gweinyddu yn uniawn. Gan eich cyflwyno i gynghorion ac addysg eich cyfeillion goreu, sef y Cenhadon, a swyddwyr y llywodraeth, yr wyf yn canu yn iach i chwi, ac yn dymuno i chwi bob iechyd, a bendith Duw." Yr oedd yn naturiol i'r fath anerch deg a boneddigaidd effeithio yn ddymunol ar y brodorion. Yr oedd yn anrhydedd i'r Llywydd Fitzroy; ac yn addysg i swyddwyr eraill mewn cyffelyb ymddiried ac awdurdod. Buasai y rhan fwyaf o Dalaethau tramor Prydain yn llawer mwy blodeuog heddyw pe buasai eu llywyddion wedi dysgu siarad yn yr yspryd addfwyn yma wrth yr anwariaid sydd dan eu gofal. Rhyfedd na ddeallid bellach nad oes dim yn well na geiriau teg ac ymddygiad pwyllog a boneddigaidd tu ag at dawelu pob anghydfod.

Y mae y rhai mwyaf adnabyddus o dymerau ac arferiadau yr Indiaid—ac felly y rhai mwyaf cymwys i farnu—megys Columbus, William Penn, Roger Williams, John Elliot, Samuel Kirkland, David Brainerd, Alexander Wilson, a lluaws eraill fuont yn ymdeithio yn eu mysg, yn masnachu â hwy, ac yn mwynhau eu cyfeillach, wedi tystiolaethu yn eglur, ac yn unllais eu bod yn hawdd eu trin trwy garedigrwydd; ond eu bod, fel eraill o blant y cwymp, yn hoff o ddial pan wedi eu cynhyrfu gan anghyfiawnderau, a dichellion, a dirmyg. Y mae tystiolaethau Cenhadon hefyd, y Cenhadon enwocaf fu'n llafurio hwyaf yn mysg paganiaid eraill gwahanol barthau y byd, yn hollol yr un rediad; sef mai drwy garedigrwydd y llwyddir i'w hennill a'u gwareiddio.

Columbus oedd y cyntaf o Ewrop i ddyfod i gyfeillach â hwy; ac ardystiai ar ei lŵ difrifol, wrth frenin a brenines Spain a gŵyr eu llys, na bu erioed bobl hawddgarach, na hawddach eu trin trwy degwch ac addfwynder nag oedd brodorion ynysoedd India y Gorllewin yn amser eu darganfyddiad gan y Spainiaid.

Gwyr pawb erbyn hyn mai rhëol sefydlog William Penn

edd ymddwyn yn deg ac yn dirion tu ag at yr Indiaid yn mhob amgylchiad. Byddai yn prynu tiroedd a phethau eraill ganddynt, ac yn talu am yr oll a brynai. Byddai yn gwneud cyfamodau â hwy, ac yn ofalus iawn i gyflawni ei holl ymrwymadau a'i holl addewidion iddynt. Yr oedd ganddynt diroedd yn nghymydogaeth tiroedd ag oedd ef wedi brynu; ac yr oedd arno awydd i'w cael; a gwnaeth gynygiad iddynt. Atebasant nad oedd arnynt ddim eisiau *gwerthu* tiroedd lle yr oedd cynifer o'u tadau yn *huno;* ond er boddhâu eu "tad" caredig Penn, y cai ef ran o'r tiroedd hyny: a chytunasant fod iddo gael, am hyn a hyn o eiddo, gymaint o'r tir ag a allai un o'i lanciau gerdded o'i ddeutu mewn un diwrnod. Cerddodd y llanc yn gyflym, o gylch llain ardderchog o dir. Wrth ei weled yn camu mor hir, ac mor gyflym, ac yn cerdded mor bell, am gylch mor fawr, o dir mor hyfryd, trodd yr Indiaid yn synedig, ac yn siomedig. Gwelodd Penn eu bod yn anfoddlon, a gofynodd yr achos. Y mae y cerddwr, meddant hwythau, wedi ein twyllo. Pa fodd y gall hyny fod? ebe Penn. Onid chwychwi eich hunain ddewisodd y dull hyny i fesur y tir? Gwir, meddai yr Indiaid, ond y mae eich brawd gwyn yn gerddwr mor fawr. Ar hyny dechreuodd rhai o oruchwylwyr Penn dwymno, a thaeru fod y cytundeb yn un eithaf teg ac eglur, ac y dylid *gorfodi* yr Indiaid i gadw ato. *Gorfodi*, ebe Penn, Pa fodd y gellwch chwi eu gorfodi heb dywallt gwaed, ac oni byddai hyny yn llofruddiaeth? Yna trodd gyda gwên garedig at yr Indiaid, a gofynodd: Wel, frodyr, os yw y cylch a gerddwyd yn ormod o dir am yr eiddo oeddych i gael yn ol y cytundeb cyntaf, Pa faint yn *ychwaneg* wnaiff eich boddhâu? Darfu i foneddigeiddrwydd ei foes, a thegwch ei ofyniad, eu tyneru a'u lloni ar unwaith; a chrybwyllasant y nifer o fachau pysgota a'r llatheni o frethyn wnai eu llawn foddloni. Rhoddwyd iddynt yn siriol yr hyn a ofynasant: ac ar ol siglo llaw yn serchog â Penn, aethant ymaith dan wenu yn gyflawn wrth eu bodd. Ar ol iddynt ymadael, trodd Penn at ei swyddogion a dywedodd â llais effeithiol, O mor felus, ac mor rad ydyw caredigrwydd. Yr oeddych chwi

gynau yn son am "*orfodi*" yr Indiaid i sefyll at eu cytundeb; hyny yw, mewn iaith eglur, eu hymladd a'u lladd; a'r cyfan am lain fechan o dir.

Yr oedd Penn yn cael gwobr fawr *yn* ei garedigrwydd, a chafodd hefyd wobr dda *am* ei garedigrwydd. Yr oedd ei barch yn uchel iawn yn mysg anwariaid gwylltaf y goedwig. Yr oeddynt yn ei alw yn "*dad,*" ac yn ei garu a'i anrhydeddu fel *tad:* ac yr oeddynt yn caru ei ganlynwyr er ei fwyn: ac yn *claddu* eu bwyill rhyfel fel arwydd eu bod am fyw mewn heddwch â'r bobl wynion. Yr oeddynt hefyd yn barod iawn i wneud cymwynasau; ac yn *hael* o honynt. Bu yn gyfyng unwaith am luniaeth ar sefydlwyr *cyntaf* Pennsylvania, drwy i ymfudwyr ddylifo yno pan nad oedd darpariaeth digonol ar eu cyfer: a buasai llaweroedd o honynt yn marw o newyn, pan na fedrent gael dim cynaliaeth o unrhyw sefydliad arall, oni buasai caredigrwydd yr Indiaid yn rhanu iddynt yn helaeth o'u helwriaethau. Y mae yn deilwng o ystyriaeth, ac o goffadwriaeth, na ddarfu i'r Indiaid erioed dywallt gwaed neb o *sect* ddyngarol William Penn: os oedd eu calon am ddial ar eu gorthrymwyr, yr oedd yn llawn o'r diolchgarwch cynhesaf tu ag at eu cymwynaswyr.

Bu cryn lawer o gyfeillgarwch ac o gyfathrach rhwng yr hynaws a'r dyngarol General Oglethorpe â'r Indiaid pan oedd yn cychwyn ei sefydliadau yn Georgia, a thystiolaeth ei sylw a'i brofiad ef ydyw fod yr Indiaid yn hawdd eu trin trwy degwch a thiriondeb.

Bu Roger Williams hefyd yn dra llwyddianus i wareiddio a christioneiddio lluoedd o Indiaid tiriogaethau Lloegr Newydd drwy ei addysgiadau efengylaidd, a'i yspryd boneddigaidd a heddychgar. Llwyddodd i atal llawer o ryfela rhwng y sefydlwyr gwynion â'r Indiaid: a bu yn offerynol, ddwy waith o leiaf, i achub rhag dinystr, sefydliadau y Puritaniaid ag oeddynt wedi ei ddiarddel ef o'u cymdeithas, a'i alltudio i'r anialwch; a hyny yn unig oblegyd ei frwdfrydedd yn dadlu dros Ryddid crefyddol.

Treuliodd y Cenhadon apostolaidd Elliot, Brainerd, a Kirkland y rhan fwyaf o dymor eu gweinidogaeth gariadlawn i efengylu i'r Indiaid; a buont yn hynod o ddefnyddiol yn eu mysg. Yr oeddynt drwy eu tiriondeb wedi enill eu hymddiried fel yr oeddynt yn gallu dylanwadu arnynt bron fel y mae y tad tirionaf yn dylanwadu yn ei deulu; neu fel y mae yr athraw ffyddlonaf yn dylanwadu yn ei ddosbarth; ac fel y mae y gweinidog addfwynaf yn dylanwadu yn ei gynulleidfa.

Dynion o yspryd ac ymddygiad hollol groes i Penn a Williams, ac Elliot, Kirkland, a Brainerd oedd Benjamin Church, Miles Standish, a John Mason; "Capteniaid" byddinoedd y "Tadau Pererinol" *Sauliaid* selog oedd y Capteniaid hyny, yn tybied eu bod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw wrth lofruddio y dynion duon. Yr oedd pob un o honynt yn ei arddel ei hun yn Buritanwr o'r Puritaniaid, ond nid oedd dim o yspryd Paul yr hynafgwr ynddynt. Dynion gwaedwyllt a *gwaedlyd* oeddynt. Yr oedd y penaethiad Indiaidd Massasoit, yr hwn a groesawodd y Tadau Pererinol ar eu glaniad yn America, a'i ddau fab Alexander a King Philip, a Canonicus, a Miantonomoh yn onestach a boneddigeiddiach dynion na "Chapteniaid" crybwylledig y Puritaniaid. Yr oedd y dull y darniodd Capten Church gorff marw King Philip yn farbareidd-dra. Yr oedd gwaith Cristionogion Plymouth yn cadw ei ben, ar ben pawl yn nghanol eu dinas, a hyny am flynyddoedd, yn farbareidd-dra. Yr oedd eu gwaith yn gwerthu ei fab bychan diniwed i gaethiwed Bermuda am ei oes yn farbareidd-dra duach. Yr oedd eu cyhoeddiad y rhoddi "deg ar hugain arian" am *ben* pob Indiad a ddygid iddynt o faes y gwaed yn farbareidd-dra; ac yr oedd eu gwaith yn llofruddio y penaeth Miantonomoh, yr hwn oedd wedi bod yn ffyddlawn iddynt bob amser, yn farbareidd-dra o'r lliw gwaethaf. Llofruddiwyd Miantonomoh yn ol dedryd un o'u llysoedd *eglwysig*, cyfansoddedig o bump o weinidogion yr efengyl. Rhoddasant eu dedryd i'w farwolaethu o herwydd eu bod y pryd hyny am ryngu bodd ei elyn Uncas, er mwyn cael tir ganddo ag oeddynt hwy wedi

flysio. Yr wyf gymaint â neb am anrhydeddu eu *puritaniaeth;* ond yr oedd tro felly yn fwlch yn eu coron, yn warthar ar eu puritaniaeth; ac erys yn bydredd ar eu coffadwriaeth. Yr oedd y fath ymddygiad creulawn yn cynhyrfu yr Indiaid i'w ffieiddio hwy a'u Cristionogaeth; a'u creulondeb at Miantonomoh oedd un o brif achosion y "*King Philip War;* a gellir olrhain pob "Indian War" i ryw achos cyffelyb. Yr oedd gan y penaethiaid Indiaidd galonau mawrion ellid gynhesu, a thyneru, a thoddi drwy garedigrwydd; a gwyddai Washington hyny yn dda pan y rhoddodd Dlws Arian i Red Jacket, ac arluniau dyn du a dyn gwyn arno, yn ysgwyd dwylaw; ac enwau Washington a Red Jacket oddidan yr arluniau hyny. Yr oedd Red Jacket yn falch iawn o wisgo y tlws hwnw wrth riban ar ei fynwes, fel arwydd ei fod mewn cymod â Washington; ac yr oedd y tlws hwnw yn gymaint o anrhydedd i Washington ag ydoedd i Red Jacket. Ymollyngodd Red Jacket, yn y rhan olaf o'i oes i yfed gwirod y dynion gwynion; a darfu i'w *gwirod* ei lenwi â rhagfarn yn erbyn eu *crefydd.* Andwyodd ei gyfansoddiad drwy yfed gwirod. Bu farw un ar ddeg o'i blant o'r darfodedaeth. Pan ofynodd boneddiges iddo unwaith am ei deulu, atebodd yn alarus, mewn iaith effeithiol, o'r ystyr a ganlyn. "*Bu* Red Jacket unwaith yn ddyn mawr, ac yn ffafr yr Yspryd Mawr. Yr oedd yn bren uchel yn mysg prenau llai y goedwig: ond ar ol blynyddoedd o anrhydedd, diraddiodd ei hun trwy yfed dwfr tanllyd y dyn gwyn. Y mae yr Yspryd Mawr wedi edrych arno mewn digter; ac y mae ei fellt wedi noethi y pren uchel o'i holl gangenau."

Bu y penaeth dewrwych Cornplanter, ar ol ei holl ryfela, yn ffyddlawn drwyadl i lywodraeth yr Unol Dalaethau ar ol unwaith sefydlu amodau o heddwch: a gwnaeth ei oreu i fagu cyfeillgarwch rhwng y dynion duon a'r dynion gwynion. Drwy ei offerynoliaeth ef yn benaf y seliwyd Cyfamod Heddwch Fort Stanwix yn 1784; ac ar derfyniad y Gynhadledd, dywedodd yr hen benaeth doniol: "Diolch i'r Yspryd Mawr am y cyfle yma i fygu pibell cyfeillgarwch a chariad. Boed i ni bellach

blaen ein gwinwydd ein hunain; a bod yn dadau i'n plant ein hunain, a'u cynal hefyd." Llafuriodd Cornplanter yn egniol i ddiwyllio archwaeth a moesau ei genedl, ac i'w derchafu mewn gwybodaeth a rhinwedd. Yr oedd yn un o'r Areithwyr cyntaf yn America dros Ddirwest. Dechreuodd un o'i areithiau fel y canlyn: "Gwnaeth yr Yspryd Mawr y byd yn gyntaf; ac wedi hyny gwnaeth yr ehediaid; ac wele, da a llwyddianus iawn oedd y cyfan. Y mae ef ei hun yn anfarwol ac yn dragywyddol. Ar ol gorphen yr ehediaid, daeth i lawr i'r ddaear, a safodd arni; ac yna gwnaeth bob math a phob rhywogaeth o brenau ac o goedydd; a phob rhywogaeth o bobl. Yna gwnaeth y gwanwyn a'r tymorau eraill, er cael hin addas at blaenu. Y pethau hyn oll a wnaeth Efe: ond y Distyllddai i wneyd *whiskey* i'w roi i'r Indiaid, *nid* efe a'u gwnaeth: ac y mae yr Yspryd Mawr yn gorchymyn i mi wneud fy ngoreu i atal y meddwi; ac i gyngori y bobl i beidio yfed diodydd meddwol."

Dyn o alluoedd cryfion, o galon wrol, ac o yspryd boneddigaidd oedd Pontiac, Penaeth enwog Indiaid Ottawa; a phe buasai yn byw yn nyddiau Deddfwyr ac Athronwyr a Rhyfelwyr Groeg a Rhufain, buasai yn sicr o fod yn ddyn o fawr enwogrwydd. Buasai yn hawdd iawn i ddynion *gwynion* America fyw mewn cyfeillgarwch a chyfathrach ag ef, ac â'i ddeiliaid, trwy degwch, ac ychydig iawn o foneddigeiddrwydd ac addfwynder: ond nid rhyfedd oedd iddo fyned yn elyn iddynt, oblegyd cafodd hwy yn "*dorwyr* ammod," ac yn llawn o drachwant, ac o bob twyll a dichell. Llwyr-wobrwywyd Indiad meddw gan Fasnachydd o Loegr i lofruddio Pontiac am farilaid o Rum.

Yr oedd Osceola, Penaeth *diweddar* y Seminoles yn dywysog ieuanc gwir enwog. Gwrthsafodd alluoedd arfog yr Unol Dalaethau am dros ddwy flynedd. Profodd fod ganddo ddewrder a chyfrwysdra a chraffineb ag oedd yn drech na holl ddoniau milwraidd y Cadfridogion Scott a Taylor a Gaines a Jesup: ond darostyngwyd ef yn y diwedd drwy *fradwriaeth*

hollol annheilwng o enw a gallu America. Gwahoddwyd ef i wersyll y Cadfridog Jesup i wneuthur cytundeb o heddwch. Gan bwyso ar air ac anrhydedd y Maeslywydd *gwyn*, daeth Osceola, a rhai penaethiaid eraill, a thros driugain o'u swyddwyr gyda hwy, i wneuthur cyngrair o heddwch â llywodraeth fawr yr Unol Dalaethau. Yr oeddynt mewn awyddfryd am gyfeillgarwch a thangnefedd. Ond pan oeddynt yn meddwl eu bod yn ddiogel dan ymrwymiadau anrhydedd y dynion *gwynion*, a than nodded baner fawr y "Sêr a'r Rhesi," rhuthrwyd iddynt, a chawsant eu cymeryd oll yn garcharorion; ac anfonwyd Osceola, mewn gefynau heiyrn, i Charleston; a chafodd ei gadw yn ei garchar-gell yn Fort Moultrie nes i'w galon ddarfod ynddo. Bu farw y dydd olaf o Ionawr 1839 Yr oedd brâd, a thwyll, a chreulondeb, felly yn warth i gymeriad y Cadfridog Jesup, a gwaeth na hyny, yr oedd yn brawf cywilyddus y gall llywodraeth gref, gyfoethog, oleu, pan dan ddylanwad cybydd-dod a chribddeiliaeth llywodraethol, wneuthur cam creulawn ag anwariaid gorthrymedig Y mae yn ddiamheuol y buasai tegwch ac addfwynder yn medru enill y penaeth ieuanc doniol a dewrwych Osceola i fod yn un o ddeiliaid ffyddlonaf a defnyddiolaf yr Unol Dalaethau, ac yn ddyn gwir deilwng, ar bob cyfrif, i gael lle a swydd yn rhai o gylchoedd uchaf y wladwriaeth.

Nid rhai heb galonau i deimlo dylanwad caredigrwydd oedd mamau a chwiorydd, a gwragedd a merched y penaethiaid a enwyd; na, yr oedd ganddynt galonau cynes llawn o dynerwch; mewn gair, yr oeddynt yn rhai o'r un gwaed, ac o'r un yspryd a'r dywysoges ieuanc enwog Pocahontas.

Treuliodd y naturiaethwr celfyddgar Alexander Wilson, pan ar ei deithiau drwy yr Unol Dalaethau i gasglu defnyddiau ac enwau at ei gyfrolau mawrion ar *Adaryddiaeth*, lawer o'i amser yn mysg gwahanol lwythau o Indiaid; a'i brofiad ef, fel pob ymdeithydd *boneddigaidd* arall, oedd y gellid enill a dyogelu eu cyfeillgarwch drwy garedigrwydd.

Trwy garedigrwydd y llwyddodd yr East India Company i

ael caniatad i gychwyn eu sefydliadau yn India. Buont am ynyddoedd yn methu cael *tir* i hyny; ond fel at-daliad am yddlondeb, a medr, a charedigrwydd eu meddyg enwog, Dr. oughton, yn gwella rhai o'r penaethiaid Hindwaidd, y cafodd Company y lain *gyntaf* o dir a gafodd yn India.

Sefydlodd Dr. Parker, y cenhadwr llafurus ac enwog o merica, Feddygdy yn Canton i wella anhwylderau llygaid, ar ylltan rhydd egwyddor o elusen: ac effeithiodd ei garedigrwydd haelfrydig yn fuddiol iawn ar feddyliau y Chineaid: ac mae sefydliadau o rydd-garedigrwydd felly wedi effeithio yn dymunol ar y maesydd cenhadol yn mhob parth o'r byd.

Y mae yn wir i'r enwog a'r hynaws Capten Cook gael ei dd gan frodorion anwaraidd Owhyhee, neu Hawaii, yn Môr De; ond addefir *yn awr* gan bawb cydnabyddus â'r amgylchiadau, ei fod ef a'i wŷr, yn yr helynt annedwydd hyny, edi ymddwyn yn annoeth, os nid yn annheg, wrth geisio cyeryd brenin yr ynys yn garcharor, am fod rhyw rai o'i ddeiliid wedi lladrata un o fadau yr ail long. Yr oedd y capten i wŷr wedi bod yn morio llawer yn mysg Ynysoedd lliosog ôr y De, ac yr oeddynt wedi cael croesaw caredig gan bron ob llwyth o'r brodorion. Yr oedd y capten wedi anrhegu naethiaid rhai o'r Ynysoedd hyfryd a ffrwythlawn hyny â wartheg, a defaid, a geifr, a ieir, a hwyaid, a gwyddau *at* gu; ac hefyd wedi rhoddi iddynt wenith, a haidd, a rhŷg, c ydau eraill at hadyd, yn gystal a hadau gerddi, ac amryw lanhigion. Yr oedd cymwynasau felly yn garedigrwydd o'r th oreu: ac yr oedd y brodorion yn siriol iawn yn talu y wyth drwy ddwyn anrhegion gwerthfawr i'r llongau, o frethiau a llieiniau, a chig, ac amryw ffrwythau, ac yr oedd brodion Owhyhee, dro ar ol tro, wedi bod yn nodedig o rydd a el o'u hanrhegion. Profedigaeth rhai o'r brodorion oedd *an-ladrata* pan y caffent gyfle; ac yr oeddynt yn bur flysig a hoelion, a rhyw bethau rhyddion eraill perthynol i'r ddwy g. Profedigaeth fawr y Saeson oedd bod yn rhy wyllt am gpi y lladron yn eu gwlad eu hunain. Yr oedd y Saeson yn

[redacted]



astudio i geisio *twyllo* y brodorion mewn *bargenion;* a'r brodorion yn gwylio am gyfleusderau i ladrata unrhyw fân bethau oddiar y Saeson. Yr oedd y brodorion yn mhob man yn barod iawn i fasnachu â'r Saeson; ac yr oedd yn hawdd iawn i'r Saeson drwy y radd leiaf o foneddigeiddrwydd gael y pen goreu i'r elw yn mhob cytundeb. Yn y terfysg sydyn a galarus pan laddwyd y capten, rhaid addef fod ei wŷr wedi ymddwyn yn *fyrbwyll,* eu bod wedi tanio ar y brodorion heb archiad, ac yn groes i'w ewyllys; ac nid rhyfedd iawn i'r anwariaid ymgynddeiriogi pan yr oedd un o'u penaethiaid, ac amryw o'u brodyr wedi cael eu lladd, a phan oedd eu brenin a'i deulu yn cael eu cymeryd ymaith i gaethiwed, neu, fel yr oeddynt hwy yn tybied, i gael eu dienyddio. Nid rhyfedd iddynt godi yn eu llid i achub eu brenin. O du y Saeson y *dechreuodd y lladd.* Buasai geiriau addfwynder yn ateb gwell dyben yn y fath amgylchiadau na thori gwallt y troseddwr, neu gropio ei glustiau, ac yn enwedig yn llawer gwell na'r fflangell na'r dryll.

Y mae yn wirionedd galarus hefyd i ddyn mwy addfwyn a boneddigaidd, a llawer mwy dyngarol ac efengylaidd nag hyd yn nod y Capten Cook gael ei lofruddio yn un o Ynysoedd Môr y De, sef y cenhadwr apostolaidd ac anwyl John Williams, Merthyr Erromanga; ond yr oedd meddwon gwynion trahaus ac yspeilgar o Europe wedi bod yn twyllo ac yn gormesu y brodorion, ac yn anmharchu eu benywod yn *flaenorol* i hyny. Pan ddeallodd llofruddion y cenhadwr mai nid un traws-arglwyddaidd felly oedd Williams; ond mai un o blant dirwest ydoedd, mai un o gyfeillion heddwch ydoedd, mai un o ddisgyblion cariad ydoedd, mai un o athrawon addfwynder ac ewyllys da ydoedd, mai un o genhadon Tywysog y tangnefedd ydoedd, yr oeddynt yn galaru am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac yn ymofidio am dano, megys un yn gofidio am ei gyntaf-anedig; ac wrth adolygu ac astudio hanes ei yspryd a'i ymarweddiad, daethant i hoffi egwyddorion ei grefydd, ac i gofleidio addewidion Cristionogaeth. Y mae y ffeithiau a gry-

bwyllwyd yn ddigon i brofi mai drwy addwynder y dylanwadir oreu ar *anwariaid*.

Y mae caredigrwydd ac addfwynder yn effeithio yn dda ar *wallgofiaid*. Buwyd am hir dymor yn dilyn trefn gerwindeb, ac yn defnyddio moddion trais, a llymder cosp, tuag at ddeiliaid annedwydd y gwallgofdai; ond penderfynwyd gan ddynion craffus, profiadol, a thosturiol, i wneuthur prawf o foddion addfwynder a thiriondeb; ac yr ydys wedi cael y profion mwyaf boddhaol eu bod yn ateb yn llawer iawn gwell na gerwindeb; ac y mae yr hen drefn o rwymo a churo, wedi cael eu gweithio allan o gymeriad, ac allan o arferiad, am ei bod bob amser yn gwaethygu anhwylderau y gwallgofiaid. Y mae nifer mawr iawn o wallgofiaid, o'r dosbarth gwaethaf, dan ofal Dr. Conolly, yn Hanwell, gerllaw Llundain; ac ni bu yr un ymwelydd drwy y gwallgofdŷ mawr hwnw heb orfod rhyfeddu tiriondeb caredig y Doctor a'i gynorthwywyr; a'r drefn a'r tawelwch oedd yn ffynu yn mysg y fath gynulleidfa o wallgofiaid. Defnyddiai yr awenyddol William Cullen Bryant yr iaith ganlynol i amlygu ei deimladau ar ol ei ymweliad â Hanwell :—

"As I left this multitude of lunatics, promiscuously gathered from the poor and the reduced class, comprising all varieties of mental disease, from idiocy to madness, yet all of them held in such admirable order by the law of kindness, that to the casual observer most of them betrayed no symptoms of insanity; and of the rest, many appeared to be only very odd people, quietly pursuing their own harmless whims, I could not but feel the highest veneration for the enlightened humanity by which the establishment was directed. I considered, also, if the feeling of personal liberty, the abscence of physical restraint, and the power of moral motives, had such influence to hold together in perfet peace and order, even a promiscuous band of lunatics, how much greater must be their influence over the minds of men in a state of sanity; and on how false a foundation rest all the governments of force! The true basis of human polity,

appointed by God in our nature, is the power of moral motives, which is but another term for public opinion."

Gellir profi hefyd mai dyna y drefn oreu i effeithio ar rai *dan awdurdod*, mewn pob math o wasanaeth. Dyna'r ffordd oreu i drin *prentisiaid*, sef rhai wedi ymrwymo, neu wedi cael eu rhwymo i fod, am amser penodedig, dan addysg ac awdurdod meistr, i ddysgu ei grefft, neu ei alwedigaeth, er eu budd mewn amser dyfodol. Nid oes ond gobaith gwan i allu meithrin ufudd-dod, a ffyddlondeb, ac astudiaeth ynddynt os nad ellir gwneud hyny drwy diriondeb. Dyna'r ffordd hefyd i lwyddo gyda *gwasanaeth-ddynion*, sef y rhai sy'n gweithio i eraill am gyflog penodedig. Y mae dosbarthiadau lliosog o'r cyfryw yn ddefnyddiol a dedwydd, yn enill eu bywoliaeth yn anrhydeddus, pan nad oes yr un maes arall yn agored iddynt lafurio am eu cynhaliaeth ; ac y mae digonedd o brofion mai nid wrth eu gwasgu mewn llety, na lluniaeth, na chyflog, nac mewn manteision addysg, na rhagorfreintiau crefyddol, y mae dysgu ufudd-dod a ffyddlondeb iddynt. Drwy eu parchu yn dirion fel aelodau o'r teulu y ceir hwy i lenwi eu cylchoedd yn y teulu. Y mae dosbarthiadau lliosog iawn hefyd o *filwyr* a *morwyr* dan awdurdod. Buwyd yn llym anynol wrth eu plygu i *gaethddeddfau* rhyfel. Gweinyddid yr hyn a elwid yn "ddisgyblaeth fanwl ;" ond yr hyn ddylasid alw yn *gospedigaethau barbaraidd*, drwy holl fyddinoedd a holl lyngesau Europe. Yr ydys yn ddiweddar wedi tyneru y cospau milwraidd. Bu yr awdurdodau yn gyndyn iawn i blygu i'r cyfnewidiad ; ond yr ydys yn cael fod trefniadau tirionach yn well, yn well o lawer iawn. Y mae y rhai a ysgrifenasant fanylaf ar Ddisgyblaeth filwraidd, megys Mr. Henry Marshall, wedi profi yn y modd egluraf, mai yn y byddinoedd lle y mae lleiaf o fflangellu y mae y drefn oreu, a'r teimladau ufuddaf a boneddigeiddiaf : ac mai yn y byddinoedd lle y mae y cospau creulonaf a mynychaf, y mae y troseddau amlaf, a'r ddisgyblaeth aneffeithiolaf. Dywed hen swyddog o brofiad helaeth, fod bygythiau a fflangelliadau beunyddiol yn caledu y teimladau, ond fod caredigrwydd yn

eu tyneru, ac yn sugno y colyn a'r gwenwyn allan o'r galon waethaf ei chyflwr; fod llymder yn magu câs, ond fod trugaredd yn enyn cariad; fod ergydion y ffangell yn diffodd gwreichion dynoliaeth yn y dyoddefydd; na ddarfu i greulondeb erioed ddiwygio y galon, ond ei gwasgu a'i maeneiddio nes ei dryllio a'i suddo i'r bedd; fod creulondeb yn ffynonell drwgnwydau, ond fod tiriondeb yn eu meddyginiaethu. Y mae yr un hen swyddog craffus yn adrodd am filwr ag yr oedd y cospau llymaf wedi methu ei wella. Penderfynodd y maeslywydd gynyg trefn newydd ato: a phan droseddodd gyntaf ar ol hyny, galwyd ef yn mlaen, nid i glywed dedryd y ffangell fel arferol, ond i gael ei urddo a'i wisgo yn *sergeant* yn y fyddin. Daeth y dyn hwnw, o hyny allan, mor ddyfal a manwl a ffyddlawn yn holl gylch ei ddyledswydd a neb yn yr holl fyddin. Y mae pob diwygiad moesau i gael ei ddwyn yn mlaen drwy ddiwylliad y meddwl, ac y mae y meddwl i gael ei dyneru, a'i goethi, a'i oleuo, drwy weinidogaeth addfwynder. Y mae cymelliadau ac athrawiaethau cariad a boneddigeiddrwydd yn gweithio y cospau barbaraidd allan o arferiad yn bur gyflym, a gobeithio y parha maeslywyddion i astudio dylanwad addfwynder, nes iddynt ddysgu o radd i radd fod holl grefft rhyfel yn un afreidiol ac anghyfreithlawn.

Bu milwyr Alexander unwaith, pan wedi eu cynhyrfu gan siomedigaeth, yn ymyl codi mewn gwrthryfel yn erbyn ei awdurdod, a buasai y radd leiaf o draws-arglwyddiaeth, neu y gair lleiaf o fygythiad yn yr adeg hono, yn chwythu y fflam yn un oddaid o dân gwyllt drwy'r holl fyddin; ond drwy un araeth lawn o yspryd boneddigaidd, ac o eiriau addfwynder, medrodd nid yn unig dawelu y cynhwrf, ond ail danio eu ffyddlondeb iddo, ac ail dynhau eu hymlyniad wrtho.

Y mae'n hyspys hefyd mai drwy eiriau esmwyth addfwynder y medrodd Columbus gael gan ei forwyr hwylio yn mlaen gyd ag ef pan ar ei fordaith fawr i chwilio am diroedd y Gorllewin. Buasai haner gair garw wrthynt, pan oedd eu hysprydoedd mor isel, yn tanio eu gwrthryfel ar unwaith, ac yn lluddias iddo gyrhaedd ei amcan pwysfawr.

Y mae tiriondeb yn effeithio yn hyfryd ar *gaethion*, sef y rhai sydd wedi eu darostwng isaf dan iau drymaf awdurdod. Cyfeiria Miss Martineau, yn ei llyfr ar America, at foneddwr tyner-galon yn y De ag yr oedd ei fryd ar addysgu, a derchafu, a dedwyddu mintai o gaethion ag oeddynt wedi dyfod i'w ran drwy destament. Yr oedd cyfreithiau a defodau y Dalaeth ar ei ffordd i'w dysgu yn y *dull* a ddewisai, ac felly penderfynodd eu hyfforddi drwy ymddiddanion cyfeillgar, a siamplau o dynerwch. Yn lle eu cadw i weithio drwy oriau y dydd, yr oedd yn rhanu gwaith iddynt, ac yn gofalu am fod tasg y dydd mor ysgafn fel y gallent ei gorphen erbyn *haner* y dydd. Anhawdd dirnad fel yr oedd ysgafnder y dasg yn ysgafnhau eu calonau ; ac yr oedd y cyntaf i ddarfod ei ran yn troi yn siriol i gynorthwyo ei gyfaill er iddynt gael *cyd*-orphwys ; ac felly yr oedd y cryfion yn cael cyfle i gynorthwyo y gweiniaid, y gwŷr i gynorthwyo eu gwragedd, y tadau y plant, a'r ieuainc yr hen. Yr oedd hyn yn magu ac yn cryfhau eu cydymdeimlad : a dysgasant ranu gorchwylion eu rhan eu hunain o'r dydd, er i bob un gael gwneud yr hyn a fedrai wneud oreu ; ac effeithiodd y cynllun yn dda ar eu hyspryd a'u trefn, ar eu glanweithdra a'u gwisgoedd, a choginiaeth eu bwyd, ac ar eu holl gysuron

Cyfeiria Miss Martineau at deulu cyfrifol arall yn y De, ag yr oedd eu holl gaethion yn eu caru a'u parchu oblegyd eu tiriondeb. Gadawyd etifeddiaeth i'r teulu hyny mewn rhan arall o'r Dalaeth, a barnasant mai eu dyledswydd oedd symud yno i fyw. Yr oedd yn rhy anhawdd ganddynt werthu eu hen etifeddiaeth, ac yr oeddynt yn anewyllysgar i'w gosod ar ardreth i arolygwr newydd dieithr, rhag iddo fod yn greulawn wrth eu caethion : ac felly galwasant y Negroaid atynt, a hyspysasant iddynt eu bod dan orfod i symud ; a gofynasant iddynt a allent hwy edrych ar ol yr etifeddiaeth, a'i thrin yn ofalus ? Y caent ethol arolygwr o'u mysg eu hunain, ac y caent ddarparu yn mlaenaf at eu hangenion eu hunain, ac y cymerent hwythau yr hyn fyddai ganddynt i'w arbed o'r cyn-

yrch. Wrth ddeall fod y teulu ar ymadael, aeth y caethion yn drist iawn; ond dywedasant y gwnaent eu goreu o'r etifeddiaeth. Etholasant yn aroygwr y dyn fuasai y teulu yn ddewis, sef yr helaethaf ei wybodaeth a'i brofiad, a'r mwyaf medrus oedd yn eu mysg. Ymadawodd y teulu, gan eu hanog i fod yn garedig i'w gilydd, a chadw eu gwyliau a'u gwleddoedd fel arferol, er eu difyrwch, a'u hiechyd. Yn mhen rhai misoedd ar ol hyny, daeth y meistr i roddi tro i edrych am danynt; a dewisodd ddyfod ar eu dydd gwledd, er cael eu gweled yn eu gwisgoedd goreu, ac yn nifyrwch eu llawenydd. Wrth agoshau at y tŷ yr oedd yn synu nad oedd yno ddim swn cynghanedd a dawnsio. Erbyn iddo gyrhaedd i olwg y maesydd, gwelodd eu bod oll yn ddiwyd wrth eu gwaith. Gydag iddynt ei weled dyma hwy yn ymdyru o'i ddeutu i'w groesawu. Pan ofynodd iddynt, pa ham nad oeddynt yn cynal eu gwledd ar eu dydd gŵyl arferol? Atebasant, y buasai colli un diwrnod, yr adeg hono, yn golled fawr i'r cnwd, a'u bod wedi cytuno i *oedi* eu gwledd hyd nes y caent adeg o lai o brysurdeb. Ar ol cael boddhad neillduol yn yr olwg oedd yno ar bob peth, dychwelodd y meistr at ei deulu; ond yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyny, dyma genhadwr ar ei ol gyda phob brys, yn hyspysu iddo fod caethion ei hen gartref, wedi gwyllt-godi y bore hwnw mewn gwrthryfel, ac y difethid ei etifeddiaeth. Wrth fod mor anhawdd ganddo gredu y newydd, sicrhaodd y cenhadwr ei fod wedi dyfod yno gyda'r brys mwyaf ar gais cymydogion ei hen gartref. Ar hyny, carlamodd yntau, ar ei farch goreu tua'r lle; ac erbyn iddo gyrhaedd yno yn mrig yr hwyr, dyma ei gaethion yn dawnsio mewn llawenydd o'i ddeutu, yn eu dillad gŵyl; yr oeddynt yn difyrrwynhau eu gwledd *ohiriedig;* ac yr oedd eu cymydogion wrth glywed swn eu gorfoledd y bore hwnw, ar ddydd anarferol, wedi *hyll*-ddychymygu fod eu bryd ar ddrwg. Bu yr etifeddiaeth am lawer o flynyddoedd dan eu gofal, ac yr oedd ei chynyrch yn fwy nag oedd pan dan arolygiaeth uniongyrchol ei pherchenog. Pe dilynid siampl y ddau foneddwr y cyfeiria

Miss Martineau atynt gan bob meistri eraill, parotoid y caethion i fwynhau eu rhyddid a'u hannibyniaeth yn y dull goreu ar les eu teuluoedd eu hunain, a theuluoedd eu meistriaid, ac yn y dull goreu ar les cymdeithas yn gyffredinol.

Effeithia caredigrwydd yn dda ar *derfysgwyr a drwg-weithredwyr.* Rai blynyddoedd yn ol, yr oedd Capten Atkinson yn saethu adar gwylltion ar un o gorsydd yr Iwerddon, yn agos i fwthyn oedd ar ymyl y gors. Daeth gwr tlawd y bwthyn ato, ac erfyniodd arno beidio saethu yn ymyl y tŷ, am fod ei wraig yn bur glaf ac isel ar enedigaeth plentyn. Gwrandawodd y capten yn uniongyrchol o'r cyrhaedd ; ac yn niwedd y dydd, anfonodd ei was a baich o'r danteithfwyd mwyaf cysurol i'r wraig glaf a'r teulu ; a galwodd ei hun, yn mhen rhyw ddeuddydd, i holi am eu helynt. Yn lled fuan ar ol hyny, pan oedd yn saethu gerllaw yno, darfu i fintai o derfysgwyr, a'u galwent eu hunain "*Molly Maguires,*" ei gylchynu, ac erchi iddynt roddi i fyny ei ddryll adar iddynt hwy. Yr oedd y capten yn ddyn o yspryd gwrol, gwrthododd ufuddhau, a thynodd lawddryll o'i fynwes, ond methodd ei danio. Ar hyny cymerodd y "*Mollies*" ei ddryll adar a'i lawddryll oddiarno ; ac yr oedd perygl iddynt gymeryd ei *einioes* hefyd. Ond ar y foment hono, daeth y bwthynwr allan, a dryll yn ei law, a thyngodd y saethai rai o honynt, os na ollyngent y capten yn rhydd, a a dychwelyd iddo ei ddau ddryll ; oblegyd, ebe efe, dyna'r gwr boneddig, a ymgiliodd rhag dychrynu fy ngwraig pan oedd ar ei gwely, ac a anfonodd y danteithion iddi oddiar ei fwrdd ei hun. Pan ddeallodd y "Mollies" am ei garedigrwydd boneddigaidd tuag at wraig dlawd yn ei chyfyngder, dychwelasant y ddau ddryll iddo, gan ddweyd y cadwent adar y gors hono iddo ef, ac ymadawsant dan weiddi, hir oes, a llwyddiant i Capten Atkinson, cymwynaswr y fam wan yn ei hiselder.

Pan oedd Alexander a'i fyddin yn rhwysg eu buddugoliaethau, ymdeithiasant i un dalaeth gyda bwriad i'w goresgyn a'i hanrheithio ; ond cawsant y preswylwyr yn dilyn eu gwahanol alwedigaethau, un yn ei faes, a'r llall yn ei fasnach, a'r llall yn

i ei weithdy, yn ddiwyd ac yn dawel fel arferol; a'u bryd ar d yn llonydd a heddychol. Ni fedrai Alexander ymladd â obl o ysbryd felly, a throdd oddiyno heb eu niweidio, gan lwi fod y bobl hyny wedi dysgu y ffordd i orchfygu Alexder.

Adroddir hefyd i fyddin gref unwaith ymosod ar un o drefd y Morafiaid; ond pan gawsant y pyrth ar drysau yn ored, a phob dyn wrth ei waith yn dawel, ni fedrent gael gas na chalon i daro ar bobl felly oeddynt wedi penderfynu i fio taro yn ol. Ni bydd byth ryfel lle y bydd *un* o'r ddwy aid a'u bryd ar fod yn heddychol. Os beir ni am resu bydddenwog Alexander y gorchfygwr dan ben y "*terfysgwyr a'r ymosodwyr*," ein hamddiffyniad ydyw, na's gwyddom a-ba ben arall yr ydys i resu y fath fyddinoedd.

Yn amser terfysgoedd yr Iwerddon yn 1798, alltudiwyd i stralia, un o'r enw Joseph Holt, ag oedd wedi bod yn ptea i fyddin o wrthryfelwyr. Arbedwyd ei fywyd am iddo achub bywyd swyddog o Loegr. Deallodd swyddwyr y wodraeth yn Australia ei fod yn ddyn o bwyll, a dawn, a oeddigeiddrwydd, a chafodd ei benodi yn arolygwr i fintai ump a deugain o garcharorion alltudiedig. Yr oedd y wodraeth yn gofyn cyfrif gosodedig o waith, mewn amser nodedig, oddiwrth bob un o honynt. Yr oedd pob gweithr i gael tal am yr oll a wnelai dros ben ei dasg; ond os wystrai segurdod ef i'w chyflawni, yr oedd i gael ei gymero flaen ynad i gael ei fflangellu. Penderfynodd Holt ymwyn yn gyfiawn ac yn garedig at ei fintai o garcharorion. oedd yn arfer talu iddynt yn *ddioed* am yr oll a wnaent s ben eu tasgau; ac yn gofalu am ddillad cysurus iddynt, ligon o fwyd wedi ei goginio yn dda. Pan ladratawyd ddo oddiarno, galwodd hwy oll yn nghyd, a chyhoeddodd roddai iddynt unrhyw *ffafr* dros ben yr *allowance*, os na rgid yn ol yr hyn a ladratesid oddiarno. Eglurodd iddynt y lleidr, pwy bynag ydoedd, yn eu drygu *oll*. Y byddai drwm iawn ganddo i'r fflangellwr orfod dyfod at neb oedd

dan ei ofal ef; y byddai yn hawdd iddynt hwy gadw trefn, a meithrin gonestrwydd yn eu mysg eu hunain; a'i fod am iddynt arfer eu doethineb i gael allan y lleidr a'i argyhoeddi a'i gospi, heb gael nac ynad, na ffiangellwr yno; a sicrhaodd iddynt, os dychwelent yr eiddo iddo, ac os cospent y lleidr, y mynai iddynt garedigrwydd, a phob tegwch. Parodd ei araeth iddynt ethol swyddwyr i gadw trefn, ac i benodi rheithwyr i farnu a chospi pob troseddau. Dygwyd yr eiddo yn ol, ac ataliwyd pob man-ladradaeth yn holl gylch ei arolygiaeth. Cyd-gyfamododd y dynion, er mai troseddwyr wedi eu halltudio oeddynt, gan ei fod ef wedi ymddiried y gofal iddynt, na oddefent leidr yn eu mysg, i ddrygu eu cymeriadau, a lleihau eu cysuron. Gofynwyd i Holt lawer tro gan swyddwyr y llywodraeth, pa fodd yr oedd yn gallu trin ei ddynion; nad oedd byth yn dwyn yr un o honynt i gael ei gospi, a'u bod yn edrych yn iachus, a bod y ffermydd oeddynt yn lafurio yn cael eu trin yn well na dim ffermydd yn y Dalaeth. O, meddai yntau, yr wyf wedi astudio mwy ar y natur ddynol nag ar lyfrau. Yr oedd genyf lawer mwy o weithwyr dan fy ngofal yn yr hen wlad nag sydd genyf yma. Ni byddwn byth yn eu gwasgu mewn dim, nac yn goddef iddynt hwythau dwyllo, na gwasgu eu gilydd, na drygu eu meistri. Byddwn yn anghymwys iawn i fod yn arolygwr danoch chwi, pe byddai raid i mi ddwyn dau neu dri o'r dynion bob wythnos i'w ffiangellu. Collid gwaith pob truan a ffiangellid am wythnos, neu bythefnos; a byddai hyny yn golled drom mewn amser, heblaw fod barbareidd-dra y gosp yn drygu eu hysprydoedd am eu hoes.

Adroddir hefyd am Colonel Collins, Llywydd un o sefydliadau penyd Van Diemen's Land, ei fod yn nodedig o dyner wrth y trueiniaid oeddynt wedi cael eu caethiwo dan ei awdurdod; ac yr oedd yno well trefn, a llai o droseddau nag oedd mewn unrhyw sefydliad arall yn yr holl gylchoedd hyny; a gallai y llywydd Collins ffordddio i glywed ambell i swyddwr uchelfrydig, cenfigenllyd, nwydwyllt, a dialgar, yn danod iddo

ei dynerwch, gan fod ei sefydliad mor drefnus, mor dangnefeddus, ac mor llwyddianus.

Y mae tegwch a boneddigeiddrwydd yn effeithio yn ddymunol ar *denantiaid*. Y mae lliaws mawr o bobl heb fod yn berchenogion tai na thiroedd, ond yn byw mewn anneddau, ac yn trin tyddynod ag ydynt yn eiddo i eraill. Y mae yn bosibl mewn cysylltiadau felly, i'r naill blaid ddrygu y llall. Gall y tenant ddrygu eiddo ei feistr mewn llawer ffordd, a gall y meistr wasgu y tenant mewn llawer ffordd. Y mae yn brofedigaeth gref i'r meistr godi rhent tŷ neu dyddyn, ar ol i'r tenant gymeryd traul a thrafferth i ychwanegu ei werth; ac y mae yn brofedigaeth hefyd i ambell arglwydd tir i geisio rhwymo ei denant i fabwysiadu ei *gredo* ef mewn pethau gwladol a chrefyddol. Y mae hyny yn orthrymder ag sydd yn sicr yn y pen draw o beri niwed a gofid. Ond os bydd y ddwy blaid yn ffyddlawn ac yn garedig i'w gilydd, bydd hyny yn sicr yn y diwedd o effeithio er enw, ac er elw, ac er cysur i'r *ddwy* blaid.

Y mae caredigrwydd yn effeithio yn dda ar *bendefigion* yn nghylchoedd uchaf cymdeithas. Lluniwyd llawer bradwriaeth yn erbyn Augustus Cæsar yn y tymor cyntaf o'i deyrnasiad, a dienyddiwyd y bradwyr yn ol y ddefod. Cafodd yr ymherawdwr hyspysiad un diwrnod fod Cinna yn cynllunio i'w lofruddio pan y byddai yn aberthu yn y deml. Effeithiodd yn ddwys ar ei feddwl fod pendefig ieuanc, ag oedd ef wedi noddi ac anrhydeddu, yn blaenori yn y fath gyd-fradwriaeth. Aeth mor isel, nes bron dewis marw yn lle byw pan yr oedd rhyw rai o hyd yn sychedu am ei einioes. Deallodd ei wraig Livia fod y peth yn ei flino, ac erfyniodd arno wrando ar ei chyngor. Gwnewch, meddai hi, fel y mae y meddyg yn gwneud. Pan y bydd ei gyffyriau cyffredin yn methu mewn rhyw afiechyd, y mae'n cynyg y pethau sydd groes iddynt. Yr ydych chwithau wedi cynyg llymder at fradwyr, cynygiwch drugaredd. Maddeuwch i Cinna. Nis gall eich drygu, oblegyd fod ei frâd wedi dyfod i'r golwg; ond daw i chwi anrhydedd a chysur o'ch

gwaith yn ei arbed. Penderfynodd Augustus wneud yn ol cyngor ei wraig. Galwodd Cinna i'w lŷs, ac wedi gollwng allan ei holl weinidogion, dywedodd wrth Cinna fod ei fradwriaeth wedi cael ei datguddio. Coffhaodd iddo wedi hyny am ei garedigrwydd iddo, a rhesymodd ag ef yn nghylch creulondeb ac ynfydrwydd ei fradwriaeth. Rhoddais eich bywyd i chwi unwaith fel gelyn, yr wyf yn awr, Cinna, yn rhoddi eich bywyd i chwi fel teyrn fradwr. O hyn allan na fydded un rhyw gynen rhyngom, ond i fod am y mwyaf ffyddlawn i'n gilydd. Gorchfygwyd calon Cinna gan y fath diriondeb, a bu yn ffyddlawn i'r ymerawdwr, yn y swyddau uchaf, dros weddill ei oes; a phenododd yr ymerawdwr yn etifedd ei holl olud, a'r fradwriaeth hono oedd yr olaf a gynlluniwyd yn erbyn Augustus. Gallasid cael canoedd o siamplau cyffelyb mewn oesoedd diweddarach am diriondeb penaduriaid yn effeithio yn dra daionus wrth bardynu terfysgwyr yn erbyn eu hawdurdod a'u hordinhadau.

Yn yr oesoedd a aethant heibio byddai y rhyfeloedd mwyaf gwaedlyd yn ffynu bron yn feunyddiol rhwng teulu y naill bendefig a theulu y pendefig cymydogaethol. Yr oedd gan bob pendefig ei "*clan*;" ac y mae yn alaethus i adgofio am greulonderau y naill *clan* at y *clan* arall. Bu cynen felly yn hir rhwng y Murrays o Elibank, a'r Scotts o Harden, yn Scotland. Darfu i arglwydd ieuanc Harden, un tro, arwain ei *clan* allan i anrheithio etifeddiaeth Syr Gideon Murray; ond casglodd Murray ei *clan* yntau i gyfarfod â'r ymosodwyr; a gorchfygodd hwy, a chymerodd arglwydd ieuanc Harden yn garcharor. Pan ddychwelodd Murray adref y noson hono, i gyd-lawenychu â'i deulu am ei fuddugoliaeth ar yr anrheithwyr, gofynodd ei wraig iddo, Beth oedd yn fwriadu wneud i'w garcharor, arglwydd ieuanc Harden? Yr wyf yn bwriadu ei arwain i'r crogbren ar unwaith, ebai yntau, gan fy mod wedi ei ddal ar fy etifeddiaeth yn cynyg at anrheithio a llofruddio. Na, na, meddai ei wraig, ni byddai hyny ddim yn deilwng o'ch synwyr chwi, i grogi arglwydd ieuanc, cyfoethog, golygus,

Harden, pan y mae genych chwi dair o ferched yn eu llawn faint, yn edrych am wŷr. Gwir iawn, ebe'r Barwn, dyna air yn ei amser; By Jim, caiff naill ai priodi ein Meg geg-fawr ni, neu caiff hongian. Rhoddodd y cynyg ar unwaith o flaen y pendefig ieuanc. Yr oedd hwnw ar y cyntaf mor elynol i'r teulu, fel y dewisodd farw yn hytrach na phriodi Meg; ond pan oeddid yn ei arwain at y pren dioddef, dywedodd, wrth weled nad oedd iddo yr un ffordd arall o ddiangfa, y priodai Meg, a gwnaeth Meg wraig ragorol iddo. Bu yntau yn ŵr ffyddlawn iddi hithau, a darfu y gynen am byth rhwng teuluoedd y Scotts a'r Murrays. Ac nid dyna yr unig dro i garwriaeth a phriodas rhyw Meg a William ddiffodd tân rhyfel, a gwneud cymod dedwydd rhwng dau *clan* gelynol.

Y mae yspryd addfwynder yn werthfawr iawn mewn *eglwys* a phob cymdeithas. Y mae yspryd chwerw wedi andwyo llawer eglwys flodeuog, a llawer cymdeithas fuddiol—wedi dyrysu eu tangnefedd, a diffodd eu llusern, a gwylltio ymaith golomen eu cariad, a sychu eu profiadau, a gwywo eu ffrwythau, a mygu eu grasau, a lladd eu doniau, a llwyr nychu eu dylanwad a'u defnyddioldeb; a chrynhoi cwmwl du oer rhyngddynt â heulwen y nefoedd. Ond o'r tu arall, y mae yspryd addfwyn cariadlawn fel olew ir yn tyneru ac yn gwella pob archollion. Y mae yn cynhesu serchiadau, yn gloywi grasau, yn ireiddio profiadau, yn melysu doniau, ac yn puro cyflawniadau pob eglwys, a phob cymdeithas lle y byddo yn cael cartref a meithriniad.

Y mae yspryd addfwynder a chariad yn dylanwadu yn hyfryd a bendithiol rhwng gwahanol *enwadau crefyddol*. Rhaid addef gyda galar fod yspryd cul a chwerw, yspryd rhagfarn a chenfigen, yspryd athrod ac erlid wedi bod, am dymhorau meithion, yn dylanwadu yn dra niweidiol rhwng gwahanol enwadau crefyddol; wedi bod yn lladd eu nerth, yn gwenwyno eu cysuron, a'u gwneud yn destun gwatwargerdd i ynfydion ystafelloedd cyfeddach, a llysoedd anffyddiaeth. Yspryd addfwynder a brawdgarwch oedd grym ac enwogrwydd, a sylfaen

llwyddiant a goruchafiaeth yr eglwysi cyntaf. "Er eu bod yn amrywio o ran eu tymherau a'u galwedigaethau, eto yr oedd yn eu mysg y cyd-serchiadau cryfaf; yr un deimlad a'r un amcan, yr un llawenydd a'r un galar, yr un gobeithion a'r un ofnau. Yr oedd eu cariad yn medru ehedeg o eglwysi Asia i eglwysi Corinth a Rhufain; ac yn medru trosglwyddo cydymdeimlad o Macedonia i Judea. Medrai y rhai oedd yn caru yr Iesu nas gwelsent, garu duwiolion nas gwelsent. Yr oedd cyd-erfyniau yn esgyn i'r nef oddiwrth rai nad oeddynt byth i adnabod eu gilydd ar y ddaear; ac yr oedd eu gweddiau yn ddigon eang i gofleidio holl deulu Crist. Beth bynag oedd trefn dufewnol eu gwahanol eglwysi, yr oeddynt yn arddangos i'r byd yr olygfa ogoneddus o un frawdoliaeth gyffredinol". Ond pan oerodd eu cariad daeth y gelyn i mewn, ac achosodd ymraniadau, yr hyn a arweiniodd i res hir o erledigaethau ac ymrysonau. Er pan y mae gweinidogion a blaenoriaid gwahanol enwadau crefyddol yn cyfarfod yn achlysurol ar areithleoedd y Beibl Gymdeithas, a chymdeithasau buddiol eraill, y mae yspryd tynerach a rhyddach yn ffynu rhyngddynt; ac y mae y cynhadleddau a gynaliwyd yn ddiweddar er meithrin "Undeb Efengylaidd" wedi bod yn nodedig o effeithiol. Tuag ugain mlynedd yn ol dygodd Mr. James, o Birmingham, y pwnc dan sylw Undeb Cynulleidfaol Lloegr a Chymru. Ymddiddanwyd llawer yn ei gylch mewn mwy nag un o gyfarfodydd yr Undeb; ac mewn canlyniad i hyny, cynaliwyd gŵyl hyfryd iawn yn nghapel Dr. Leifchild o Lundain. Gweddiodd Dr. Cox, Bedyddiwr; Dr. Steinkopff, Lutheriad; a Mr. Latrobe, Morafiad; ac areithiodd Dr. Bunting, Wesleyaid; Dr. Hamilton, o Eglwys Scotland, a Dr. Leifchild, Annibynwr. Cyfarfod llawn ydoedd o yspryd y nefoedd. Dyferai enaint cariad drwy eu holl gyflawniadau. Bu cynhadledd yn mhen deufis ar ol hyny yn *Centenary Hall* y Wesleyaid, er ystyried mesurau i gael y fath gyfarfodydd yn fwy mynych a chyffredinol. Yr oedd yn hwnw, heblaw y gweinidogion a enwyd, Dr. Vaughan a Dr. Burder, Mr. James a Mr. Clayton, Dr. Cand-

)r. Cumming, Mr. Hinton a Dr. Alder, a Mr. Reece.
dd y gyfeillach dros bedair awr. Yn lled fuan ar ol
u y cyfarfod llawnaf a welwyd erioed yn Exeter Hall.
l un o emynau Watts ar gariad. Darllenodd y Parch.
timer, Eglwyswr, Salm 133, Ioan 17, Eph. 4, a rhanau
ctau ar gariad. Gweddiodd G. Clayton am arwein-
h y Nefoedd. Eglurodd Dr. Leifchild y lles oedd y fath
lydd yn debyg o wneud trwy ddystewi gwawd anffydd-
neru gerwindeb dadleuaeth, a deuu gweinidogion ac
i agosach cyfeillgarwch. Sylwodd y Cadeirydd, W.
Ysw., A. S., y byddai yn hawdd i'r gwahanol enwadau
a caru Iesu, ac yn disgwyl bywyd drwy ei angau, gael
dydd felly; ac y byddent yn sicr o rwyddhau y ffordd
niad yr efengyl. Yna areithiodd Dr. Harris a Dr.
on er profi fod undeb yspryd rhwng pawb oedd mewn
as â Christ. Darllenodd Mr. Sherman lythyrau oddi-
r. Chalmers a Dr. McLeod yn gwresog gymeradwyo y
farfodydd. Canwyd emyn ar gariad. Gweddiodd Mr.
:. Areithiodd Dr. Cox a Dr. Alder er egluro dyled-
yr eglwysi nid yn unig i feithrin cariad, ond i *ddangos*
eu bod yn caru eu gilydd. Cychwynwyd cân am
b y Saint" gan Athraw Coleg y Wesleyaid. Gweddi-
. Tidman, ac areithiodd Baptist Noel a Mr. Lacroix o
er dangos nad oes eisiau dim ond cydnabod awdurdod
fel rheol ffydd ac ymarferiad, a chrediniaeth o gariad
a Iawn y Mab, a gras yr Yspryd i fod yn rhwymyn
rhwng Cristionogion. Gweddiodd Dr. Steane, ac ar-
l Mr. James ac Isaac Taylor, Ysw., er dangos y gellid
n cariad heb aberthu golygiadau, ac heb gyflawn un-
barn am bob pwnc ac ymarferiad. Yna anogodd Mr.
h a Mr. Ainslie y cyfarfod i weddio gweddi Crist am
gyblion fod oll yn un. Yna ar gynygiad Dr. Leif-
nderfynwyd dilyn y mesurau buddiolaf er cyrhaedd am
goneddus y fath gyfarfodydd. Gan i filoedd fethu
'r Hall fawr, cynaliwyd dau gyfarfod eraill, o'r un na-

tur, yn gyfagos yno. Bu llawer cynadledd felus, a llawer cyfarfod bendithiol ar ol hyny, nes oedd llaweroedd o'r byd yn ail weiddi mewn syndod, "*Gwelwch fel y mae y Cristionogion hyn yn caru eu gilydd.*"

Y mae yspryd addfwynder yn effeithio yn dda iawn ar *bleidiau gwladol.* Y mae dadleuon gwahanol bleidiau gwladol, yn eu cynadleddau, a'u hetholiadau, a'u seneddau wedi bod lawer tro mor dymhestlog nes chwalu holl flodau a holl ffrwythau eu gwladgarwch i bedwar gwynt y nefoedd. Y maent wedi bod fel cymylau duon y daran yn saethu mellt at eu gilydd nes deifio ymaith flaendarddiad pob rhinwedd cymdeithasol. Y maent wedi bod fel tónau cynddeiriog y môr, yn ewynu allan eu cywilydd eu hunain, yn llaid o bob lliw ac amrywiaeth. Defnyddiwyd geiriau geirwon ynddynt wedi eu chwilio allan o bwrpas i gynhyrfu cenfigenau, eiddigeddau, ac ymladdau. O mor ddaionus ac mor hyfryd ydyw boneddigeiddrwydd Washingtonaidd mewn cynadleddau gwladol! Y mae fel yr enaint gwerthfawr ar y pen, yn disgyn ar hyd y farf, ac ar ymyl y gwisgoedd, nes llenwi y llys a'i gynteddau o'r perarogl. Y mae fel gwlith Hermon yn disgyn ar holl fynyddoedd gwleidiadaeth i ireiddio egin tangnefedd a gwladgarwch; ac yno y gorchymyn yr Arglwydd ei fendith, sef bywyd a heddwch yn dragywydd.

Y mae addfwynder a chyfeillgarwch yn effeithio yn dda rhwng *gwlad a gwlad*; ac y mae heddwch a chydweithrediad rhwng gwlad a gwlad yn annhrisiadwy, ïe yn annirnadwy werthfawr. Y mae geiriau geirwon byrbwylldra a balchder lawer tro wedi cynhyrfu eiddigedd poethach rhwng dwy wlad nag mewn unrhyw gylchoedd eraill o'r gymdeithas ddynol. Pan y mae dau gymydog, neu ddau deulu yn athrodi eu gilydd, ac yn bytheirio bygythiau yn erbyn eu gilydd, ac yn ysgyrnygu danedd ar eu gilydd, ac yn cau eu dyrnau yn ngwynebau eu gilydd, ac o'r diwedd yn rhuthro i'r gafael i guro a chnoi, a rhwygo eu gilydd, y mae pob dyn ystyriol yn barnu eu bod yn ynfyd a gwallgofus wrth *ymladd* felly, pan y gallent derfynu eu dadl mewn llys barnwyr gyflafareddiad rheswm.

Ond y mae yr un dynion difrifol ag sy'n condemnio dau *deulu* am ymladd, yn cyfiawnhau cynddaredd dwy *wlad* yn rhyfela; pan y byddai yr un mor hawdd iddynt derfynu eu cynen drwy gyflafareiddiad ag ydyw i ddau deulu wneud hyny. Y mae yn alarus i feddwl fel y mae culni calonau, a gwylltineb nwydau, a chynen tafodau, a cholynod ysgrif-binau, a rhagfarnau cenedlaethol, wedi arwain lawer canwaith i ryfeloedd gwaedlyd rhwng y naill wlad a'r llall, pan y buasai yn hawdd i ysgoi y rhyfeloedd hyny drwy ychydig o bwyll ac addfwynder. Suddodd Lloegr enwog, yn ystod y can' mlynedd diweddaf, i ddyled o dros wyth can' miliwn o bunau drwy ei rhyfeloedd *afreidiol;* ac nid yw y ddyled ond un ran o'r baich. Gwariodd yr Unol Dalaethau fwy na haner hyny ar eu sefydliadau milwraidd, a hyny ar ol iddynt enill eu hannibyniaeth. Gwariodd amryw o deyrnasoedd Europe yn hyny o amser lawer mwy na'r Unol Dalaethau. Y mae yn alaethus i feddwl fel y mae arian, a llafur, a doniau yn cael eu *ofer*-wario yn Ffrainc i weithio magnelau a chleddyfau, i adeiladu amddiffynfeydd a rhyfel-longau, ac i gynal byddin a llynges rhag i Brydain ymosod arni; ac fel y mae Lloegr yn ofer-wario ei myrddiynau yn yr un modd rhag i Ffrainc ymosod arni; ac fel y mae teyrnasoedd eraill yn yr un dull yn dilyn eu siampl i ofer-wario eu nerthoedd er bod yn barod i ryfel os digwydd i ryw gymydog eu bwgwth, neu edrych yn gilwgus arnynt. Mor hawdd fyddai i awdurdodau gwledydd goleuaf, a gwareiddiaf, a galluocaf y byd, *gyd-uno*, pe dewisent, i droi eu nerthoedd o alwedigaeth rhyfel at bethau o *wir* fuddioldeb iddynt hwy eu hunain, ac i'r byd yn gyffredinol. Daw amser dedwydd felly.

"Pladuriau wneir o'r diles wayw-ffyn;
A swch fu'n gledd braenarir godreu'r bryn.
Y gwinwydd nodda'r hil ar hefin brwd,
Y llaw fu'n hâu a fêd, a gluda'r cnwd.
Rhyfedda gwr wel'd yn yr anial erâs
Y lili'n tarddu trwy y cwrlid glâs;
Synlama yn nghanol diffaeth sych pan glyw
Y llethri'n tyrddu gan rieidr byw.
Yn holltau'r graig, lle ffurfiodd draig ei ffau,
Cryn llafrwyn îr, a gwelir hesg yn gwau:

Lle nidrodd drain ar lychlyd ochrau'r glyn
A chwardd dan urdd o geinhardd ddiri ac ynn.
Tŷf palmwydd gwyrdd yn mangre'r grinllyd berth,
A myrtwydd prid lle cysgodd cegid certh.
Y blaidd a'r oen gyd-borant gylch y gail,
Tywysa plentyn lew wrth denyn dail:
Yr arth gyd ieua â'r ŷch mewn dinych dang,
A llyfa seirph di-lid y troed a'u sang:
Y baban nwyfus red oddiwrth y fron,
I chwareu â gwiber hyd y barth yn llon,
A rhifa frychau'r cén symudliw. hardd,
Trŷ'r colyn fforchog gylch ei fŷs—a chwardd.

Byddai yn hawdd i gael y dyddiau tawel hyny ar unwaith drwy i Benaduriaid gydymanog i osod eu bryd ar hyny mewn boneddigeiddrwydd ac addfwynder; ac O, fel yr ychwanegid drwy hyny at eu cysuron personol a chymdeithasol hwy a'u deiliaid!

Y mae addfwynder a thiriondeb yn effeithio yn ddymunol ar hyd yn nôd y *creaduriaid direswm.* Gwelwyd creaduriaid o'r greddfau croesaf i'w gilydd, megys cathod a llygod, colomenod a dylluanod, y barcut mawr a'r canary bach, cwningod a milgwn, wedi cael eu dysgu i gydfyw mewn heddwch a chyfeillgarwch yn yr un cawell, fel un teulu dedwydd. Y mae'n ddifyr i weled y llygoden fach, a'r melyn-ei-aden, a llwyd y tô yn chware â gewinedd a barf y gath, yn gorphwys ar ei phen, ac ar ei chefn, yn cogleisio ei chynffon, ac yn bwyta gyda hi o'i dysgl. Pe gofynid, Pa fodd y dysgwyd hyny iddynt, gellid ateb, mai trwy addfwynder eu hathraw. Y mae yn hên sylw mai, fel y bo y dyn y bydd ei anifail. Os bydd dyn yn sur a sarug, yn waedwyllt ac yn ddialgar, felly y bydd ei anifail; ond os bydd y dyn yn siriol ei lygad, a gwên ar ei enau, a charedigrwydd yn ei galon, felly y bydd ei anifail. Os bydd y dyn yn *arfer* ysgyrnygu a chwyrnu a chnoi, felly y bydd ei gi. Os bydd y dyn yn ysgwyd ei ben, ac yn gostwng ei ael, ac yn moelu ei glust, ac yn gwthio, ac yn cicio, felly y bydd ei geffyl. Y mae yn rhyfedd ac yn addysgiadol i feddwl fel yr ydys wedi dysgu addfwynder, a diniweidrwydd, a chymwynasgarwch, a diolchgarwch i'r llew ac i'r elephant. Gellir hefyd dysgu dialgarwch

idynt. Y mae ffyddlondeb ac anwyldeb y ceffyl a'r ci i'r awl fydd yn garedig wrthynt yn ddiareb. Y mae llaweroedd ffeithiau am gŵn a meirch ac adar yn curio ac yn clafychu c yn marw o *hiraeth* ar ol eu cymwynaswyr. Y mae llawer redi cael ei ddweyd a'i ysgrifenu o bryd i bryd ar gyfrwysder ffyddlondeb, a chyfeillgarwch y ci a'r geffyl. Yr ydys wedi rofi eu bod yn hawdd iw dysgu, ac wedi profi hefyd ei bod yn antais i ddechreu eu hyfforddi yn gynar, neu pan fyddant yn naine; a bod y naill genhedlaeth ar ol y llall o'r rhai a ddysgir, yn dyfod yn fwy fwy hywaith a hawdd eu dysgu. Dysgir y *mab* â haner y drafferth a gymerwyd i ddysgu y *tad;* a dysgir yr *wyr* â chwarter y boen a gafwyd i ddysgu y *taid.* Y mae yr Arab yn hoff iawn o'i farch, yn ymhyfrydu yn fawr i'w borthi a'i ddysgu. Y mae yn cael byw a bwyta gyda'i blant, yn y babell, fel aelod o'r teulu. Caiff ran o bob tamaid goreu fydd ar y bwrdd. Bydd y plant yn cael gwneud gobenydd o'i ben a'i wddf, a chap nos o'i fwng, ac yn cael gorwedd rhwng ei goesau. Bydd y march mor ofalus i beidio sangyd arnynt yn mian y tywyllwch ag ydyw eu tad. Y mae'n hyfryd i weled mor ddiolchgar y mae am bob cymwynas, mor astud ydyw i wybod ewyllys ei feistr, ac mor ddedwydd ydyw i ufuddhau iddo. Y mae yn alarus i feddwl fel y mae march ambell i *Gristion* yn cael ei guro a'i faeddu gan yr *anifail* fydd yn ei farchogaeth, neu yn ei lwytho. "Y cyfiawn a fydd ofalus am fywyd ei anifail; ond tosturi y drygionus sydd greulawn." Y mae sail i gredu y daw y creaduriaid direswm yn fwy fwy ufudd a hywaith ac addfwyn a defnyddiol fel y cynydda tiriondeb a hawddgarwch eu harglwyddi, plant dynion.

Dyna ychydig o siamplau o ddylanwad daionus tynerwch ac addfwynder mewn deuddeg o wahanol gylchoedd a chysylltiadau; a hyny dan wahanol amgylchiadau, ac yn wyneb bron bob amrywiaeth o anhawsderau. Gellid rhesymu eto yn

IV. Fod hyn oll, nid o ddamwain, ond yn ol *deddfau* anian, ac yn enwedig yn ol deddfau y *natur ddynol.* Un o wersi cyntaf deddfau anian ydyw, mai drwy addfwynder yr ydys

[redacted]



debycaf o lwyddo i adgyweirio y beiadwy. Un o brif ddeddfau y natur ddynol ydyw fod ymddygiad dyn yn dylanwadu ar ei gyd-ddynion, neu ar y rhai y bydd a wnelo â hwy; ac y bydd yr argraff a wneir o'r un natur ag yspryd awdwr y dylanwad. Os bydd teimlad y galon yn *ddrwg*, argraff ddrwg gaiff hyny ar eraill. Y mae edrychiad gwgus yn peri i arall wgu; ond y mae edrychiad siriol yn sirioli eraill. Y mae gair garw yn tynu ateb garw, ond y mae geiriau esmwyth, llais mwyn, yn mwyneiddio lleisiau pawb oddeutu. Y mae tymer ddialgar yn cynhyrfu dialgarwch; ond y mae yspryd maddeugar yn magu maddeugarwch. Y mae câs yn enyn câs, ond y mae cariad yn enyn cariad. Y mae surni yn achosi surni, ond y mae melusder yn achosi melusder. Y mae pwyll yn dysgu pwyll i eraill, ond y mae gwylltineb yn cynhyrfu eraill i wylltio. Y mae gwên ar y gwyneb yn argraffu gwên ar y gwyneb cyferbyniol. Y mae deigryn o lygad yn tynu dagrau o lygaid eraill; ond y mae ergyd yn tynu ergydion yn ol. Y mae hunanoldeb yn magu hunanoldeb, ond y mae haelioni yn magu haeledd. Os bydd dyn yn ymladdgar, y mae yn magu ymladdgarwch o'i ddeutu, ond os bydd yn heddychgar y mae yn meithrin tangnefedd. Y mae yn unol â deddfau anian i ddyn ddysgu i eraill yr hyn fydd ynddo ef ei hun. Ond

V. Coron, ac ateg a diweddglo pob ymresymiad o blaid addfwynder ddylai fod athrawiaeth a siampl yr Athraw Mawr, Iesu Grist. Nid oes dim modd cam-ddeall ei athrawiaeth ef. Dyma rai o'i ymadroddion, ac y maent yn rhai o berffaith symledd ac eglurder. "Clywsoch ddywedyd—Llygad am lygad, a dant am ddant. Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, Na wrthwynebwch ddrwg: ond pwy bynag a'th darawo ar dy rûdd ddeheu, tro'r llall iddo hefyd. Ac i'r neb a fyno ymgyfreithio â thi, a dwyn dy bais, gâd iddo dy gochl hefyd. A phwy bynag a'th gymello un filldir, dos gydag ef ddwy. Dyro i'r hwn a ofyno genyt; ac na thro oddiwrth yr hwn sydd yn ewyllysio echwyna genyt. Clywsoch ddywedyd, Câr dy gymydog, a chasâ dy elyn; eithr yr ydwyf fi yn dy-

wedyd wrthych chwi, cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r sawl a'ch cas ânt, a gweddiwch dros y rhai a wnel niwed i chwi; ac a'ch erlidiant: fel y byddoch blant i'ch Tad yr hwn sydd yn y nefoedd: canys y mae efe yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn. Oblegyd os cerwch y sawl a'ch caro; pa wobr sydd i chwi? Oni wna'r publicanod hefyd yr un peth? Ac os cyfarchwch well i'ch brodyr yn unig, pa ragoriaeth yr ydych chwi yn ei wneuthur? Onid ydyw y publicanod hefyd yn gwneuthur felly? Byddwch chwi gan hyny yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith."

Y mae llaweroedd o Gristionogion, ac yn enwedig Cristionogion eglwys Rhufain, ac eglwys Groeg, ac eglwys Loegr, yn gwadu yr athrawiaeth bwysfawr yma yn yr un yspryd, ac ar yr un egwyddor, ag y mae yr anffyddiwr yn gwadu dwyfoldeb Cristionogaeth. Y maent yn taflu cyfraith Crist y tu ol i'w cefn, ac yn ei mathru dan eu traed. Y mae eu daliadau a'u canonau a'u hymddygiadau gyda golwg ar ryfeloedd, a threfniadau disgyblaeth wedi bod yn wrthryfel hŷf a chreulawn yn erbyn doethineb a chariad ac awdurdod Iesu. Buasai Cristionogaeth cyn heddyw wedi gorchfygu gwrthwynebiadau a goresgyn y ddaear, pe buasai y rhai sy'n proffesu bod yn ddisgyblion i Iesu, yn credu ac yn pregethu ac yn cyflawni ei gyngor. Buasai dysgu rhyfel wedi darfod, a buasai tangnefedd, a gwareiddiad, a llwyddiant yn llenwi y byd.

Dywed Iesu mewn man arall: "Os dygi dy rodd i'r allor, ac yno dyfod i'th gôf fod gan dy frawd ddim yn dy erbyn, gâd yno dy rodd ger bron yr allor, a dos ymaith: yn gyntaf cymoder di a'th frawd; ac yna tyred ac offrwm dy rodd." Dyma y dystiolaeth gryfaf allasid byth gael o blaid cariad brawdol. Y mae Duw yn foddlon, hyd yn nod, i *oedi* gwâsanaeth ei allor, er mwyn rhoddi cyfle i gariad gael ei adferu rhwng dau frawd.

Dywed mewn man arall: "Gwyn eu byd y rhai addfwyn, canys hwy a etifeddant y ddaear. Gwyn eu byd y rhai trugarogion, canys hwy a gânt drugaredd. Gwyn eu byd y tang-

nefeddwyr, canys hwy a elwir yn blant i Dduw." Y rhai uchaf eu cymeriad, a phuraf eu gwynfyd, yn ol barn a phregeth Crist, ydynt y rhai addfwyn, trugarog, tangnefeddgar.

Dywed mewn lle arall: "Os pecha dy frawd i'th erbyn, dos, ac argyhoedda ef rhyngot ti ac ef ei hun. Os efe a wrendy arnat, ti a enillaist dy frawd. Os efe ni wrendy, cymer gyda thi eto un neu ddau, fel yn ngenau dau neu dri o dystion y byddo pob gair yn safadwy. Ac os efe ni wrendy arnynt hwy, dywed i'r eglwys: ac os efe ni wrendy ar yr eglwys ychwaith, bydded ef i ti megys yr ethnig a'r publican." O mor ddirodres ac mor dirion ydyw cynllun Iesu! Nid oes yma ddim son am y fflangell na'r ffagod; na phenydiau y chwil-lys tu ag at y cyfeiliornwr cyndynaf. Yr oeddid i gynyg yn addfwyn bob moddion moesol; ond os methid, nid oedd dim i'w wneud ond ei adael o'r neilldu.

Pan ofynodd Pedr iddo, Pa sawl gwaith y pecha fy mrawd i'm herbyn, ac y maddeuaf iddo? Ai hyd seithwaith? Yr Iesu a ddywedodd wrtho, "Nid ydwyf yn dywedyd wrthyt, hyd seithwaith; ond hyd ddengwaith a thriugain seithwaith."

Dywedai mewn lle arall: "Cymerwch fy Iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf a gostyngedig o galon, a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau." A rhag i neb feddwl fod ei athrawiaeth yn galed, ychwanega, "Canys fy iau sydd esmwyth, a'm baich sydd ysgafn."

Pan unwaith ar ei daith i bregethu addfwynder a thosturiaethau ei deyrnasiad, anfonodd genhadon o flaen ei wyneb, i baratoi iddo lety yn Samaria; ond y Samariaid nis derbyniant ef, oblegyd fod ei wyneb yn tueddu tua Jerusalem. Yr oedd y fath genfigen rhwng y ddwy ddinas, fel mai y ffordd sicraf i ddyfod yn gyfaill i un oedd troi yn elyn i'r llall. Pan welodd Iago ac Ioan fod y Samariaid yn gwrthod llety iddo, dywedasant, Arglwydd, a fynu di ddywedyd o honom am ddyfod tân i lawr o'r nef, a'u difa hwynt, megys y gwnaeth Elias? Ac efe a drodd, ac a'u ceryddodd hwynt; ac a ddywedodd, "Ni wyddoch o ba yspryd yr ydych chwi: canys ni ddaeth Mab y

dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." Ac efe a aeth yn dawel o'r neilldu i dref arall. Nid oedd dim yn ei ofidio yn fwy na bod ei ddisgyblion mor araf i ddeall addfwynder ei oruchwyliaeth; a'u bod yn glynu mor dýn wrth hen athrawiaeth y tân ar cleddyf, a hen gyfraith y "llygad am lygad, a'r dant am ddant."

Wrth anerch ei ddisgyblion ar y swper olaf, dywedodd: "Dyma fy ngorchymyn i, ar i chwi garu eich gilydd, fel y cerais i chwi. Wrth hyn y gwybydd pawb mai disgyblion i mi ydych, os bydd genych gariad i'ch gilydd." Arwydda ei eiriau mai eu bod hwy yn un mewn cariad, oedd y nôd egluraf eu bod yn ddisgyblion iddo, a'r moddion effeithiolaf i ennill y byd i gredu ynddo.

Pan ddaeth y dyrfa fawr a'r cleddyfau a'r ffyn i'r ardd i'w ddal, Wele un o'r rhai oedd gydag ef, sef Simon Pedr, a estynodd ei law, ac a dynodd ei gleddyf, ac a darawodd was yr archoffeiriad, ac a dorodd ymaith ei glust ddehau ef, ac enw y gwas oedd Malchus. Yna y dywedodd yr Iesu wrth Pedr, dychwel dy gleddyf i'w le; canys pawb ar a gymerant gleddyf, a ddyfethir â chleddyf. Nid oedd modd iddo gondemnio yspryd Pedr mewn iaith eglurach; ac awgrymodd y gallasai yn y fan gael mwy na deuddeg lleng o angylion i ddial ar ei erlidwyr, pe buasai yn dewis gofyn am hyny: ond yn lle dial, efe a ddywedodd wrth y rhai oedd yn ei rwymo, "Goddefwch hyd yn hyn;" ac efe a gyffyrddodd â chlust Malchus, ac a'i iachaodd ef. A phan oeddynt yn ei hoelio ar y groes, efe a weddiodd dros ei ddienyddwyr, "O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur."

Mewn oes a aeth heibio gwrthryfelodd dinas Angers yn Ffrainc yn erbyn y llywodraeth, ac arweiniodd y frenines fyddin gref yno i'r dyben i gospi y gwrthryfelwyr. Yn ol y ddefod y pryd hyny, gofynodd am gael cyfranogi o'r swper sanctaidd cyn rhuthro i'r frwydr. Yr oedd ar y pryd yn llawn cynddaredd yn erbyn ei gelynion, ond dofwyd ei llid ar unwaith pan anerchodd yr esgob hi wrth fwrdd yr Arglwydd yn y geiriau

canlynol: "Cymerwch, frenines, a bwytewch; hwn yw corff yr un a *faddeuodd i'w elynion,* pan oedd yn marw ar y groes." Os metha gweddi Iesu dros ei groeshoelwyr doddi y galon anfaddeugar, nid oes dim arall all ei thoddi. Buasai llawer llai o dywallt gwaed wedi bod yn y byd pe buasai yr esgobion fu'n estyn y cymun santaidd i freninoedd a maes-lywyddion mor ffyddlawn i'r Iesu a groeshoeliwyd ag y bu Arnaud Esgob Angers pan y beiddiodd gymhwyso efengyl mor bur at gydwybod brenines uchelfrydig Ffrainc pan oedd ei chalon mor lawn o yspryd dial. Bu geiriau yr Esgob yn foddion i achub canoedd o fywydau.

Y mae holl athrawiaeth a holl fywyd Iesu yn esboniad ar ddylanwad tosturi ac addfwynder. Y mae holl swyddau ei gyfryngdod yn eglurhâd perffaith o nerth cyfraith cariad. Cariad ydyw elfen fawr holl drefn argyhoeddi ac achub. Trwy arddangos cariad Iesu y mae yr Yspryd yn enill y galon. Drwy dywallt ei gariad ar led yn y galon y mae y Gwaredwr yn gwneud ei ddisgybl yn debyg iddo ei hun. Drwy rym ei gariad y mae yn ei gryfhâi a'i buro, nes ei godi i'r wlad lle y mae pawb wedi cael eu perffeithio mewn cariad.

Yr oedd cariad yr Hwn a fu farw er mwyn i bechadur gael byw wedi llwyr feddiannu holl alluoedd meddwl a holl deimladau calon Paul. Yr oedd yn hoff iawn o ymresymu am nerthoedd y cariad hyny; a gwasgu y pwnc yn ymarferol at ystyriaeth a phrofiad pob credadyn. Coffhau i'r Corinthiaid nad oedd wedi gwybod dim yn eu plith ond Iesu Grist a hwnw wedi ei groeshoelio. Dywedai wrth y Galatiaid, "Na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn y croeshoeliwyd y byd i mi, a minau i'r byd." Yr oedd yn cynhyrfu y Rhufeiniaid i gariad drwy yr ymresymiad ardderchog a ganlyn: "Canys Crist, pan oeddym ni eto yn weiniaid, mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol. Oblegyd braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn; ond dros y da ysgatfydd fe feiddiai un farw hefyd. Eithr y mae Duw yn canmol ei gariad tu ag atom; oblegyd a nyni eto yn bechaduriaid, i Grist farw trosom

Mwy ynte o lawer, a nyni yn awr wedi ein cyfiawnhau ... waed ef, y'n hachubir rh g digofaint trwyddo ef. ... os pan oeddym elynion yn heddychwyd â Duw trwy ... ei Fab ef; mwy o lawer wedi ein heddychu, y'n ... trwy ei fywyd ef." A phan yn anog yr eglwysi i ... gwarwch, ei brif gymhelliad oedd: "Canys chwi a ... och ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn ... fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid ... trwy ei dlodi ef."

... yntyr ein hymresymiad am natur a dylanwad disgybl... ac addfwynder. Buasai yn hawdd i ni helaethu ... cangen o'r pwnc; ond y mae ein syniadau yn hawdd ... Goddefer i ni wrth derfynu, wneud ychydig o nod... *cymwysiadol*.

Y mae goruchwyliaeth y gerwindeb, goruchwyliaeth y ... 'r fflangell, y carcharau a'r cyffion, yr arteithglwyd a'r ... ac yn enwedig yr ymladd ar rhyfela, wedi bod yn *fawd* ofnadwy i'r byd. Dichon fod Lloegr—o leiaf ar rai ...adau—yn haeddu y flaenoriaeth ar holl wledydd y byd ... trefn ei sefydliadau gwladol; ond y mae ei threfniadau ... troseddwyr wedi bod yn *ddrudfawr* arswydus. Y mae ... ddau gylch o ddisgyblaeth, sef cylch y troseddau *car*..., a chylch y troseddau *tramor*. Y mae ei threfniadau i ... troseddwyr *cartrefol* drwy eu cloi mewn carchargelloedd ..., a'u halltudio dros foroedd, wedi bod yn ddrudfawr ar... iddi; ac y mae trefniadau ei sefydliadau milwrol er ... troseddwyr *tramor* tua Ffrainc, a Spain, a Portugal, a ..., a Turkey, a thrwy holl barthau India, ac yn Affrica, ..., ac America, ac Ynysoedd y De, wedi bod yn ddrud... iddi. Mewn gair, y mae dwy gangen ei disgyblaeth ... bod yn ddrud iddi uwchlaw pob cyfrif a dirnadaeth. ... yn credu y gallasid arbed naw rhan o bob deg o'r ... buasai eu hawdurdodau yn astudio ac yn dilyn gwein... foesol addfwynder a boneddigeiddrwydd; ac y bu... yr un pryd yn gwneud llawer mwy o les nag a wnaeth

drwy weinidogaeth y ffiangell a'r cleddyf. Dichon y gellir dywedyd yr un peth am bron holl hen deyrnasoedd y byd; ond yr ydym yn crybwyll Lloegr am ein bod yn fwy cyfarwydd â'i hanes nag â hanes gwledydd eraill. Y mae cyfrifon *traul* dysgyblaeth gerwindeb wedi bod yn drymion uwchlaw pob dychymyg.

2. Y mae gweinidogaeth yr argyhoeddi drwy addfwynder yn un *radlawn*, a hawdd ei rhoi mewn ymarferiad. Y mae wedi bod, nid yn unig yn un effeithiol, ond yn un ysgafn ac esmwyth yn mhob cylch lle y cafodd ei chynyg yn deg. Addefir gan bawb ei bod yn un *radlawn;* ond yr wrthddadl fawr gyffredin yn ei herbyn ydyw nad oes dim modd ei defnyddio yn sefyllfa *bresenol* y byd. Bernir y "*daw*" yr amser pan y bydd yn hawdd ei defnyddio; ond nad ellir gwneud hyny yn *bresenol.* Yr unig anhawsdra i'w defnyddio yn *awr* ydyw anewyllysgarwch y galluoedd cryfaf i *gynyg* ei defnyddio, neu mewn iaith fwy eglur, anystwythder y rhai "sydd dda ganddynt ryfel" i gynyg ei chynllun heddychol; am y gwyddant yr andwyid felly hen grefft "ogoneddus" eu hurddas a'u helw hwy.

3. Y mae coffadwriaeth y bobl hunanymwadol a ffyddlawn ag ydynt wedi bod drwy'r oesoedd yn ymresymu yn erbyn dialgarwch a rhyfel, ac o blaid gweinidogaeth pwyll ac addfwynder yn haeddol o barch. Ydyw, [y mae coffa y bobl sydd wedi bod, drwy bob dirmyg a digalondid, yn dadlu dros "orchfygu drygioni trwy ddaioni," yn haeddol o'r parch uchaf; a bydd yn sicr o ddyfod o radd i radd, yn ddysglaer a bendigedig. Y mae ambell un yn mhob oes a gwlad wedi bod yn ymresymu o blaid heddwch ac yn erbyn rhyfel, o blaid pwyll ac yn erbyn nwyd-wylltedd, o blaid barn cyflafareddiad yn lle min y cleddyf, o blaid maddeugarwch ac yn erbyn dialgarwch, yn erbyn athrawiaeth y dant am ddant, a thros y cyngor i bentyru marwor cariad ar ben gelyn; ond dyoddefasant lawer o athrod ac erlid. Dewisodd rhai o Gristionogion cariadlawn yr oesau cyntaf gymeryd eu merthyru yn hyt-

ı mwyaf poblog yr anffyddiwr Celsus yn erbyn Cristion-
oedd ei bod yn gwahardd i'w deiliaid ddysgu crefft
hyfel. Yr oedd Celsus yn deall Cristionogaeth yn
a yn cyhoeddi fod ei deddfau yn groes i ddeddfau rhy-
l ei gamgymeriad mawr oedd darlunio fel gwendid a
Cristionogaeth yr hyn a ystyriai ei Hawdwr fel ei
i gogoniant. Bu mewn oesoedd diweddarach ambell
ac acw yn gonest ddadlu dros egwyddorion pwysfawr
th ar y Mynydd, ambell i ddiwygiwr enwog fel Wyck-
i esgobion ffyddlawn fel Fenelon a Secker, a Watson,
us; rhai o dduwinyddion enwocaf Eglwys Loegr,
Deon Swift, a William Law, a Vicessimus Knox, a
Scott, a Hartley; a rhai o dduwinyddion blaenaf
ı eraill, megys Robert Hall, a Dr. Bogue, a Dr. Wil-
Saurin, a Du Moulin, a Clarke, a Clarkson, a Dwight,
y Rhys, a Pye Smith; a rhai o'r beirdd penaf, megys
eare a Milton, Churchill a Thomson, a Rowe a Gay, a
ı Cowper; ac ambell draethodwr, megys Addison, a
, a Goldsmith, a Walker, a Redhead Yorke, a Robert
; ac ambell seneddwr uchel fel Burke a Franklin; ac
aeslywydd edifeiriol, megys Marshall Duke De Belle-
uke De St. Simon; a dylid addef hefyd fod ambell
wr hyf, fel Voltaire, wedi rhesymu yn ardderchog yn

rhesymiadau, a diysgogrwydd boneddigaidd eu hyspryd, a lledaeniad eu dylanwad, wedi cynhyrfu cenfigenau ac enllibiau y rhai sydd wedi cael eu helw a'u gogoniant o rwysg rhyfel. Yr oedd Lord Palmerston, prif weinidog Lloegr, o'i fainc yn y Senedd, yn galw aelodau y "*Peace Society*" yn "Set of well-intentioned fanatics, much too good to be intrusted with political functions in this wicked and sinful world;" a bu ei enllib arnynt yn boblog iawn drwy bron holl gyhoeddiadau, a holl gylchoedd y deyrnas. Ac nid oes eto mor wyth mlynedd er pan oedd Syr Richard Bulkeley, A. S., a W. O. Stanley, A. S., a W. B. Hughes, A. S., ac uchelwyr eraill, dan eu llawn hwyliau, mewn cyfarfod cyhoeddus yn Beaumaris, yn darlunio aelodau *Cymreig* y "Peace Society" fel penboethiaid—fel dadsylfaenwyr nerth a gogoniant eu gwlad, ac fel rhai anghymwys i gael rhan o'i rhagorfreintiau. Yr oedd un Colonel urddasol yn eu duo fel "Traitors to their Queen and Country;" a buwyd yn ymgynghori am gospi un golygydd "*degraded*" am iddo feiddio rhesymu yn erbyn "codi milisia;" a datguddiodd un o Feirdd Bumpers gwleddoedd Duw rhyfel ei ddawn a'i ddewrder a'i "athrylith," drwy gyhoeddi y buasai yn dda ganddo "ddyrnu y Babes of Grace oeddynt yn dysgu Twaddle hen wydd y Peace Society i fechgyn Cymru;" ond bydd athrawiaeth y "well-intentioned fanatics," a'r "Babes of Grace" a "Twaddle y Peace Society," mewn bri anfarwol pan y bydd enllibiau bustlaidd Palmerston, a bygythiau gwaedwyllt mawrion Môn, a chaniadau brolfawr Bumpers Rhyfel, yn gorwedd fel pydredd a drewi dros eu hesgyrn a'u henwau a'u coffa.

4. Fod y *cospwyr* wedi gwneud mwy o niwed i gymdeithas na'r *troseddwyr*. Gwn yr ymgroesa rhai rhag hyfdra y gosodiad hwn; ond yr wyf, ar ol cryn lawer o ymchwiliad ac ystyriaeth, yn cyhoeddi yn bwyllog fod dosparthiadau y cospwyr, a'u cymeryd at eu gilydd, wedi gwneud llawer mwy o ddrwg i achos dynoliaeth a duwioldeb na dosbarthiadau y troseddwyr. Y mae o leiaf chwe' dosbarth o gospwyr, sef

ddisgyblwyr. Y *rhieni nwydwyllt* sy'n cernodio, ac yn ffonodio, ac yn gwthio eu plant bron ar bob moment, ac yn plycio eu gwallt, a thynu eu clustiau, a'u hysgytio ; a thrwy hyny eu gwneyd eu hunain a'u plant mewn tymherau drwg drwy braidd holl dymor y magu. A'r *ysgolfeistri dideimlad* sy'n ymrodio fel uchelwraidd yn mysg eu dosbarthiadau, a'r "wialen" yn eu llaw, er cael *exercise* rheolaidd, rhyw deirgwaith y dydd, i'w breichiau a'u *dwylaw*, nes peri i'w hysgolheigion eu ffieiddio hwy a holl drefniadau eu hysgol. Yr *ynadon barbaraidd*, fel Buller Heath, a Jeffreys, y rhai sy'n tynghedu eu nwydau creulawn dialgar hyd eithaf eu gallu ar y trueiniaid tlodion, anwybodus, annystyredig, a *gorthrymedig* a ddygir ger bron eu brawdleoedd. Y *deddfwyr gormesol*, y rhai sydd am gysylltu y cospau trymaf wrth eu deddfau creulawn er cadw y tlodion i lawr dan eu traed, [a than iau eu gorthrwm. Y *maeslywyddion cenedlyd*, y rhai sydd am wareiddio y byd drwy ysgubo llengoedd i angau yn nghynddaredd y frwydr, a phlygu y cenedloedd a oresgynant i gaethiwed. *Amddiffynwyr y ffydd*, y rhai sydd wedi dyfeisio a defnyddio bron bob math o benydiau i ddiwreiddio cyfeiliornadau o'r eglwys, a chyfeiliornwyr o'r byd. Mae y disgyblwyr hyn wedi bod yn uchel eu bost, ac yn danbaid eu sel am ufudd-dod, ac am drefn, am unffurfiaeth barn, ac am y wir athrawiaeth ; ond yr wyf yn dweyd eto eu bod wedi gwneud mwy o ddrwg yn erbyn deddfau gwirionedd a chariad na'r holl droseddwyr a gospasant seithwaith a thrigain seithwaith.

5. Peidier casglu, wrth ein bod yn barnu fel hyn, ein bod yn i gymdeithas fod yn ddigyfraith ac yn ddilywodraeth, ein bod am i'r plentyn fod yn arglwydd ar ei rieni ac ar ei athrawon ; neu am i'r prentis fod yn feistr y gweithdy ; neu am i'r gwasanaethwr fod yn arolygwr ar ei arglwydd a'i holl dŷ. Na, yr ydym am drefn, am i bawb gael ei le, a llenwi ei gylch a'i swydd ei hun, am i bob cymdeithas gael ei rheolau, ac am i'r rheolau hyny gael eu cadw ; ond yr ydym am i'r rheolau fod yn rhai teg a chyson, nid yn rhai i gyfoethogi, a chodi, a

[redacted]



lleshau un dosparth ar y drawl o dlodi a thynu i lawr a drygu dosparth arall. Cyfreithiau annheg sydd y rhan amlaf yn arwain i droseddau. Y maent yn magu anesmwythder ac yspryd anufudd-dod ; a hyny o radd i radd yn cynhyrfu grwgnachau, terfysgiadau, a throseddau ; a'r deddfwyr anghyfiawnaf eu cyfreithiau, ydynt y rhan amlaf y rhai creulonaf eu cospedigaethau.

6. Y mae'r byd yn *gwella* o radd i radd, er yn lled araf. Y mae yn ymestyn yn nês nag y bu at gyfraith cariad. Y mae mwy o gyngori a llai o guro yn y teulu nag a fu, mwy o faethu ac addysgu, a llai o drin a chyffroi. A phe byddai i ysgolfeistri yr oes yma fflangellu fel y gwnai rhai yr oesau aethant heibio, ni oddefid iddynt ddangos eu gwyneb mewn ysgol, nac prin yn un man arall. Y mae y cospau gwladol yn llawer llai gwaedlyd nag y buont ; ac y mae eu tuedd yn fwy at adgyweirio y troseddwr nag at ei boeni. Y mae y fflangell wedi colli ei chymeriad, ac bron wedi colli ei holl swydd, yn y fyddin ac yn y llynges. Y mae disgyblaeth arteithiau y chwil-lysoedd wedi ei diddymu ; a fflamau ffagodau maesygofaint wedi diffodd ; ac yn wir, y mae awdurdod y starchambers wedi cael ei gwtogi. Y mae yspryd rhyfel yn penwynu ac yn gwanychu ; ond y mae yn cael *fitiau* ofnadwy. Y mae'n berygl bod yn agos ato pan y bydd yn nghynddaredd un o'i *fitiau*. Yr ydys yn gobeithio mai *convulsions* ydynt ag sy'n rhagflaenu ei drancedigaeth. Y mae'n bryd i'r hen *filain* farw ; ond prin y gellir disgwyl iddo farw yn esmwyth, gan ei fod o gyfansoddiad mor gryf, ac wedi cael byw mor dda, drwy holl rwysg ei greulondeb.

7. Dylid *arfer moddion* er ceisio llenwi y byd â mwy o yspryd addfwynder. Dylai rhieni egwyddori eu plant yn athrawiaethau cariad, a mygu anadliadau pob yspryd dialgar pan y bydd yn ei fabandod. Dylai ysgolfeistri esbonio gwersi tangnefedd i'r dosparthiadau ieuainc sydd dan eu gofal. Dylai gweinidogion y gair bregethu yn llawer amlach yn ol y bregeth ar y mynydd. Dylai newyddiaduron wylio rhag cy-

# Y GWRTHRYFEL MAWR YN AMERICA.

UN O DESTYNAU EISTEDDFOD PITTSBURGH, GORPH. 4, 1864.

## RHAG-NODIAD.

Byddai yn gam ag awdwr y traethawd canlynol i'r darllenydd feddwl fod ei syniadau ar y pwnc yn rhai *newyddion*, wedi eu ffurfio yn fyrbwyll, yn nghanol terfysgoedd y gwrthryfel. Yr oeddynt yn syniadau ei galon ar ddechreuad y rhyfel; ac ysgrifenodd ei nodiadau arnynt y pryd hyny; ond ar ol gweled y crybwylliad am eisteddfod Pittsburgh y darfu iddo eu trefnu yn ffurf traethawd.

Y mae am gyhoeddi, fel AT-DDODIAD iddo, rai o'r llythyrau a ysgrifenodd ar ddechreuad y cyffro, fel y gallo y darllenydd weled na chymerodd ei "gylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth," ond fod ei syniadau yr un o'r dechreuad; ac y mae yn meddwl gryfach gryfach eu bod yn gyson â gwersi hanesyddiaeth ac ag egwyddorion yr efengyl. Y mae am i'w gyd-genedl gael cyfle teg i wybod ei syniadau ar y pwnc, yn ei *wahanol* gysylltiadau; oblegyd cawsant eu camddeall a'u cam-ddarlunio, a gwnaed argraff annedwydd ar lawer meddwl ei fod yn bleidiol i *gaethiwed*, a'i fod hefyd yn bleidiol i'r *rhwygiad*; ac y mae yn naturiol iddo wneud yr hyn a allo er symud effeithiau niweidiol y fath gamgymeriad.

*Mai* 14, 1864.

---

Y mae testyn traethawd cyntaf Eisteddfod ddyfodol Pittsburgh yn un o'r rhai mwyaf pwysfawr a gynygiwyd erioed i sylw gan swyddwyr unrhyw Eisteddfod. Y mae yn un anhawdd i'w drin yn llawn ac yn ddiduedd yn yspryd ac yn amgylchiadau presenol yr Unol Dalaethau. Clywir llawer o amrywiaeth barnau yn ei gylch. Y mae hyny yn radd o anhawsdra i'w egluro yn deg yn yr adeg gynhyrfus bresenol; ond gall gwahanol syniadau arno, o ffrwyth myfyrdodau gwahanol, fod o gynorthwy i'w amgyffred yn llawnach yn yr amser a ddaw. Y mae o bwys mawr i'r ysgrifenydd, ac i'w feirniaid, ac i'w ddarllenwyr, ffurfio barn bwyllog gydwybodol yn ei gylch; oblegyd yr ydym i gael ein barnu, nid yn unig gan y

ddeuant ar ein hol yn ngoleuni cliriach a thawelach yr
ı ddaw, ond bydd raid i ni sefyll ein prawf o flaen gor-
nc perffaith uniondeb yn ngoleuni digwmwl y dydd di-
:

fod y pwnc yn un mor bwysfawr, nid hawdd oedd i mi
gosod fy meddwl arno; a chan fy mod am anturio cyf-
fy marn i feirniadaeth ac i sylw mor gyhoeddus, yr wyf
ıegluro mewn dull mor llawn, ond mor gryno ag y med-
gallaf dystio fod fy nghalon yn curo yn gryf ac yn
am drefn ac am degwch, am ryddid ac am undeb a
iant drwy holl barthau y wlad.

:iwyd y testyn fel y canlyn:—" *Y gwrthryfel presenol dad hon; pa effaith a gaiff ar y wlad, ac ar wledydd ac ar ffurf-lywodraethau, megys gwerin-lywodraeth a figaeth.*" Mewn trefn i gael golwg led lawn arno, y ɪfynol i grybwyll yn gyntaf, rai o brif *nodweddau* y yfel; yn ail, olrhain rhai o'i brif *achosion*; yn dryd-isio manylu ar ei *effeithiau*.

'ODWEDDAU Y GWRTHRYFEL.

ia ei fân-farwor yn mûd-losgi yn y tir, dan ludw terfysg-
chwyldroad, am dros bedwar ugain mlynedd, neu er
ıd Annibyniaeth y Talaethau Unedig. Buasai yn
en diffodd lawer gwaith drwy droi ffrydiau bywiol car-
fo drostynt; neu hyd yn nod drwy ddyhidlo gwlith dis-
ldfwynder i ddisgyn arnynt; ond darfu i'r cynygion byr-
a wnaed i'w diffodd eu gwasgaru, a phan gryfhaodd y
yntoedd i chwythu arnynt, cydenynasant, ac aethant yn
laith ddinystriol dros yr holl wlad. Bu gwreiddyn y
wder yn y tir am ugeiniau o flynyddoedd. Gallesid
ychydig o ofal fracnaru o'i ddeutu, a sychu ymaith ei
ɪddiwrtho, a'i godi i fynu i farw ac i grino, a gallasid
ıdan gwladgarwch i dyfu yn ei le; ond yn lle cynyg yn
g at hyny, ymruthrwyd i ysgythru ei frigau yn awr a
arall, gan adael y gwraidd i ymestyn ar bob llaw; ac
: y mae y gwreiddyn chwerwder wedi tyfu i fyny yn

bren cryf uchel canghenog, ag sydd heblaw sugno nerth a nodd y tir iddo ei hun, yn nychu ac yn difa y preswylwyr sydd ynt yn eistedd dan ei gysgod, ac yn bwyta o'i aeron gwenwynig.

2. Y mae yn wrthryfel o *gylch eang*. Y mae ei ddylanwad yn cyrhaedd dros un o wledydd ffrwythlonaf, cyfoethocaf, a phrydferthaf y ddaear; gwlad lydan o arwyneb o dros dair miliwn o filldiroedd *ysgwar*. Y mae yn cyrhaedd tair ar ddeg ar hugain o Dalaethau Annibynol, ac amryw diriogaethau llydain, ac oddeutu deng miliwn ar hugain o breswylwyr. Y mae yn cyrhaedd trafnidiaeth rhai o'r afonydd, a'r camlesydd, a'r rheilffyrdd, a'r llynoedd, ar aberoedd ardderchocaf yn yr holl fyd. Y mae yn cyrhaedd masnach canoedd o ddinasoedd ag oeddynt yn cynhyddu yn y modd mwyaf gobeithiol. Y mae yn cyrhaedd canoedd o weithiau mawrion amrywiaethol ag oeddynt wedi cael eu cynllunio i fod yn rhai o ddefnyddioldeb mawr i'r holl wlad, ac i'r holl fyd; ac y mae wedi cyrhaedd canoedd o sefydliadau gwir ddefnyddiol—o sefydliadau celfyddyd, ac addysg, a chrefydd, ag oeddynt yn mysg y rhai mwyaf blodeuog ar yr holl ddaear.

3. Y mae yn wrthryfel o yspryd *llidiog a llofruddiog* i'r graddau eithaf. Dichon na bu erioed ei greulonach yn holl hanes y byd. Y mae y ddwy blaid wedi cael eu hyfforddi o'u mebyd i feddwl yn gûl, ac i siarad yn gâs am eu gilydd. Y mae y dosparth lliosocaf o lawer o bobl y De yn credu o eigion eu calon fod pobl y Gogledd am eu difadu o'u hiawnderau fel Talaethau *Annibynol*, eu bod am eu difadu o'u rhyddid ac o'u golud, ac am eu gorthrymu yn ddidrugaredd, a'u mathru dan draed; ac y mae y dosparth amlaf yn y Gogledd, o'r tu arall, wedi arfer meddwl nad oes dim i'w gael yn y De ond anghyfiawnderau, a llygredigaethau, a chreulonderau heu drefniad caethwasanaeth. Ac y maent yn y ddwy ochr wedi mynwesu eu rhagfarnau mor hir, ac wedi bod mor selog ac mor ddyfal i borthi eu cenfigenau a'u cynhenau nes ydyw yr elyniaeth sydd rhyngddynt wedi myned yn nodedig o orwyllt ac o lofruddiog.

am dros dair blynedd. Yr ydys yn gobeithio fod nerth fau yn gwanychu, fod tymor ei *filwriaeth* bron ar ben, y mae ei *yspryd* mor gynddeiriog ac mor benderfynol lyw ag y bu erioed ; ac nid oes dim cymaint o argoelion od rhwng y pleidiau yn awr ag oedd ar ei ddechreuad. I afreidiol i ni fanylu ar y *nodweddau*, rhaid i ni droi ein dwl yn awr at gangen fwy pwysig o'r testyn, sef yn

I. Achosion y Gwrthryfel.

Diffyg eglurder a llawnder yn ngeiriad egwyddorion Cyfddiad y Talaethau Unedig. Yr oedd y tadau enwog a nant amodau yr Undeb yn awyddus am iddo fod yn Undeb dymdeimlad, a chydweithrediad, a chydfuddioldeb, a chydgelwch ; ac felly yn Undeb o nerth, ac o heddwch, ac o diant cynyddol. Yr oeddynt yn ei lunio yn nghanol d o brofedigaethau ; a byddai yn ormod i ni feddwl eu wedi gallu *geirio* pob amod ynddo yn y dull egluraf a feithiaf. Ffurfiwyd yr Undeb er cyd-leshad y Talaethau ynt am ddyfod i'w rwymyn a than ei nodded. Ni ddefnwyd unrhyw orfodaeth i gael yr un o'r Talaethau i mewn . Cymerwyd y gofal manylaf i ddiogelu *annibyniaeth* pob eth yn nhrefniad a llywodraethiad ei holl achosion cartrefa'r casgliad gan rai ydyw, gan na ymdoddodd y Talaethau ilydd i roddi eu hachosion cartrefol dan lywodraethiad

enwog yr Undeb wedi rhoddi geiriau mwy penderfynol ar y pwnc yn y Cyfansoddiad, y gallasai hyny fod yn gymorth i ysgoi y brofedigaeth. Pe buasent yn cyhoeddi yn eglur ac yn bendant, na fyddai dim modd ymddatod o'r Undeb, ar ol unwaith ymblethu yn ei rwymau, yr wyf yn credu na buasai yr un Dalaeth yn cynyg at hyny, o leiaf heb gael rhyw gam dirfawr. Neu, pe buasai tadau yr Undeb yn cyhoeddi yn eglur, fod hawl gan unrhyw Dalaeth i ymddatod o'r Undeb os dewisai, ond eu bod yn cyngori am iddynt oll aros "yn un" er eu cyd-ddiogelwch, a'u cyd-leshad, a'u cyd-anrhydedd, yr wyf yn cwbl gredu y buasai cwlwm *rhydd* felly yn fwy effeithiol, am y buasai pob Talaeth yn fwy gwyliadwrus rhag taflu unrhyw sarhad ar ei chwaer-dalaethau ; ac na chawsid yr un Dalaeth yn ddigon annoeth i ddatod cylymau ag oeddynt wedi cael eu cyfansoddi ar egwyddor rydd y *cyd-leshad* a'r *cyd-ddiogelwch*. Buasai yn hawdd iawn i'r Talaethau Unedig weithio eu Hundeb yn mlaen ar yr egwyddor fawr gref o gyd-fuddioldeb ; ac ni buasai modd byth cael unrhyw rwymyn cryfach er eu cadw mewn Undeb. Buasai yn dda pe buasai sylfaenwyr gwladgar eu *hannibyniaeth* wedi geirio deddf yr Undeb yn fwy eglur a phendant gyda golwg ar hawl unrhyw Dalaeth i ymryddhau os byddai ei chalon am ymneillduo.

2. Cenfigen yspryd plaid a hono yn tori allan mewn athrod ac enllib diorphwys a diddiwedd drwy holl gylchoedd cymdeithas. Y mae plant dynion yn mhob oes a than bob goruchwyliaeth yn hoff o ymbleidio. Ceir yspryd ymbleidio yn mhob gwlad, ac bron yn mhob eglwys. Y mae sêl plaid wedi bod yn gweithio yn boethwyllt iawn drwy holl Dalaethau America, yn enwedig yn adegau y *mynych* etholiadau. Y mae yspryd plaid yn cael ei fagu i ddechreu y rhan amlaf mewn *uchel*-leoedd, yn mysg *blaenoriaid* y bobl, a hawdd iawn ar ol hyny, ydyw ei weithio i bob cylch drwy'r holl wlad. Hawdd iawn ydyw i flaenoriaid uchelfrydig a hunan-geisiol, o *eneuau* llawn o ymffrost am eu gwladgarwch, ond o *galonau* gweigion o holl wir elfenau gwladgarwch, feithrin "yspryd

aid" yn mysg eu cydnabod. Pan y mae plaid o ddynion, mion o ddylanwad helaeth oblegyd eu doniau a'u cyfoeth, mion a ddylent flaenori mewn cydymanog i gariad a gweithdoedd da, yn ymffurfio yn bwyllgor, yr hwn er mwyn cyfleusa a alwn yn *ticket yr x-iaid*, a phan y maent yn cyfarfod yn tafell eu cyngor, gan osod eu holl fryd ar ddefnyddio, nid yn ig eu dylanwad cyfreithlawn, ond dichellion iselaf eu cyfrysdra, i'w gweithio eu hunain ar draws pawb a thrwy bob th i gylchoedd *swyddol* er mwyn cyrhaedd elw ac awdurdod anrhydedd; a phan y mae plaid wrthwynebol iddynt, ond r un yspryd hunan-geisiol, yr hon a alwn yn *ticket y z-iaid*, i cynal eu cyngor ar yr un pryd yr ochr arall i'r heol, mae'n wdd iawn i ddau "*gyngor*" gwrthwynebol felly, nid yn unig nio yspryd plaid yn mysg eu cyfeillion a'u cydnabod, ond mend y werin yn llawer mwy poethwyllt na hwy eu hunain; yna pan y bydd yr *x-iaid* a'r *z-iaid* yn ymfyddino dan eu rahanol faneran, ac yn myned allan yn eu cerbydau ribanrg i square y ddinas, y maent yn gyffredin yn ymroi i ddio a chamliwio eu gilydd mewn iaith ac yspryd ag sydd yndi gwrid i hen wyneb hyll "tad y celwydd," a chrechwen yllt yn mysg swyddwyr ei lŷs; ac y mae yn rhyfedd na rddai raid "suspendio" deddf yr "habeas corpus" yn fwy ynych, er cael y *milicr*, ag sydd yn llawn mor waedwyllt a'r nesydd, i gadw'r heddwch drwy dân ei ddryll, neu fin ei eddyf. Yr wyf yn meddwl fod "yspryd plaid" wedi effeithio i arswydus ar foesau y wlad, a'i fod wedi nychu yspryd addrynder a boneddigeiddrwydd allan o honi, ac wedi ymlid gontrwydd a gwirionedd i encilio, ac wedi ei chaledu i ymlithro i rhyfygus i'w chyflwr rhwygiedig ac adfydus presenol.

3. Rhy fach o gyfathrach cymydogol rhwng dwy ochr y lad. Buasai yn hawdd i helaethach cyfathrach fod rhyngllynt, a buasai hyny yn sicr o effeithio er eu *cyd*-leshad. Ni id dim diolch i neb yn America am ffordd fawr y *mor*, yn hr dwyreiniol y wlad, i dramwy o borthladdoedd y Gogledd porthladdoedd y De, yr oedd y ffordd fawr hono wedi cael

ei gwneud yn hir cyn eu geni. Ac ni raid dim diolch i neb yn America am ffyrdd ardderchog yr Ohio, a'r Mississippi a'r a'r Missouri yn y Gorllewin, i dramwyo ar hyd-ddynt o gyrau uchaf y wlad i'w chyrau isaf; yr oedd y ffyrdd gwerthfawr hyny wedi cael eu gwneud yn hir cyn eu geni. Y mae llain gûl o dir yn ymestyn ar draws canol y wlad bron o'r Mississippi i'r Atlantic, am bum' can' milldir, heb yr un reilffordd i'w chroesi o'r Gogledd i'r De. Gorphenwyd yn bur *ddiweddar* y reilffordd o Louisville i Nashville, a gwnaed ffyrdd i aelodau deheuol y Gydgynghorfa allu dyfod i Washington; ond y mae bron yr holl lain o dir ag sydd yn ymestyn ar draws canol y wlad o Louisville i Washington heb yr un reilffordd hyd eto ar ei thraws, er fod natur wedi gwneuthur amryw agoriadau deniadol rhwng y ddwy ochr, ac er ei bod wedi hir estyn ei bys caredig at yr agoriadau hyny, er ceisio gan ddyn gymeryd meddiant o honynt, a gwneud defnydd o'u cyfleusderau. Bu llawer o son er ys deng mlynedd ar hugain am agor reilffordd *ganoldirol* er cysylltu Lexington a Knoxville, neu yn hytrach er cael tramwyfa ganoldirol er cysylltu reilffyrdd y Gogledd â reilffyrdd y De. Pe buasid wedi ei hagor er ys ugain mlynedd, buasai wedi bod yn enill ac yn gysur mawr i'r ddwy ochr, buasai wedi ychwanegu llawer at eu cydfasnach, a buasai hyny yn ol pob argoelion yn cryfhau eu cyfeillgarwch, a buasai yn rhwymyn undeb o wir nerth a defnyddioldeb. Yr oedd esgeuluso agor y fath gyfrwng o drafnidaeth, a chyfathrach, a chyfeillgarwch rhwng dwy ochr y wlad yn drosedd cymdeithasol, a phrofodd yn y diwedd yn un o ganlyniadau chwerwon. Nid oedd dim ond rhagfarn a chulni yspryd, hollol annheilwng o'r wlad ac o'r oes, i luddias ei ddwyn i gyflawniad; oblegyd yr ydys yn cydnabod er ys llawer o flynyddoedd meithion, y buasai yn enill o werth annhrisiadwy i'r *ddwy* ochr.

4. Rhy fach o gyd-ymgais am *wellianlau*—gwelliantau o fuddioldeb parhaus, ac o les cyffredinol. Pe byddai i fawrion y wlad gyd-ymanog i astudio gwelliantau gwladol, yn lle cilgwthio a disodli eu gilydd yn yr ymruthro a'r ymgiprys gwyllt

am segur-swyddau, byddai hyny yn llawer gwell ar eu lles hwy, ac ar les eu teuluoedd, ac ar les eu Talaethau, ac ar les y wlad oll. Gallasai fod yn yr Unol Dalaethau weithiau aur ac arian, a gweithiau copr a haiarn llawer iawn mwy ardderchog nag y sydd. Gallasai fod yn awr yn yr Unol Dalaethau gloddiau calch a glò, a marl a marmor, a llechi a halen llawer mwy cyfoethog nag y sydd. Gallasai melinau cotwm, fel rhai Manchester, fod yn awr yn America yn gyfagos i'w meusydd cotwm. Gallasai gweithfaoedd gwlan America fod yn llawer mwy enwog nag ydynt. Nid oedd dim yn eisiau er cynydd gwelliantau yn yr holl gylchoedd hyn, ond i lywodraethwyr a blaenoriaid y gwahanol Dalaethau droi mwy o'u meddwl at hyny. Buasai yn hawdd magu y pryf sidan mewn llawer parth o America. Gellid yn hawdd gynllunio mesurau i gludo gwrteithiau y dinasoedd i ffrwythloni y tir, yn lle eu gadael i weithio eu ffordd dan sylfeini y tai, i'r ffynonau a'r afonydd, a thrwy hyny wenwyno y dwfr a'r awyr, a'r pysgod a'r *dynion*. Buasai yn hawdd cael dwy neu dair o reilffyrdd o'r prif fanau yn nyffryn mawr y Mississippi i brif borthladdoedd y môr tawelog, pe buasid yn cysegru at hyny draian treulian y swyddfeydd afreidiol a'r galwedigaethau anfuddiol, a'r degwm o'r arian a'r amser a werir i ymwthio iddynt. Buasai yn hawdd symud y St. Clair Flats o ffordd tramwyaeth llynoedd mawrion y Gogledd; a symud rhwystr y Muscle Shoals o ffordd badau mwyaf y Tennessee. Buasai yn hawdd iawn agor y Cumberland a'i Big South Fork i ganol haiarn, a halen, â glo, a choed ei mynydd-dir. Buasai yn hawdd symud yr unig atalfa sydd yn bod i rydd longwriaeth yr Ohio; a gallasid gwneud yr Illinois yn gamlas i longau; a buasai yn hawdd hefyd gwneud dwy neu dair o reilffyrdd canoldirol er cysylltu reilffyrdd Pennsylvania, ac Ohio, ac Indiana, â reilffyrdd Tennessee, a Virginia, a Georgia, ac Alabama, a'r ddwy Carolina. Y mae maes y gwelliantau gwladol mewn amaethyddiaeth a chelfyddyd, ac yn enwedig mewn tramwyaeth a thrafnidaeth, bron yn annherfynol; ac yn cynyg digonedd o waith enillfawr a difyr i

alluoedd a doniau y cywrain, a'r celfyddgar, a'r gwladgar; a phe byddai i ddynion cyfoethog a thalentog droi eu sylw at *welliantau gwladol*, byddai ganddynt lai o amser, a llai o duedd, hefyd, i gynhyrfu terfysgoedd, ac i gynllunio gwrthryfeloedd; a gallent gael pob amrywiaeth o ymarferiadau adfywiol a iachusol i'w cyrff a'u meddyliau; a byddai o ganlyniad lai o eisiau "dysgu rhyfel," er bod yn barod i "ddarostwng *gwrth-ryfel*;" oblegyd pe rhoddai arweinwyr y bobl eu bryd ar ryw weithiau buddiol, ni cheid nac achos nac achlysur i wrthryfel; a lle na byddai profedigaeth i wrthryfel, ni byddai raid ymarfogi yn erbyn gwrthryfel.

5. Gormod o gynllwyn ac o ymwthio am sefyllfaoedd a swyddau gwladol, nid er mwyn cyfoethogi, a derchafu, a dedwyddu eu gwlad, ond er mwyn cael y melysderau a'r mwynderau a *dybir* sydd i'w cael mewn sefyllfaoedd uchel cyhoeddus o rwysg ac elw, ac awdurdod ac anrhydedd. Y mae wedi bod yn brofedigaeth gref i'r rhan fwyaf o lywodraethau y byd i greu a lliosogi bron yn ddiddiwedd, sefyllfaoedd felly yn eu byddinoedd a'u llyngesau, a'u dirprwyaethau, a'u cenhadaethau, a'u llysoedd, a'u heglwysydd, er gallu gwobrwyo eu ceraint a'u pleidwyr, ar draul y dosparthau diwyd a gweithgar o'r deiliaid; ac y mae wedi bod yn brofedigaeth gref i rai personau, ac i rai teuluoedd i fod a'u llygaid o hyd ar ryw sefyllfaoedd *swyddol* felly, yn lle bod a'u bryd ar weithio yn ddiwyd a dedwydd, mewn dull mwy annibynol, er cynhaliaeth eu teuluoedd ac er cyfoeth a derchafiad eu gwlad. Y mae trefniad swyddfeydd ag y bydd *gwir angen* am danynt, a dewisiad dynion *cymhwys* i'w llenwi, yn nerth ac yn anrhydedd i lywodraeth, ac yn ennill ac yn enwogrwydd i wlad; ond y mae yr hen arferiad i greu sefyllfaoedd felly, ac i'w lliosogi yn barhaus er mwyn boddio segur-ddynion hunan-geisiol; ac y mae ymwthiad segurwyr felly ar draws eu gilydd am leoedd o elw ac o enw, ond heb nemawr o waith, yn mynych lenwi cylchoedd uchaf y wladwriaeth o anonestrwydd ac unochraeth, a llawer o lygredigaeth; ac hyd yn nod o lwgr-wobrwyaeth ac o lofr-

ffith fwyaf hyf a digywilydd; ac y mae llygredig- ac annhegwch felly, yn nghylchoedd *uchaf* cymdeithas, io i lawr yn fuan i gylchoedd *is;* ac y maent yn er niwed i'r wlad yn mhob ystyr; er niwed i'w hys- gu, i'w gweithgarwch a'i chyfoeth, i'w heddwch ad, ac i'w nerth a'i dderchafiad. Y mae lle i ofni fod yr yspryd niweidiol yma wedi bod yn ymsymud ac yn wyneb yr holl wlad; ac wedi bod yn gweithio yn gryf holl Dalaethau er amser sylfaeniad eu hannibyniaeth; ymyrchder a rhodres yr etholiadau yn agor cyfleus- i'w weithrediad parhaol diorphwys a digywilydd. fod y segur-swyddwyr yn myned yn fwy-fwy , a diegwyddor y naill weinyddiaeth ar ol y hyny brofodd yn un o achosion dymchweliad y a chynddaredd y gwrthryfel presenol. Nid aeth nad un o'r achosion *uniongyrchol* i Dalaethau ymdeithas cynyg encilio pan y gwnaethant, oedd siom- eu blaenoriaid oblegyd colli eu gobeithion am swydd- wladwriaethol, a'r dybiaeth oedd ganddynt fod plaid eu lygwyr am gadw pob awdurdod swyddol o'u cyrhaedd yth; a'u bod hefyd am eu gorthrymu a'u difadu o'u deran. Yspryd anfoneddigaidd, cenfigenllyd, maleis- , hunan-frydig y croes-ymwthio am swyddau gwladol un o achosion y gwrthryfel.

wenwyn athrod dadleuon rhwng dynion o dymherau uchel, yn mhrif-leoedd y wladwriaeth. Bu dynion galluog o ochr y wlad, am flynyddoedd meithion, dan gochl *ffurf* madau seneddol, yn arfer eu holl gyfrwysdra, hyd yn lysoedd y Gydgynghorfa, i archolli teimladau eu gil- i lofruddio cymeriadau eu gilydd, tra yr oeddynt ar yr yn cyd-ymffrostio mai eu hymlyniad wrth egwyddor- fansoddiad, a'u sêl dros iawn drefn, a'u parch i gyf- a chyfraith, oedd yn cynhyrfu eu heiddigedd. Bu iawn hefyd o'r un yspryd, ac o'r un athrod mewn llys- , ac yn llawer o swyddfeydd yr argraffwasg, ac yn ys-

tafelloedd cyngor yr etholiadau. Yr oedd y fath athrod a gogan yn arwain yn anocheladwy i ddrygau cymdeithasol. Pe buasai y fath athrod a'r fath gamliwio ag sydd wedi bod lawer gwaith yn y *Congress*, a hyny rhwng "*honorable gentlemen*," yn cymeryd lle mewn cyfundeb *eglwysig*, neu gymdeithasfa grefyddol, neu glwb llusen, neu fwrdd athrofaol, neu bwyllgor eisteddfod, neu unrhyw gorfforiaeth o gelfyddydwyr, neu fasnachwyr, neu amaethwyr, buasai y fath iaith a'r fath yspryd wedi eu rhwygo yn chwilfriw. Ac nid ellir disgwyl i'r wlad gael llonyddwch a thangnefedd tra y bydd eu blaenoriaid a'u bryd ar athrodi a chamliwio eu gilydd. Byddai yn weinidogaeth ganmoladwy ac angenrheidiol pe byddai i'r *chaplains* penaf bregethu iddynt, unwaith y mis o leiaf, oddiwrth y testun—"Os cnoi a thraflyncu eich gilydd yr ydych, gwelwch na ddyfether chwi gan eich gilydd." Y mae cenfigen yspryd plaid wedi bod yn gweithio yn greulawn mewn llawer gwlad heblaw yn America; ond yr hyn oedd yn gwneud profedigaeth America yn fwy enbyd oedd, fod y croes-bleidiau yn byw ar wahau ac yn mhell oddiwrth eu gilydd, nad oeddynt ddim yn cyfaneddu blith draphlith yn mysg eu gilydd drwy yr holl Dalaethau fel y maent yn ngwledydd Europe; ond fod un blaid yn preswylio yn un ochr i'r wlad, a'r blaid arall yn preswylio yr ochr arall: fel nad oedd neb bron mewn yspryd nac mewn cyfle i fwrw unrhyw olew tynerol i'r clwyfau, nac i liniaru poen pigiad yr athrod: a dylasid rhagweled fod y perygl am rwygiad yn llawer mwy oblegyd hyny.

7. Rhy fach o gydnabod Rhagluniaeth y nef, ac o blygu i awdurdod gair Duw, ac o barchu a dilyn ordinhadau Cristionogaeth. Os ydym yn credu fod Iesu, Eneiniog mawr y nef, wedi cael ei dra-dderchafu, a'i fod wedi derbyn pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear, a'i fod wedi cael enw yr hwn sydd goruwch pob enw: a'i fod goruwch pob tywysogaeth ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, nid yn unig yn y byd hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw; a'i fod yn Dywysog brenhinoedd y ddaear, a bod ei orseddfainc i sefyll yn oes oesoedd.

8. Yr unig achos arall o'r gwrthryfel a enwaf yn awr, ydoedd *trefn caethwasiaeth*. Canfyddir oddiwrth y nodiadau blaenorol fy mod yn ystyried fod *gwahanol* achosion wedi cydeffeithio er achosi y rhwygiad, neu er cynhyrfu y gwrthryfel. Yr wyf yn ystyried caethwasanaeth yn *un* o honynt, ac yn un o'r rhai blaenaf: ond nid wyf yn gallu derbyn yr athrawiaeth a gredir ac a ddysgir gan laweroedd yn y dyddiau hyn, sef "*Trefn caethwasanaeth ydoedd yr* UNIG *achos o'r gwrthryfel.*" Os dyna oedd yr unig ddrwg cymdeithasol yn yr Unol Dalaethau, y mae yr athrawiaeth yn un gywir; ond os oedd drygau eraill yn cydweithio, nid yw ond *darn* o'r gwirionedd; ac y mae *darn*-guddio y gwirionedd weithiau mor beryglus ag ydyw ceisio cuddio y *cyfan*. Os yw yr athrawiaeth yn un anghywir, y mae yn sicr o fod yn un niweidiol; ac y mae o bwys mawr i ni geisio ystyried y pen yma o'r pwnc yn ddiragfarn ac yn ddiduedd, er cael barn deg gywir arno; oblegyd os camgymerwn ar y pen hwn, bydd ein holl syniadau a'n holl deimladau o'u lle gyda golwg ar bwnc mawr y gwrthryfel; a chyda golwg ar y cynllnniau goreu i gael y wlad eto i undeb ac i drefn. Yr wyf, gan hyny, am gofnodi fy ngolygiadau ar y pen yma o'n pwnc yn lled *fanwl*, oblegyd yr wyf yn ei ystyried fel y *pegwn* ar ba un y mae dadl fawr yr ACHOSION o'r gwrthryfel yn troi.

Nid heb lawer o ragfeddwl pryderus y ffurfiais y farn sydd genyf. Nid barn *newydd* ydyw. Yr oedd genyf ar ddechreuad y rhyfel, ac am lawer o flynyddoedd cyn toriad allan y gwrthryfel; ac y mae holl hanes y rhwygiad yn rhoddi i mi esboniad llawnach a goleuach arni; esboniad ag sydd yn ei gweithio yn mhellach i'm meddwl, nes i'w yn gwreiddio ddyfnach ddyfnach yn fy nghalon. Yr wyf yn barod i ystyried syniadau fy nghyfeillion allant fod o farn wahanol i mi ar y pwnc. Erfyniaf am iddynt hwythau roddi sylw teg i'm syniadau innau, ac os byddant yn eu hystyried yn rhai anghywir, yr wyf yn gobeithio y ceisiant fy argyhoeddi am goleuo mewn yspryd addfwynder, heb fy nifrio a'm herlid; gan gofio fod ganddynt hwy

fel cyd-ddynion a chyd-ddeiliaid, yr un hawl a'n gil-
ion am y pwnc pwysfawr sydd dan ein sylw yn ol ar-
ad ein cydwybodau. Cynygiaf gan hyny i'w sylw yn
ddeb o'm barn ar bwnc mawr dyrus

RHYDDHAD Y CAETHION.

cyfundrefn caethwasanaeth yn un *hen* iawn. Bu
neriad uchel a llydan drwy holl brif ymerodraethau y
Effeithiodd er drwg yn mhob oes, ac yn mhob gwlad.
Europe i America yn amser y tadau. Cafodd ei
an sylfaenwyr Annibyniaeth yr Unol Dalaethau. Ym-
à threfniadau ac a thrafnidaeth yr holl wlad ; ac y
darus i adrodd ei bod wedi aros yn amryw o'r Tal-
yd y dydd hwn. Y mae yn llawn drwyddi o elfenau
wnder a llygredd ; ac y mae *pob* anghyfiawnder felly
i dderchafiad a llwyddiant pob gwlad a thalaeth lle

Nid fy amcan yn awr ydyw olrhain *hanes* trefn
anaeth ; ond y pwnc mawr ddylasai gael ystyriaeth
arwr a phob Cristion ydoedd—*Pa fodd yr oeddid
yn y dull tecaf ac effeithiolaf.* Gallasid tybied am
dd i ryddhau y caethion—*tair* o rai cyfreithlawn a
*dwy* o rai anghyfreithlawn a pheryglus.

rdd *moddion moesol*, sef ffordd cariad a goleuni yr
reu ddylanwad dwfn, distaw, treiddiol, anorchfygol,
au ac ymresymiadau cyfeillgarwch a phrofiad ; a chyng-
hybuddion addfwynder a ffyddlondeb.

ordd *cyfiawnder gwladwriaethol*, neu y ffordd o dalu
h i'r meistri am eu rhyddhau yn ol amodau deddf o
ad y Gydgynghorfa.

ffordd o *lwyr-ymatal* oddiwrth bob cydfasnach â'r
aethau nes iddynt gydsynio i godi eu cynyrch drwy
awmach.

ffordd o gynhyrfu a chyffroddi y caethion i godi yn
aredd eu llid, ac ymarfogi ac ymfyddino yn erbyn eu
wyr, er eu llofruddio o'r ffordd. A bu llaweroedd o
selog yn barnu mai ffordd *dialeddau* felly fuasai y gys-

onaf ag egwyddorion cyfiawnder, a'r effeithiolaf er addysg-y byd; a chan eu bod yn barnu hyny, yr oedd yn naturiol iddynt hiraethu am hyny; a chan eu bod yn hiraethu am hyny, yr oedd yn naturiol iddynt hefyd arfer eu dylanwad hyd y medrent er cael hyny o amgylch.

5. Y ffordd o enyn ymrysonau a chenfigenau rhwng dwy ochr y wlad, a chwythu y genfigen a'r gynen nes iddynt dori allan yn athrod ac yn enllib, a thaenu gwreichion yr athrod a'r enllib hyny drwy bob cwr o'r wlad, a'u chwythu nes iddynt fyned yn fflamau difäol o *ryfel* dros yr holl gyfandir; ac yna cymeryd achlysur i ryddhau y caethion drwy greulonderau ac anghyfiawnderau y "grym milwraidd;" a galw hyny yn iawn a chyfiawnder.

Gellir gwybod fy marn bwyllog am effeithioldeb cydmariaethol y ffyrdd a grybwyllwyd oddiwrth y *drefn* y maent wedi eu gosod i lawr. Nid wyf yn meddwl y buasai raid cynyg yr *ail* ffordd, sef ffordd talu pridwerth, pe buasid yn dilyn y gyntaf, sef ffordd cariad yr efengyl mewn dull ac yspryd priodol; ac nid oeddwn am gynyg y *drydedd*, sef ffordd y *llwyr-ymataliad* oddiwrth bob cydfasnach â'r caeth-dalaethau, heb gael profion boddhaol fod y gyntaf a'r ail wedi cael eu cynyg yn deg, a'u bod wedi methu. Yr wyf yn ystyried y bedwaredd a'r bumed, sef y ffyrdd o gynhyrfu y caethion i godi mewn gwrthryfel llofruddiog, ac o fyned i *ryfel* er mwyn eu rhyddhau, yn ffyrdd hollol groes i yspryd ac egwyddorion yr efengyl; ac yn rhai na ddylasid, mewn modd yn y byd, ymollwng iddynt, heb gynyg y tair cyntaf yn deg, a chael pob prawf eu bod yn aneffeithiol.

Yr wyf am ddweyd ychydig o'm meddwl o *blaid* y tair ffordd cyntaf a enwyd. Yr wyf yn ystyried mai y *gyntaf*, sef ffordd cariad yr efengyl, neu ffordd dylanwad moddion moesol, fuasai y rataf, a'r effeithiolaf, a'r oreu; yr oreu o lawer iawn, yr oreu ar bob ystyr, yn mhob man, ac yn mhob cysylltiad, yr oreu ar les y caethion a'u meistri, yr oreu ar les y Gogledd a'r De, yr oreu ar les yr Unol Dalaethau a holl Dalaethau y byd, yr oreu ar les masnach a chelfyddyd, yr oreu ar les pob gwell-

phob cyfoeth gwladol, a'r creu o lawer er llwyddiant
yrsfawr a gogoneddus rhyddid a phob rhinwedd ; y
dredol ag egwyddorion cyfiawnder a chrefydd, ac felly
'w lawer er nerth, a derchafiad, a dedwyddwch y wlad-
h a'r eglwys. Ond y mae y mwyafrif o gyfeillion rhyddid
ien, yn mhoethder gwres tanbeidiol eu sêl, wedi taflu
dda ragorol hon o'r neilldu, fel ffordd aneffeithiol, a
'rang aneffeithiol, am fod ynddi ry fach o elfenau cyf-
*dialeddol*, am fod ynddi ry fach o gyfraith y *cospi*, rhy
"dalu'r pwyth," yn ol hen air y "llygad am lygad, a'r
dant ;" am nad ydyw ddim yn gadael y ffordd yn
i'r dialydd daro.

ig wrthddadl a ddygir yn mlaen yn *gyhoeddus* yn er-
dd yr efengyl ydyw, ei bod yn aneffeithiol, yn hollol
hiol ; ei bod wedi cael ei chynyg, ac iddi brofi yn feth-
bod wedi cael ei phwyso, ac iddi droi yn brin. Yr
gwadu hyn. Yr wyf yn gwadu hyn yn y modd mwyaf
. Yr wyf, yn enw Cristionogaeth, ac er mwyn gogon-
efengyl, yn gwadu hyn. Yr wyf yn cyhoeddi yn hyf
betrus, yn enw a thros yr Athraw Mawr, Tywysog
edd, na chafodd ffordd ragorol ei efengyl ef ddim ei
; yn ei yspryd ef, nac yn ol ei gyfarwyddyd a'i siampl ef.
ei Efengyl Ef ydyw ffordd ei Bregeth ar y Mynydd,
h ei anfeidrol ddoethineb a'i gariad, ffordd ei efengyl *ef*
ffordd y rhai addfwyn, y trugarogion, y tangnefeddwyr,
pur o galon ; ffordd y llewyrchu a'r goleuo, a'r toddi a'r
ffordd y cytuno a'r cymodi, a'r cydymddwyn a'r madd-
rdd y dioddef yn hytrach na gwrthwynebu ; ffordd y
gelynion, a bendithio ein melldithwyr, a gwneud da i'n
, a gweddio dros y rhai sy'n ein herlid a'n niweidio. Y
pryd, ac addysg, a siampl, yr Athraw nefol yn cael eu
mor eglur yn ei efengyl rasol fel nad oes modd i ni eu
ll. Yn yr ail benod a deugain o Esay, ac yn y ddeu-
o Matthew, cawn y darluniad cynwysfawr a ganlyn o
dler a dylanwad ei weinidogaeth :—

"Wele, fy ngwasanaethwr yr hwn a ddewisais, fy ngwas yr hwn yr ydwyf yn ei gynal; fy anwylyd etholedig yn yr hwn y mae fy enaid yn foddlon: rhoddais fy Ysbryd arno, ac efe a draetha farn, ac a ddwg allan farn i'r cenedloedd. Nid ymryson efe, ac ni waedda, ac ni chlyw neb ei lais ef yn yr heolydd; corsen ysig nis tyr, a llîn yn mygu nis diffydd, hyd oni ddygo efe allan farn at wirionedd, ac i fuddugoliaeth. Ni phalla efe, ac ni ddigalona hyd oni osodo farn ar y ddaear; yr ynysoedd hefyd a ddisgwyliant am ei gyfraith ef; ac yn ei enw ef y gobeithia y cenedloedd."

Pa fodd y gallasem gael darluniad mor syml, mor dlws, ac mor darawiadol, mor awenyddol ac mor gynwysfawr, mewn càn lleied o ymadroddion? Mor eglur ydyw y dystiolaeth am ei ddwyfol anfoniad! "Fy etholedig, yn yr hwn y mae fy enaid yn foddlawn." Mor addfwyn a gostyngedig ei ysbryd! "Nid ymryson efe." Mor ddirodres a boneddigaidd ei ddull! "Ni chlyw neb ei lais ef yn yr heolydd." Mor ddidrais ac mor dyner ei weinidogaeth! "Corsen ysig nis tyr, a llîn yn mygu nis diffydd." Mor ddiauwadal benderfynol ei ymroad! "Ni phalla efe, ac ni ddigalona." Ac mor *sicr* ei lwyddiant! "Hyd oni ddygo efe farn i fuddugoliaeth."

Ceir yn y chweched bennod o'r Epistol at yr Ephesiaid ddarluniad tarawiadol a manwl o arfau milwriaeth yr efengyl, ac o yspryd a nerth byddinoedd yr Oen: "Heblaw hyn, fy mrodyr, ymnerthwch yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef. Gwisgwch holl arfogaeth Duw, fel y galloch sefyll yn erbyn cynllwynion diafol. Oblegyd nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysprydol yn y nefolion leoedd. Am hyny, cymerwch atoch holl arfogaeth Duw, fel y galloch wrthsefyll yn y dydd drwg; ac wedi gorphen pob peth sefyll. Sefwch gan hyny, wedi amgylch-wregysu eich lwynau â gwirionedd; a gwisgo dwyfroneg cyfiawnder; a gwisgo am eich traed esgidiau parotoad efengyl tangnefedd; uwchlaw pob dim, wedi cy-

meryd tarian y ffydd â'r hwn y gellwch ddiffoddi holl bicellau tanllyd y fall, cymerwch hefyd helm yr iachawdwriaeth, a chleddyf yr Yspryd, yr hwn yw gair Duw; gan weddio bob amser a phob rhyw weddi, a deisyfiad yn yr Yspryd, a bod yn wyliadwrus at hyn yma, trwy bob dyfal-bara, a deisyfiad dros yr holl saint."

Mor ffyddlawn ac mor eglur ydyw cyngor Paul yma am i'r saint wisgo am danynt holl arfogaeth Duw! Amcan mawr rhogaethol ei ymresymiad oedd profi fod milwyr Iesu yn *sicr* o'r oruchafiaeth ond iddynt gymeryd atynt, a gwisgo am danynt, eu dwyfol arfogaeth, a myned allan i filwrio yn yspryd ac yn nerth eu Blaenor. Y mae arfau eu milwriaeth yn fyrdd ardderchocach na'r arfau *dur* o'r defnydd a'r gwneuthuriad goreu; ac yn eu harfogaeth *nefol* y maent i ymdrechu, nid yn unig yn erbyn "drygau *ysprydol*," ond yn erbyn "*bydol*-lywiawdwyr tywyllwch y *byd hwn*." Buasai yr arfau nefol nerthol hyd yn sicr o orchfygu "*bydol*-lywiawdwyr" caeth-dalaethau tywyllaf y "byd hwn."

Darlunir hefyd nerth arfau milwriaeth y Cristion yn y ddegfed benod o'r ail Epistol at y Corinthiaid. "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr, gan fwrw dychymygion i lawr, a phob uchder ag sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist."

Buasai arfau milwriaeth yr efengyl yn ddigon nerthol i fwrw *hen* "gastell" caethwasanaeth i lawr, pe buasent yn cael eu defnyddio gan bleidwyr rhyddid yn yspryd Cristionogaeth, ac yn ol cyfarwyddyd yr efengyl. Buasai "dychymygion" y caethfeistr mwyaf uchelfrydig yn cael eu "bwrw i lawr," a'r meddwl cyndynaf yn cael ei gaethiwo i ufudd-dod Crist. Pan ddarlunir yr un filwriaeth ogoneddus, hyd yn nod yn yr *Hen Destament*, yr ymadrodd yw, "Nid trwy lu, ac nid trwy nerth; ond trwy fy Ysbryd i, medd Arglwydd y lluoedd." A pha beth ydyw Yspryd Arglwydd y lluoedd ond yspryd argyhoeddi i

drwy oleuni ac addfwynder? Ac o flaen yspryd felly daw y "Mynydd mawr yn wastadedd."

Ceir eglurhad pellach o nodweddau yr un yspryd yn y addysg a rydd Paul i Timothy: "Ni ddylai gwas yr Arglwydd ymryson, ond bod yn dirion wrth bawb, yn athrawus, yn ddyoddefgar; mewn addfwynder yn dysgu y gwrthwynebus; er ei ddwyn i'r iawn allan o fagl y diafol." A cheir *siampl* ardderchog iawn o ddull yr un yspryd yn gweithio yn y llythyr tyner, boneddigaidd ac effeithiol anghydmarol a anfonodd Paul at y *caethfeistr* Philemon.

Yn wyneb yr olwg yma ar nerth arfau milwriaeth yr efengyl, y mae *dau* ofyniad yn ymwthio yn barhaus i'n meddwl. Yn *gyntaf*, Ai yn nerth arfau yr efengyl y darfu i Gristionogion rhydd-dalaethau America filwrio yn erbyn drygau caethwasanaeth? Y mae yn drwm genyf orfod ateb, ond yr wyf o gydwybod yn ateb—*Nage*: darfu iddynt droi arfau nerthol y nefoedd o'r neilldu, a gwisgo arfau "cnawdol" yn eu lle; a dwyn yn mlaen eu milwriaeth mewn dull ac yspryd anefengylaidd. Yr *ail* ofyniad yw, A fuasai Cristionogion rhydd-dalaethau America yn medru bwrw "castell caethiwed" i lawr pe buasent yn ymosod arno yn nerth arfau yr efengyl? Y mae genyf feddwl mor uchel am eu doniau a'u dylanwad, fel ag yr wyf yn credu yn ddiysgog y *buasent*; a hyny mewn dull llawer mwy llwyr, a mwy teg, a mwy effeithiol nag mewn unrhyw ddull arall; ac yr wyf yn credu eu bod, trwy eu diarddeliad anffyddiog o arfau Cristionogaeth, mewn milwriaeth mor bwysfawr, wedi gwneud cam anrhaethol drwm â'u gwlad, ac ag achos gogoneddus rhyddid, ac â gogoniant cymeriad Tywysog Tangnefedd, ac â llwyddiant ei deyrnas ar y ddaear. Yr wyf yn gorfod ardystio fod teimladau ac ymddygiadau Cristionogion *breintfawr* y rhydd-dalaethau tuag at eu brodyr moethus a'u cyd-ddeiliaid cyfeiliornus yn y De, wedi bod yn hollol groes i yspryd ac i gyfreithiau Cristionogaeth; ac yr wyf yn credu y *myn* Cristionogaeth glirio ei chymeriad oddiwrth y camwri mawr a wnaethpwyd yn ei henw; y *myn* glirio ei nodwedd

oddiwrth y fath ysbryd a'r fath ymddygiad, nid yn unig yn goleuni tanbeidiol y dydd mawr, ond yn ngoleuni tawel heddwch a mil blynyddoedd. Yr wyf yn cwbl gredu y buasai hyn nerthol milwriaeth yr efengyl yn llwyddo i gael buddugoliaeth gyflym a chyflawn ar ddrygau caethwasanaeth pe buant yn cael eu defnyddio oll a'u defnyddio yn deg, hyd yn nod a y "*lleiafrif*," neu gan y blaid *wanaf*, yn ol ystyr gyffredin air; ond yr hyn sydd yn wir alarus i feddwl amdano, ydyw bod wedi cael eu gwrthod a'u gosod o'r neilldu, fel rhai anaithiol, gan y blaid *gryfaf*, gan y *mwyafrif*, gan y Talaethau mocaf, cyfoethocaf, goleuaf a gwareiddiaf; a hyny pan y buai yn hawdd iawn iddynt enill y buddugoliaethau gogoneddaf i achos rhyddid a chrefydd wrth eu defnyddio; ie, pan y llasent fod yn "fwy na choncwerwyr" fel milwyr yr Oen, fel ddin croes eu Harglwydd, fel cymwynaswyr ac fel athrawon caeth gorthrymedig, ac i'r gorthrymydd hefyd, fel purwyr chyfoethogwyr, a derchafwyr eu gwlad ardderchog, ac fel engl ogoneddus ac effeithiol i'r byd oll o nerth anorchfygol an milwriaeth yr efengyl i orchfygu eu ffurfiau gwaethaf o nes a llygredd.

Yr wyf yn credu hefyd y gallasai, ac y *dylasai* galluoedd wrion Europe, ac yn enwedig LLOEGR, roddi cymorth eu lanwad *moesol* i rydd-dalaethau America yn y fath filwriaeth ddyngarwch ac o dduwioldeb; ac yr wyf yn credu pe buast yn gwneud eu rhan mewn ysbryd cariadlawn a boneddigaidd, y buasent yn cyflymu buddugoliaethau gogoneddus achos ryddid. Yr oeddynt wedi cydweithio i arwain caethfeistri lynus a beilchion y De i rwydau y brofedigaeth; a cymhellan cymydogol a brawdol o *lysoedd* Europe, ac ymresymiadefengylaidd o eglwysi Europe yn gymorth cryf i'w rhyddhau ddyrus-rwydau eu caethiwed, yn foddion i'w hachub o gaethed gwaeth na chaethiwed eu caethweision, ac i'w derchafu i oedd hyfryd rhyddid a chariad yr efengyl.

Y ffordd *ail-orau* i ryddhau y caethion fuasai ffordd *cyfiawn-gweladwriaethol*, neu y ffordd o dalu *pridwerth* i'r meistri

[redacted]



am eu rhyddhau yn ol amodau deddf y Gydgynghorfa. Mwynhaodd y rhydd-dalaethau, drwy yr holl flynyddoedd caethwasanaeth, a hyny heb gyfranogi (o leiaf yn uniongyrchol) o drafferth, a threuliau, a llygredigaeth ac anfri y fundrefn o orthrymder; a derbyniodd Trysorlys y Llywodraeth gyffredinol ei chyllidau yn llawn ac yn rheolaidd, o ffrwyth ychion caethlafur. Felly, os oedd hen drefn y gorthrwm i gael ei diddymu drwy weithred y Llywodraeth gyffredinol, a hyny er y lles cyffredinol, y mae yn amlwg y dylasid gwneud hyny ar y *draul* gyffredinol. Dadleuwyd a rhesymwyd na mwy am ryddhau y caethion drwy awdurdod y Gydgynghorfa, heb son dim am *bridwerth* i'r meistri. Yr oedd rhai a ddadleuent felly y dylai y Llywodraeth gyffredinol ryddhau y caethion heb wneud unrhyw iawn i'r meistri, yn dysgu *hyfiawnder gwladol.* Yr oedd rhagymadrodd eu pregeth, fod hawl gan y caethwas i ryddid, yn hollol deg; ond y gweddill o'u pregeth, sef nad oedd dim hawl gan y meistri i unrhyw iawn, yn gwbl annheg; ac yr oedd y dull hyf y dadleuwyd hyny, am hir *hir* flynyddoedd, drwy bob cylch o'r rhydd-dalaethau, yn ddigon o achos i Dalaethau uchel ac ystyfnig y De, ag oeddynt mor eiddugus o hawliau eu hannibyniaeth, osod eu bryd ar "encilio." Yr wyf yn credu y buasai diddymu *hen* drefn anghyfiawn caethwasanaeth yn fendith gyffredinol i'r Unol Dalaethau; ac wyf yn credu hefyd, pe buasid yn diddymu y drefn gan y Llywodraeth gyffredinol er y lles cyffredinol, y dylasid gwneud hyny ar y draul gyffredinol: ac yr wyf yn gwybod na buasai y baich ond ysgafn, ysgafn iawn, pe buasid yn ei gyd-ddwyn mewn yspryd cariad yn nechreuad y blynyddoedd y buwyd mor ddiwyd i chwythu y gwreichion a enynasant o'r diwedd y fflamau llydain erddol, acthus a difaol y rhyfel arswydus presenol.

Ystyrir yr Arlywydd Lincoln fel un o *gyfreithwyr* ei oes. Y mae wedi hir astudio elfenau llywod-ddysg gofal pryderus, ac y mae yn adnabyddus bellach o egwyddion blaenaf iawnderau gwladwriaethol. Y mae *ef* yn a

hanol terfynoedd blinion y dyddiau annedwydd hyn, *yn* w, ar yr unfed awr ar ddeg o ferwad y cawl ofnadwy, yn ... yn gryf ac yn eglur y dylid talu iawn i'r meistri am ... eu caethion yn ol trefn y Llywodraeth. Y mae yn ... yn oleu ac yn gadarn fod cyfiawnder a chyfraith yn ... am i bridwerth gael ei dalu i'r meistri os ydyw y caeth-... gael eu rhyddhau drwy awdurdod, ac yn ol cynllun y ...gynghorfa. Yr wyf yn credu fod ei athrawiaeth yn un ..., ac yr wyf yn ei chredu, ac yn ei *chyffesu* yn awr er ys ...er o flynyddoedd; ac yr wyf yn credu y buasai yn *enw* ac ... i'r Unol Dalaethau erbyn heddyw, pe buasid yn pregethu ...th *gyfiawnder gwladol* o'r gadair lywyddol, ac o lysoedd y ...dgynghorfa, er ys haner can' mlynedd. Yr wyf yn meddwl ...buasai ddim yn beth o'i le i'n Llywydd urddasol, o uchel ... ei awdurdod, gynghori, ac anog, ac argymell ei holl gy-...ion, yn ei Gyfrin-gyngor, ac yn nau Dy y Gydgynghorfa, yn mhob man arall, i ddefnyddio eu doniau a'u dylanwad i ... y meistr a'r caethwas i fod yn ffyddlawn i'w gilydd yn eu ...rthynas *newydd*, fel meistr a gwas *cyflog*, neu fel arglwydd a *thenant*, heb i'r un o honynt ymfudo o'i hen gartrefle.

Y mae yn wir alarus i feddwl am y modd diystyrllyd y caf-...l ffordd anrhydeddus *cyfiawnder gwladol* ei hesgeuluso a'i ...rthod gan gyfeillion rhyddid, a hyny drwy holl dymhorau ...af cynydd a llwyddiant yr Unol Dalaethau. Trwy wrthod ...rdd *cyfiawnder* i ddiwreiddio y drwg mawr o'u gwlad, ...naethant gam trwm, mewn llawer ffordd, â theimladau, ac ...awnderau gwladol eu cyd-ddeiliaid drwy Dalaethau y De. ...r ydys yn awr yn dechreu gweled, ac yn dechreu cydnabod, ...i ffordd *cyfiawnder* rhwng cyd-ddeiliaid dan yr un lywodraeth ...ai talu pridwerth i'r meistri; ond ceisir dadlu dau beth yn herbyn: yn gyntaf, Nad oedd y rhydd-dalaethau ddim yn ...dion i dalu eu *rhan* o'r pridwerth: ac yn ail, nad oedd y ...istri ddim yn foddlon i dderbyn *unrhyw* bridwerth. Wrth ...adlu nad oedd y rhydd-dalaethau ddim yn barod i dalu eu ...n o'r pridwerth, nid ydys ond cyhoeddi eu bod, yn nallineb

eu cybydd-dod, neu yn ystyfnigrwydd eu phariseaeth, yn anewyllysgar i wneuthur *cyfiawnder* cyhoeddus â'u cyd-ddeiliaid, a hyny er anrhydedd a lles eu gwlad: ac wrth haeru na buasai y meistri ddim yn derbyn unrhyw bridwerth, nid ydys ond haeru yr hyn na *phrofwyd* a'r hyn na *chynygiwyd* brofi. Yr wyf yn credu y buasai cynllun pridwerth teg, a hwnw wedi cael ei esbonio yn bwyllog, a'i gynyg yn foneddigaidd yn llysoedd y Gydgynghorfa, ac o areithleoedd y cynadleddau gwladol, a thrwy swyddau yr argraffwasg, yn cael ei dderbyn gan lywodraethau, a chan lysoedd, a chan deuluoedd y caeth-dalaethau mewn yspryd mor foneddigaidd a'r yspryd a fuasai yn ei gynyg. Dichon y buasai rhai teuluoedd, a rhai Talaethau yn fwy parod nag eraill i dderbyn cynlluniau y pridwerth; a dichon hefyd mai felly y buasid yn eu gweithio allan yn y dull rhwyddaf, ac ysgafnaf, ac effeithiolaf. Buasai derbynwyr *cyntaf* amodau y pridwerth yn cael y flaenoriaeth ar yrfa rydd llwyddiant a chysur; a buasai y Talaethau eraill o un i un yn sicr o ddilyn eu siampl: a dygasid felly y gwaith mawr i ben yn ddidrais ac yn ddigolled, drwy foneddigeiddrwydd a chydweithrediad.

Ond, er mwyaf y golled, a'r galar, a'r cywilydd, ni fynid y y ffordd *gyntaf*, a'r ffordd *oreu*, sef ffordd cyfeillgarwch yr efengyl; ac ni fynid yr *ail* oreu, sef ffordd cyfiawnder gwladol. Pe buasid yn cynyg ffordd cariad a goleuni yr efengyl, a phe buasai hono yn methu: a phe buasid yn cynyg, ar ol hyny, ffordd pridwerth, neu iawnder gwladol, a phe buasai hono yn methu, gallasid cael ffordd *dda* arall a fuasai yn *sicr* o weithio hen drefn caethwasanaeth i garlam y darfodedigaeth, sef y ffordd o *lwyr-ymwrthod a phob rhan a chyfran o fudr-elw caethwasanaeth.* Gallasid gadael i'r caeth-dalaethau, os buasent yn gwrthod pob *cyngor*, a phob *pridwerth*, encilio yn ol eu mympwy; a phe buasai rhydd-dalaethau America a rhydd-deyrnasoedd Europe yn golchi eu dwylaw yn ngwydd nefoedd a daear oddiwrth waed a llygredd a budr-elw caethwasanaeth; a phe buasent yn cyhoeddi eu penderfyniad seliedig diysgog i

iol hyny, drwy lwyr-ymatal felly, yn lan oddiwrth y
r, ac yn rhydd hefyd oddiwrth y colledion, buasent yn
ddiwrth yr "enogrwydd," ac yn rhydd hefyd oddiwrth
n ;" a buasai trefn felly yn un *gyfreithlawn*, oblegyd bu-
ddilyniad o gyngor a rheol Llyfr Sanctaidd Ysprydol-

—

uwch allan o'i chanol hi, O fy mhobl, ac achubwch bob
aid, rhag llid digofaint yr Arglwydd."—*Jeremiah*.
herwydd paham, deuwch allan o'u canol hwy, ac ym-
ch, medd yr Arglwydd, ac na chyffyrddwch â dim af-
i a'ch derbyniaf chwi."*Paul*.
mi a glywais lef arall o'r nef yn dywedyd, Deuwch all-
ni hi fy mhobl i, fel na byddoch gyd-gyfranogion o'i
lau hi, ac na dderbynioch o'i phläau hi."—*Ioan*.
yf yn addef fy mod yn teimlo gofid dwys am na buasai
edd, gref, gyfoethog, oleu, enwog, uchel, yn cymeryd
air ffordd cyfreithlawn a enwyd i weithio angau "*hen
yliaeth*" drom, dywell, orthrymus caethwasanaeth. Yr
o ddigon o dduwinyddiaeth, ac o philosophi, a digon o
a dylanwadau i weithio allan y ffordd *gyntaf*, sef
cyfeillgarwch yr efengyl, mewn modd llwyddianus a
ol. Yr oedd yno ddigon o adnoddau ac o oludoedd i
yr *ail* ffordd, sef ffordd pridwerth teg er rhyddhad y

asai rhydd-dalaethau America yn roddi o flaen holl genhedloedd, a holl *genhedlaethau* y ddaear, pe buasent yn cymeryd un o'r tair ffordd a enwyd i ddiwreiddio o'u gwlâd eang ardderchog hen drefn felldithiol caethiwed! Y maent wedi colli y cyfle ardderchocaf a welodd y byd erioed i weithio allan egwyddorion rhyddid, yn ol deddfau uniondeb, mewn yspryd cariad ac addfwynder; ac y mae y galon yn gwaedu drwyddi wrth feddwl fel y darfu i'r fath alluoedd mawrion, cryfion, celfyddgar, cyfrifol, *Cristionogol* daflu ymaith yn ddirmygus hen arfau nerthol eu milwriaeth, a hyny pan y buasent wrth eu defnyddio, yn ol gorchymynion a chyfarwyddiadau eu Capten, yn ennill yn y modd gogoneddusaf, y buddugoliaethau pwysicaf i achos dynoliaeth a chrefydd. Y mae fy mynwes yn chwyddo fwyfwy gan siomedigaeth a gofid am na buasai rhydd-dalaethau enwog goludog a nerthol y Gogledd yn cyd-ymgodi mewn yspryd tawel, mawrfrydig, boneddigaidd, ac yn edrych i lawr gyda thosturi ar gaeth-dalaethau y De, ac yn dywedyd wrthynt—"Gan eich bod wedi gosod eich bryd ar encilio, ewch mewn heddwch. Nid ydym am ddefnyddio *trais* er eich cadw yn yr Undeb, yn groes i'ch ewyllys. Os nad all egwyddor fawr ein *cyd-leshad* gadw ein Hundeb yn gyfan yn nghwlwm tangnefedd, yr ydym yn foddlon i chwi ei ddatod, ac ymadael. Yr ydym yn disgwyl y gallwn, gyda bendith Rhagluniaeth, fyned yn mlaen yn llwyddianus *heb* eich cynorthwy chwi. Yr ydym yn hyderu y gallwn ddwyn yn mlaen drefniadau ein Llywodraeth, a chynal ein sefydliadau eglwysig ac athrofäol, a lliosogi, os bydd eisiau, ein cymdeithasau elusengar, a gweithio ein hargraffwasgau, a chywreinio pob celfyddyd, a rheoleiddio ein masnach, ac amaethu ein tiroedd, a magu ein hanifeiliaid, ac adeiladu a dodrefnu ein tai, a'n temlau, a'n trysorfeydd, a'n llysoedd, a'n llongau; ac estyn ein reilffyrdd, ac agor ein camlesydd, a diogelu ein porthladdoedd, a dwyn allan ein hadnoddau amrywiaethol heb eich cymorth chwi. Ond cofiwch eich *dewisiad* eich hunain ydyw encilio, a chan eich bod yn *dewis* myned, cofiwch hefyd ein bod ni o hyn allan byth byth-

nibyniaeth ein hunain. Dichon y gweithiwch yn well pob gwelliantau gwladol a chrefyddol pan y teimloch trifoldeb fel gallu annibynol. Od oes ar eich gororau ' amddiffynfeydd, neu borthladdoedd a adeiladwyd yn r ein traul 'ni, yr ydym yn foddlon i chwi gael hyny ; ac od oes o fewn eich terfynau diroedd ag y talwyd ynt mewn rhan â'n harian ni, yr ydym yn foddlon i ael hyny hefyd : ewch mewn tangnefedd. Yr ydym am no eich llwyddiant yn *mhob peth da.* Y mae genych dan at welliantau ; ac y mae eich cyfrifoldeb yn an-l bwysfawr. Gadewch i ni gydymanog i gariad a edoedd da. Ond cofiwch nad all ein cydwybod byth l "Duw'n rhwydd" i'ch *trefn greulawn o gaethwasan-*c yr ydym yn credu os mynwch lynu wrthi, na enill-th safle anrhydeddus yn mysg galluoedd Cristionogol ar ; ac nad ellwch ddisgwyl cael gwenau Rhagluniaeth gwlad : ond os bydd i chwi, o honoch eich hunain, yspryd rhyddfrydig, arfer eich doethineb i godi y Ne-sydd yn eich mysg o dir caethiwed i dir rhyddid ; ac edig os bydd i chwi gyd-ymroddi yn egniol ac yn ffydd-w hegwyddori yn athrawiaethau a dyledswyddau Crist-eth, yr ydym yn credu y bydd eich gwobr yn fawr, ie r iawn, am y fath wasanaeth gogoneddus i achos dyn-

[redacted]



mae yn rhy ddiweddar hefyd i gynyg y *drydedd* ffordd, sef i roddi llythyr ysgar i Dalaethau y De, gan eu gollwng i ymadael mewn tangnefedd : oblegyd yr ydys wedi cydymgynddeiriogi a chydymruthro i FFORDD RHYFEL, ac nid oes ond gobeithio bellach y daw ffordd erchyll *rhyfel* a'r gwaith mawr i ben ; ond ni ddaw byth i ben drwy *ryfel* heb ddyryswch ofnadwy, heb draul ofnadwy, heb ddifrod ofnadwy, heb ormes ofnadwy, heb lygredigaethau, a chamddarluniadau, ac anghysonderau, a dychrynfeydd, a dyoddefiadau annarluniadwy, heb gynddeiriogi nwydau barbareiddiaf y galon, a dyrysu ei holl alluoedd, a gwallgofi ei holl deimladau ; ac heb gyflawni anghyfiawnderau, a lladradau, a chreulonderau, a llofruddiaethau uwch pob cyfrif a dirnadaeth ; a hau ar yr un pryd, hadau llygredd, a gormes, a chwerwder, i dyfu i fyny drwy bob cylch o'r wlad er peri blinderau a rhwystrau yn yr amser a ddaw.

Y mae rhai yn llawen ddarogan y tŷr gwawr y "mil blynyddoedd" yn ddisymwth ddiatreg ar derfyniad y rhyfel *rhyfedd* hwn. Gobeithio y daw eu proffwydoliaethau cysurlawn i ben ; ond pe tywynai heulwen dawel heddychlawn y milflwyddiant, yn ei llawn ddysgleirdeb a'i chynesrwydd, y foment gyntaf ar ol terfyniad y rhyfel, ni pharai hyny ddim i mi newid fy marn am ei ddrygau nifeiriol ac echryslawn. Yr wyf yn meddwl pe gofynid i bobl America, yn iaith Iago y Cyfiawn, brawd yr Arglwydd, O ba le y mae y rhyfeloedd a'r ymladdau hyn yn eich plith chwi ? y byddai raid ateb yn ngeiriau Iago, Onid oddiwrth eich melus-chwantau chwi ? Pe gofynai Iago heddyw i'r *De*, O ba le y mae y rhyfeloedd a'r ymladdau gwaedlyd a llofruddiog hyn ? Atebai dan wgu yn gynhyrfus, Onid o'ch gormes gorgreulawn chwi, a'ch segurdod gorwarthus chwi, a'ch llygredigaethau gor-anfad chwi ? A phe gofynai eilwaith i'r *Gogledd*, O ba le y mae y rhyfeloedd barbaraidd a'r ymladdau gwaedlyd hyn ? Atebai dan wylo yn chwerw, Onid o'ch anffyddiaeth beiddgar chwi, a'ch phariseaeth bostfawr chwi, a'ch tra-arglwyddiaeth dialgar chwi ? Nis gwn pa un o'r ddwy ochr oedd y fwyaf balch, a byrbwyll, a beiddgar,

a bostfawr ar adeg enyniad y rhyfel, ond yr wyf yn credu mai i'r ochr gryfaf, a'r oleuaf, a'r gyfoethocaf, a'r fwyaf llwyddiannus y bydd mwyaf o anfri, ac o golled, ac o ofid, ac o gywilydd pan y ceir hamdden i adolygu ei effeithiau mewn yspryd pwyllog ac efengylaidd; ac yr wyf yn hyderu fod digon o ddoethineb a boneddigeiddrwydd, a thegwch a *chrefydd* yn Nhalaethau goleuedig y Gogledd i ymostwng yn edifeiriol ac isel i gymeryd eu rhan, mewn yspryd cystuddiedig a drylliog, o'r gwylder a'r parchedig ofn sy'n gweddu iddynt o herwydd llygredigaethau ac anghyfiawnderau a difrod a galanastra y fath ryfel annaturiol a barbaraidd, cynddeiriog a llofruddiog. Gobeithio y *llenwir* ein gwlad fawr gyfoethog o gwr i gwr, ag yspryd o *gyd*-ymostyngiad, ac o *gyd*-edifeirwch, yspryd o wylder ac o alar, yspryd o ffydd ac o ofn duwiol, fel y gallo Duw'r heddwch a'r cariad dosturio wrthi, a maddeu ei chamweddau, a'i bendithio, a'i gwneuthur yn fendith, ac adferu iddi dangnefedd a ffyniant, a'i derchafu i ddefnyddioldeb a bri, a dangos iddi ei iachawdwriaeth.

Dichon y bydd swyddwyr Eisteddfod Pittsburgh, a'r mwyafrif o'm cyfeillion yn y Gogledd, yn gwahaniaethu oddiwrthyf yn eu syniadau am y ffyrdd a grybwyllwyd i ddileu hen drefn caethiwed o'r wlad; ond yr wyf yn hyderus y byddant yn ddigon boneddigaidd i gydnabod fy *hawl* i farnu yn ol argyhoeddiad fy meddwl, a'm *rhwymau* i gyffesu fy. marn yn ol llais fy nghydwybod. Anturiais gyhoeddi fy marn ar y pynciau pwysfawr hyn *cyn* toriad allan y gwrthryfel er fy mod yn ofni ar y pryd y byddai fy syniadau yn annerbyniol gan lawer o'm cyfeillion. Yr oedd fy nghalon yn isel wrth feddwl am golli eu ffafr a'u gair da, ond yr oedd yn well genyf hyny na mygu llais fy nghydwybod ar y fath amser. Anturiais amddiffyn fy marn wedi hyny yn wyneb y digalondid mwyaf. Yr oedd amryw o'm cyfeillion caredicaf yn golygu—gan na fedrwn ymollwng gyda'r llif i yspryd a ffordd fy anwyl frodyr drwy'r Gogledd—y buasai yn well i mi, ar adeg mor gynhyrfus, dewi a son, a chadw fy meddwl i mi fy hun, na'i gyhoeddi fel y gwnaethum.

[redacted]



Dichon y buasai hyny yn gallach i mi; ond yr oeddwn wedi ysgrifenu ar y pwnc cyn i mi ddychymygu fod y wlad drwyddi, *bob ochr*, mor boethwyllt gynhyrfus, a buaswn yn ei theimlo braidd yn galed i mi "selio fy ngenau," a rhwymo fy llaw heb amlygu dim o'm meddwl na'm teimlad ar bwnc *mawr* yr holl wlad, a phwnc mawr *mawr* yr holl fyd; ac yn wir, ar bwnc "mwyaf mawr" yr holl oesau; yn enwedig pan yr oedd *pawb*, o bob oed, ac o bob gradd, o bob iaith, ac o bob cenedl, yn cymeryd eu cyfiawn ryddid i draethu eu syniadau arno yn ddiatal ac yn ddifloesgni. Awgrymwyd i mi yn garedig a boneddigaidd y gallaswn amlygu fy meddwl mewn modd mwy cynil, a'm teimlad mewn modd mwy claiar; dichon y gallaswn, ond ni buasai hyny prin yn *onest;* oblegyd yn wir yr oeddwn yn teimlo gofid dwys o ddyfnder fy nghalon, am na buasai y Gogledd oleu ac enwog yn cymeryd un o'r tair ffordd *cyfreithlawn* a enwyd i weithio angau hen drefn caethwasanaeth, ac i ddiwreiddio ei drygau allan o'r wlad.

Yr oedd y pwnc pwysfawr dyrus o ddiwreiddiad caethiwed allan o'r Unol Dalaethau yn un teilwng o astudiaeth dyfalaf, nid yn unig pobl America, ond Cristionogion a dyngarwyr holl wledydd y byd. Yr oedd bod caethiwed wedi aros yn un ochr i'r wlad, ac heb ei fod yn yr ochr arall, yn ei wneuthur yn bwnc o fwy o anhawsdra, ac o lawer mwy o brofedigaeth ac eiddigedd. Meddyliais gryn lawer am dano cyn dyfod i America, ac ar ol dyfod i America. Yr oeddwn am ei ystyried yn ddiduedd, ac ymgeisiais am fod yn deg yn y nodiadau a wnaethum arno. Os darfu i mi ryw dro, mewn un modd, wneuthur cam ag yspryd ac ag ymddygiad Talaethau bywiog-lawn a chryfion y Gogledd wrth sylwi ar y mater, y mae yn gweddu i mi ymostwng yn edifeiriol oblegyd hyny. Os na chafodd rhydd-dalaethau cyfoethog a nerthol y Gogledd *gyfle* i ddefnyddio moddion cariad yr efengyl, na moddion *iawnder* gwladol drwy bridwerth, na moddion y *llwyr-ymatal* oddiwrth y budr-elw, er diwreiddio y drwg mawr o'u gwlad, yr oedd fy nghwynion yn eu herbyn yn ddisail, a dylwn ymostwng i ofyn

eu maddeuant am eu beio heb achos; oblegyd yr oeddwn yn gosod allan eu bod wedi cael cyfle i ddefnyddio y moddion a enwyd, ond eu bod er y cyfan heb eu defnyddio. Yr wyf yn addef yn mhellach i mi gwyno yn annheg, a beio heb achos, ac y dylwn edifarhau oblegyd hyny, os darfu iddynt *gynyg* moddion cariad yr efengyl yn yspryd yr efengyl, ac i'r moddion hyny fethu; ac iddynt yn y diwedd *gynyg* moddion y *llwyrymatal* oddiwrth fudr-elw caethwasanaeth, ac i'r moddion hyny fethu. Ond o'r tu arall os cafodd Talaethau goludog goleuedig a gwareiddiedig y Gogledd gyfle i gynyg moddion cariad Cristionogaeth; a chyfle i gynyg moddion iawnder gwladol drwy bridwerth; a chyfle i olchi eu dwylaw oddiwrth fudr-elw caethwasanaeth, ac nas gwnaethant y pethau hyny, ond ymyryd â'r pwnc mewn nwydau anaddfwyn ac unochrog, mewn yspryd pigog ac anefengylaidd, â gwefusau llawn o athrod ac o enllib, ac â dwylaw anghyfiawn ac aflan, yna yr oedd *achos* i gwyno yn eu herbyn: yr oedd eu hannhegwch yn fawr, y mae eu heuogrwydd yn drwm, a chwerw iawn ydynt y canlyniadau o'r amryfusedd. Buasai yn hyfrydwch mawr iawn genyf fedru amddiffyn a chyfiawnhau yspryd ac ymddiddanion ac ymddygiadau y rhydd-dalaethau yn yr achos pwysfawr dan ein sylw, ond nis medraf. Buasai yn gysur meddwl, ac yn enill i mi i allu galw yn ol fy nghwynion, ond nis gallaf. Yn y rhydd-dalaethau y mae fy holl gyfeillion, ac yn eu mysg hwy y mae fy holl gyfathrach; ac o'u tu hwy y mae holl ogwyddiadau fy nghalon; ond y mae yn alarus genyf, yn enwedig wrth feddwl am eu nerth a'u cyfoeth, a'u goleuni, a'u doniau, a'u cyfleusderau, a'u hadnoddau, i orfod dweyd eu bod wedi gadael gweinidogaeth addfwynder yr efengyl, a gweinidogaeth cyfiawnder gwladwriaethol, a gweinidogaeth y dwylaw glân *heb eu defnyddio*, a'u bod drwy hyny wedi colli braint ac anrhydedd o anrhaethol werth a bri, wedi gwneud annhegwch mewn llawer dull a'u cyd-ddeiliaid yn y De; wedi dwyn anfri ar enw Cristionogaeth, a nychdod i nerth ei dylanwad, a thramgwydd ar ffordd ei llwyddiant; wedi tynu gwarth ar eu

[redacted]



cymeriad uchel eu hunain, a phob rhyw lygredigaeth i'w cymdeithas; ac wedi taenu gwaed a difrod a dinystr dros y Talaethau enciliedig, a gofidiau a barnedigaethau ofnadwy dros eu Talaethau eu hunain.

Goddefed fy anwyl gyfeillion i mi gan hyny resymu, ac yr wyf am resymu mor deg ag y medraf, mai *nid* trefn caethwasanaeth, er gwaethed oedd, ydoedd yr *unig* achos o'r gwrthryfel. Os oedd drygau ac annhegwch yn y Gogledd, y mae yn deg i hyny gael ei gydnabod a'i gofio, ac y mae o bwys anrhaethol hefyd er tawelwch a ffyniant y wlad, ac er anrhydedd a llwyddiant achos mawr yr efengyl, i hyny gael ei gydnabod a'i gofio. Cael gwybod y *gwir* ddylai fod ein hamcan blaenaf ar bwnc mor bwysfawr. Y mae llaweroedd yn awr yn dadlu, ac yn dadlu yn hyf ac yn wresog, mai trefn caethwasanaeth ydoedd yr *unig* achos o'r gwrthryfel; ond os oedd y llaweroedd hyny yn hyf ddadlu er ys blynyddoedd lawer dros i'r Llywodraeth gyffredinol ryddhau y caethion heb dalu unrhyw bridwerth i'r caethfeistri yr oedd hyny yn ddadlu dros anghyfiawnder a gorthrwm, oblegyd yr oedd y trysorlys cyffredinol wedi derbyn cyllidau rheolaidd, ac yr oedd holl gylchoedd masnach y wlad wedi derbyn cyfran helaeth o'u goludoedd oddiwrth lafur caethwasanaeth, trwy ddwylaw y meistri, ac yr oedd cynllunio yn ddiddiwedd i gymeryd y caethion oddiarnynt, heb wneuthur unrhyw ad-daliad iddynt, yn anghyfiawnder trwm ag oedd yn gyflawn ddigon i fod yn un achos o'r rhwygiad a'r gwrthryfel.

Ac yn mhellach, Os oedd y llaweroedd a ddadleuant mai Trefn Caethwasanaeth oedd yr *unig* achos o'r gwrthryfel, yn cynllunio er ys blynyddoedd am *alltudio* y Negröaid o'r wlad, yr oedd hyny yn anghyfiawnder creulawn arall ag oedd yn ddigon o achos o rwygiad ac o ryfel. Gan eu bod mor dŷn am eu *halltudio*, rhaid eu bod am eu halltudio naill ai ar draul y Negröaid eu hunain, neu ar draul y meistri, neu ar draul y wlad. Os oeddynt am eu halltudio ar draul y *caethion* eu hunain, buasai hyny yn gam an-nynol ac an-nuwiol â'r rhai

oeddynt wedi *hir* lafurio er cyfoethogi y wlad,—â'r rhai oeddynt wedi byw ynddi yn hŵy, a gweithio ynddi yn galetach na'u halltudwyr: a buasai hyny, mewn gwirionedd, yn gynllun pwyllog, neu anmhwyllog, i *newynu* myrddiynau o honynt o'r ffordd. Os oeddynt am eu halltudio ar draul eu *meistri*, buasai hyny, heblaw bod yn greulondeb at y caethion, yn anghyfiawnder â'r meistri ag oeddynt wedi talu cymaint i'r Trysorlys ac i'r wlad drostynt, a hyny am ddegau o flynyddoedd. Os oeddynt am eu halltudio ar draul y *wlad*, buasai hyny, nid yn unig yn gam â'r caethion ac â'u meistri, ond yn gam hefyd â'r dosbarth lliosog o'r deiliaid dyngarol a gwladgar a ffyddlon a ystyriant *bob* cynllun i'w halltudio o'u hanfodd yn groes i bob rhyddid ac iawnder gwladol, ac yn groes hefyd i holl gyfreithiau Cristionogaeth.

Dichon fod gan y rhai sydd am eu halltudio o'r wlad ddigon o ddylanwad yn y byd *anweledig* i'w halltudio ar draul yr angylion, neu ar draul ysprydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd. Os dyna ydyw eu cynllun, ni ddylwn godi llais yn eu herbyn, oblegyd y mae ganddynt felly uwch llywod-ddysg nag oeddwn i wedi ddychymygu. Neu, ysgatfydd, eu bod am eu halltudio ar unwaith, dros yr afon ddu, i un o diriogaethau *isaf* y byd mawr tu draw i'r llen. Gallent eu gwthio dros yr Afon ddu heb ryw lawer o draul i neb, a dichon y rhoddid iddynt "weithred" ar ryw *gwr* o'r wlad fawr tu draw i'r afon, ar yr ammod iddynt ymgadw draw ar eu penau eu hunain. Gwn fod eu Halltudwyr am gadw holl Dalaethau *uchaf* y "Wlad well" iddynt eu hunain: gwn eu bod am gadw yr holl diroedd hyfryd sydd oddeutu y brif-ddinas, a'r llys, a'r orsedd, a'r deml iddynt eu hunain; ond gall eu bod yn foddlon i'r Negröaid gael trigianu i *lawr*, "wrthynt eu hunain," a chael cysegr iddynt eu hunain, yn rhyw gongl pellenig, wrth derfyn *isaf* y wlad. Nid ydynt am i'r Negröaid gael myned i mewn gyda hwy drwy'r pyrth i'r ddinas. Nid ydynt am iddynt fod yn gyd-ddinasyddion â hwynt yn y Ganaan *isod*; a byddai yn ddirmygus ar eu hurddas i ni dybied am foment y goddefant i'r Negro du [illegible] ac addoli gyda hwy yn y Ganaan fry.

Nid hawdd cael geiriau digon cryfion i gondemnio yr amcan creulawn, dall, sectaidd o alltudio y Negröaid o'r wlad. Nid gweddus i'r rhai oeddynt a'u bryd ar hyny, son dim am eu dyngarwch na'u gwladgarwch, nac am eu sêl o blaid Rhyddid; nac am eu llid sanctaidd yn erbyn gormes y Caeth-feistri; oblegyd yr oedd eu cynlluniau hwy i alltudio y Negröaid o'r wlad, mor groes i ddynoliaeth, ac mor groes i Ryddid ag oedd eu cadw mewn caethiwed yn y wlad. Beth pe sonid am alltudio pedair miliwn o Wyddelod, neu o Ellmyn, neu o Gymry heddychol ac ufudd a gweithgar o'r wlad, a hyny pan y mae *eisiau* eu gwasanaeth ynddi, a hyny hefyd ar ol iddynt weithio yn galed ynddi am ugeiniau o flynyddoedd i amlhâu ei goludoedd a'i chysuron? A fyddai hyny yn Rhyddid, neu yn ddynoliaeth? A fyddai hyny yn wladgarwch, neu yn grefydd? Na fyddai; ond byddai yn hollol groes i egwyddorion pob rhyddid ac iawnder. Nid yw y bobl ag ydynt yn dadlu am alltudio y Negröaid o'r wlad wedi ystyried erioed pa beth y maent yn ei ddywedyd, nac wedi ystyried ychwaith y drwg y mae eu rhagfarnau culion wedi wneud i achos rhyddid ac Uniondeb a chariad. Dylent ddeall erbyn hyn eu bod wedi dywedyd llawer iawn o bethau hollol groes i bob tegwch; a bod eu cynlluniau yn milwrio yn uniongyrchol yn erbyn ffyniant eu gwlad, ac yn erbyn llwyddiant Cristionogaeth. Yr oedd eu cynlluniau deillion, gwylltion, i alltudio y Negröaid o wlad eu genedigaeth, a gwlad genedigaeth a beddrod eu tadau, o'r wlad fawr lydan a gyfoethogwyd drwy eu hirfaith lafur yn rhes o achos y terfysgoedd presenol.

Yr wyf yn gwybod fod llaweroedd, o wir ewyllys da i achos rhyddid, wedi bod a'u bryd yn dŷn am anfon y Negröaid o'r Unol Dalaethau "yn ol i'w gwlad"—yn ol i Affrica, neu wlad eu tadau. Byddai yr *hen* wlad hono mor *newydd* iddynt hwy yn awr ag unrhyw wlad arall; a byddai eu traws-fudiad, neu yn hytrach eu *trais*-fudiad yno, yn debyg i enyn eiddigeddau rhyngddynt â llwythau y brodorion; ac arweiniai hyny o radd i radd i orthrwm ac ymladd: naill ai codai y brodorion i'w

iawn o orthrymderau ; ac yr wyf yn teimlo yn gryf a
n erbyn pob cynllun a chynyg am y fath alltudiaeth.
feddylier fy mod, oblegyd hyny, yn erbyn i *haelioni*
unaidd anfon Negröaid o ddysg ac athrylith, o yspryd
n, ac o archwaeth at welliantau, i ddysgu y gwybod-
a'r celfyddydau, ac yn enwedig i egluro yspryd ac eg-
ion Cristionogaeth i'w cefnderoedd a'u cyfyrderoedd yn

Yr iawn goreu fedrai Talaethau America yn awr
i Affrica, am y cam dirfawr a wnaed â'r Negröaid yn
a a aethant heibio, fyddai iddynt gyd-ymroi mewn ys-
turiol a haelfrydig i anfon Cenhadon ffyddlon yno,—
yn caru Rhyddid a Thangnefedd, dynion o wybodaeth
dfad, dynion llawn o Yspryd Iesu, a'u calonau yn llosgi
t o awydd i bregethu yr ymadrodd am y groes i Ba-
Affrica, ac iw henill i obeithio am iechydwriaeth drwy
Cyfryngwr.

hawdd dweyd gormod am ddrygau caethiwed : ond os
pobl uchelfrydig ac ystyfnig y *De* fwy na'u *rhan* o'r
a'r dirmyg ;—os cawsant, pan yr oeddynt mor eiddigus
rdiau fel Talaethau *annibynol*, fwy na'u *rhan* o ddifriaeth
mliwiad o herwydd yr hen drefn felldithiol ; yr hen drefn
l wedi bod mewn bri dan lywodraethau cryfaf y cyn-

[redacted]



dydd hwn; yr hen drefn a ddygodd fwy o enill i farsiandiaeth y Gogledd nag i farsiandiaeth y De;—Os cafodd pobl feibion y De fwy na'u *rhan* o'r enllib ac o'r dirmyg o'i phlegyd, yr oedd yr enllib hyny a grugiwyd arnynt drwy y blynyddoedd, mewn iaith mor bigog, ac mewn yspryd mor phariseaidd, yn un o achosion y rhyfel presenol. Nid hawdd dweyd gormod am ddrygau caethiwed; ac nid hawdd ychwaith dywedyd gormod am annhegwch llaweroedd o brif bobl y rhydd-dalaethau tu ag at y *Negro*, a thu ag at *Feistr* y negro.

Os bu dymuniad yn y rhydd-dalaethau am i wrthryfel dori allan *yn* y De trwy i gaethion "godi" yn erbyn eu gorthrymwyr; ac os buwyd yn cefnogi ac yn cyfiawnhau y dymuniad hwnw, yr oedd hyny yn *rhan* o achos y rhwygiad. Ond yn lle cael y dymuniad i ben am wrthryfel *yn* y De, llwyddwyd i gynhyrfa y *De oll* i wrthryfela yn erbyn y Llywodraeth; neu mewn geiriau mwy priodol, i osod eu bryd ar "encilio;" ac os na oddefid iddynt encilio mewn "heddwch," i *ymladd* am eu hannibyniaeth. Cafwyd dialeddau, ond nid y dialeddau oeddid yn ddisgwyl. Cynddeiriogwyd ysprydion rhyfel, a gwylltiwyd hwynt allan yn eu cynddaredd ffromwyllt; ac aethant yn fwy gwallgof ac aflywodraethus, yn fwy difrodgar ac anrheithgar, yn fwy gwaedlyd a llofruddiog nag yr oeddid erioed wedi dychymygu.

Yr wyf yn ystyried fod y cynllunio diwyd a'r dadlu poeth a fu drwy yr holl flynyddoedd am ryddhau y caethion drwy Act y Gydgynghorfa heb dalu unrhyw bridwerth i'r meistri; ac am y cynllunio gwyllt fu am alltudio y caethion o'r wlad yn hollol groes i egwyddorion blaenaf cyfiawnder gwladol, ac yn hollol groes hefyd i yspryd Cristionogaeth; yn gam â'r caethion, yn gam â'u meistri, yn gam â'r wlad, ac yn gam mawr ag achos dynoliaeth: ac yr wyf yn barnu mai hyny oedd *un* o'r achosion a daflodd y wlad i'w therfysgoedd dychrynllyd presenol. Yr wyf, ar yr un pryd yn credu mai rhyw fath o *sel* dros Ryddid, sêl bleidiol heb gymeryd golw eang ar y pwnc, sêl wyllt heb ei chyd-dymeru ag addfwynder yr efengyl, a hudodd bleidwyr

wyd un dosbarth o honynt i'r fyddin i "ddysgu rhy-
yr ydys yn cydnabod dau beth gyda golwg ar y rhan
dosbarth hwnw ;—yn gyntaf, eu bod wedi cael eu
wn sefyllfaoedd o galedi ac o berygl er profi eu dewr-
yddlondeb : ac yn *ail,* Fod awdurdodau y llywodraeth
arth, wedi tori eu cyfamod â hwy gyda golwg ar eu
Addawyd iddynt y "tri dolar ar ddeg y mis," ond ni
wyd yr addewid hono iddynt er ysgafned ydoedd ; yr
yn gam gwaradwyddus i'r eithaf ynghanol yr holl
od y rhyfel yn cael ei ddwyn ymlaen er gwneud cyf-
i'r Negroaid. Cymerwyd dosbarth arall o honynt i
lan Arolygiaeth Goruchwylwyr y Llywodraeth, ar yr
thau oeddid wedi atafaelu oddiar eu caeth-feistri
lgar ; ac yr ydys wedi cydnabod yn gyhoeddus lawer
d y dosbarth hwnw yn ystyried eu llafur dan ei meistri
m yn gaethach ac yn drymach nag ydoedd dan eu
i, a'u bod yn cael llai am eu llafur nag o'r blaen ; a
o'r dosbarth gweithiol hyny yn gleifion ac yn meirw
an y drefn newydd nag oedd dan yr hen drefn. Goll-
a dychrynwyd a gwasgarwyd dosbarth arall o honynt
awr i chwilio am waith a chartref iddynt eu hunain
ent eu cael ; a'r dystiolaeth gryfaf am y cyfryw ydyw,
wafrif o honynt drwy amryw brofedigaethau wedi

wraidd, a thrwy holl ffyrdd ymdaith y byddinoedd. Pa nifer o'u merched a'u gwragedd a halogwyd, ni cheir byth wybod. Gadawyd miloedd o honynt i ddihoeni i angau newyn afiechid ac angau. Ofer disgwyl am gael byth ystadegau teg a chyflawn o'u profedigaethau a'u dyoddefiadau. Dysgodd eu meistri newyddion greulonderau mewn tair blynedd na ddysgodd eu hen feistri mewn tri ugain mlynedd. Gallai awdurdodau y llywodraeth (pe dewisent) roddi amcan-gyfrif i ni o nifer y *marwolaethau* yn eu mysg drwy flynyddoedd y rhyfel mewn cydmariaeth i'r marwolaethau drwy y blynyddoedd cyferbyniol o flaen y rhyfel. Y mae yr hen athrawiaeth fod rhyfeloedd wedi cael eu harfaethu i buro a diwyllio a choethi chwaeth a moesau y byd yn un o duedd uniongyrchol i lygru a chaledu y galon: ac y mae yr hen drefn o geisio derchafu a dedwyddu llwythau *gorthrymedig* y ddaear drwy "*rym-rhyfeloedd*," wedi achosi drygau annarluniadwy dan bob goruchwyliaeth, yn mhob oes, a thrwy bob gwlad: ac yr wyf yn ofni i'r rhyfel mawr cartrefol presenol yn yr Unol Dalaethau wneuthur mwy o niwed i achos dynoliaeth a Christionogaeth nag a wnaeth unrhyw ryfel fu erioed o'r blaen yn barbareiddio teimladau plant dynion.

Gobeithio erbyn y terfyna y rhyfel sy'n awr yn cyflym ddistrywio y wlad, y bydd trefn caethwasanaeth wedi cael ei dileu am byth o'r Unol Daelaethau; ond bydd wedi cael ei dileu trwy ddinystr miloedd digyfrif o'r caethion, a miloedd lawer o'u meistri, a miloedd mwy na hyny o gyfeillion rhyddid; a thrwy ddifrodi gwerth miliynau o eiddo, a thrwy sefydlu gorthrwm o ddull arall drwy bob parth o'r wlâd yn ffurf trefniadau gormesol y *Trethiadau* tu ag at adgyweirio drylliau y rhyfel, a thalu llogau dyledion y rhyfel, a gwobrau blynyddol enwogion y rhyfel, a chynal sefydliadau milwraidd er bod yn barod at ryfel *eto*, a chynal hefyd sefydliadau *cospawl* er ceisio nychu y llygredigaethau dirif y mae y rhyfel eisioes wedi agor arnynt.

Nid wyf yn gwybod fod genyf ychwaneg i'w ddywedyd ar bwnc pwysig *Rhyddhad y Caethion* oddieithr i gyflwr y wlad

I. Ei Effeithiau:

ai a renir yn naturiol i ddau ddosbarth,—sef yr effeithiau fodd yn ystod y tair blynedd a aethant heibio, a'r eff-au a gaiff yn yr amser a ddaw. Y mae yn lled hawdd unio yr effeithiau a gafodd yn yr amser a aeth heibio, ond ae yn anoddach darlunio yr effeithiau a gâ yn yr amser a w. Yn mysg yr effeithiau niweidiol a gafodd yn barod, r crybwyll

Ei fod wedi mawr ddrygu *Amaethyddiaeth* y wlad. Am-yddiaeth ydyw mam y celfyddydau, a ffynhonell benaf aliaeth cymdeithas. Llwyddiant amaethyddiaeth mewn d, yn enwedig mewn gwlad ëang fel America, ydyw un o elfenau ei nerth a'i chyfoeth a'i derchafiad. Yr oedd diw-nt amaethyddiaeth yn yr Unol Dalaethau yn myned yn a yn gyflym drwy y blynyddoedd blaenorol i doriad allan wrthryfel. Yr oedd eu cymdeithasau amaethyddol yn er mwy gweithgar a blodeuog y pryd hyny, nag ydynt yn . Yr oedd y cyhoeddiadau a'r llyfrau ar amaethyddiaeth ael llawer mwy o ddarlleniad ac o ystyriaeth y pryd hyny, a gawsant drwy y blynyddoedd [illegible]r ol hyny. A gwaeth cyfan, y mae ugeiniau o filoedd o *ddwylaw* cryfion a medrus i cael eu troi o faes amaethyddiaeth i faes rhyfel, ac i'r gal-ia[illegible]than cynorthwyol i ryfel: Oes, y mae ugeiniau o filoedd

rhinwedd i faes gwreiddiau pob llygredigaeth. Nid ellir byth ddirnad y golled i amaethyddiaeth yn ei holl ganghenau—i'w hydau a'u phorfeydd, i'w gerddi a'i gwinllanoedd, i'w pherllanau a'i holewyddlanau, i'w hoffer a'i hadeiladau, i fagwraeth ei hanifeiliaid ac i'w holl gyfleusderau a achoswyd ymhob dull gan y gwrthryfel. Ni byddai yn ddoeth i gynyg ystadegau manylaidd ar hyn, oblegyd y mae yn analluadwy eu cael; ond pe tybiem fod dau can mil o ddynion cryfion o'r gogledd a chan mil o'r de wedi cael eu galw am y tair blynedd diweddaf o faes amaethu y tir i faes y tywallt gwaed, byddai hyny, yn ol cyfrif isel, yn golled i'r wlad o dros bum' can miliwn. Nid hawdd prisio y golled o symud dyn da diwyd o faes y cynyrchu i faes y difrodi.

2. Y mae wedi troi llawer iawn o nerthoedd a chywreinrwydd ac athrylith ac yspryd y wlad i gelfyddydau a galwedigaethau gwaeth nag anfuddiol, a thrwy hyny wedi arafu a gwanychu cywreiniad celfyddydau heddwch, a dilyniad galwedigaethau buddioldeb. Y mae cywreinrwydd penaf y wlad yn awr yn cael ei ddefnyddio i adeiladu llongau rhyfel haiarnwisgedig, ac i wneuthur y magnelau a'r drylliau a'r llaw-ddrylliau effeithiolaf am daflu peleni angau ymhell ac yn gyflym ac yn gywir, ac i wneuthur y cleddyfau a'r gwaywffyn blaenllymaf; a'r pylor mwyaf ei nerth, nid i rwygo creigiau o'r ffordd, ond i rwygo cyrff dynion; a'r ffyrdd effeithiolaf i ddryllio y Bombshell ac i wlawio y "Greek fire" a'r *Latin* fire ; a buasid yn gwlawio hefyd y *Gothic* a'r *Vandalic* fires pe gallasid eu cael ; ac i agor cloddiau, nid er cael allan yr aur a'r arian a'r copr a'r haiarn, a'r glo a'r marmor, ond er gallu myned yn ddigon agos i chwalu cestyll a dinasoedd a themlau ; a'r ffyrdd goreu i drefnu byddinoedd, ac i wneud rhuthrau, ac i ddal ymosodiadau ar faes y frwydr ; ac fel effaith naturiol o'r holl astudiaeth sydd wedi cael ei roddi i grefft fawr "ogoneddus" rhyfel yn ei holl ganghenau, ac yn eu holl gysylltiadau, y mae llai o sylw yn cael ei roddi i gelfyddydau heddwch,—i wneuthuriad peiriannau braenaru a hau a medi a dyrnu a nithio a malu a nyddu a gweu

ion" gllio yn ol, er cael ffordd rydd i'r "meirch *cochion*" au. Nid all neb byth draethu na dirnad y golled i wlad fod blaenorion ei nerth a'i doniau yn cael eu troi at wagangheuau celfyddyd fawr rhyfel.

Y mae wedi dyrysu rhai o gylchoedd pwysicaf masnach l. Y mae y gohebiaeth a'r gyfathrach a'r gydfasnach a wng y De a'r Gogledd wedi cael eu tori. Y mae llawer o'r cydfasnachu fu rhwng Talaethau y De a Theyrnas Europe wedi cael ei ddyrysu a'i dori. Yr oedd Talaeth De yn codi llawer o gynyrch yn cotwm, a ffrwythau, a on i lawer o farchnadoedd y byd, y mae hyny i raddau h wedi darfod. Yr oedd y De yn gwerthu llawer i lawdinasoedd y Gogledd, ac i lawer o ddinasoedd Europe; oedd yn prynu yn ol lawer o bethau ereill; ond y mae i raddau helaeth wedi darfod. Yr ydys wedi eu cau brou yn hollol o gylch masnach eu gwlad, ac o gylch ch masnach y byd. Dyna ydyw y ffaith, y mae yn un ac anwadadwy. Nid wyf am gynyg penderfynu yn awr ai yn gyfreithlawn ai yn anghyfreithlawn y gwnawd ; ond y mae hyny wedi cael ei wneud, ac y mae yn golled ddyryswch annarluniadwy fawr, nid yn unig i holl faseth America, ond i gylchoedd penaf masnachaeth y byd.

[redacted]



cyfrif a dirnadaeth. Baich penod hir o adroddiadau holl newyddiaduron y De, trwy y tair blynedd diweddaf, oedd ymffrostio, mewn iaith annheilwng o ddynoliaeth a Christionogaeth, pa faint o eiddo drudfawr perthynol i'r Gogledd oeddynt wedi allu ddistrywio: a baich penod llawer hwy yn adroddiadau newyddiaduron y Gogledd oedd ymffrostio, mewn iaith annheilwng o ddynoliaeth a Christionogaeth, am yr holl eiddo drudfawr perthynol i'r gwrthryfelwyr oeddid wedi allu ddistrywio. Diameu fod pob un o'r adroddiadau hyny yn wrthun i ryw brofiad; ond yr oedd yn gwaedu calon pob Cristion purtyriol a didwyll. Nis gellir cael cryfach prawf o galon yn mhell o'i lle na'i bod yn gorfoleddu yn nifrodiad cynaliaeth a chysuron plant dynion. Nid oes yr un prisiwr, nac yr un rhifyddwr yn America, nac yn yr holl fyd, fedr roddi cyfrif llawn i ni o werth yr hyn a ddifrodwyd er dechreuad y gwrthryfel—yn anneddau a llongau, a ffyrdd a phontydd, a bwyd a diod, a dillad a dodrefn, a llyfrau ac ysgrifeniadau, a gweithredoedd a chofroddion, ac yn amgaeau a choedydd, a pherllanau a gwinllanoedd, yn beirianau a meni, ac arfau ac offer o bob maint ac o bob math, ac yn ieir a gwyddau, a thwrciod a moch, a defaid a gwartheg, a meirch a mulod. Byddai y cyfrifon, pe medrid eu cael, yn fwy na digon o lwyth i feddwl y rhifyddwr penaf yn yr holl wlad.

5. Y mae y gwrthryfel, a'r rhyfel er ei ddarostwng, wedi tynu *dyled* arswydus ar yr Unol Dalaethau. Y mae llawer iawn o siarad ac o ysgrifenu wedi bod yn America ac yn mhob man arall, am ddyledion Llysoedd Europe, ac yn enwedig am "ddyled coron Lloegr;" ond gellir dweyd fod Talaethau America wedi tynu llawer trymach dyled arnynt eu hunain yn ystod tair blynedd y gwrthryfel nag a dynwyd gan unrhyw wlad, Gristionogol na phaganaidd, mewn cyn lleied o amser, er dyddiau y greadigaeth. Y mae rhai yn gorfoleddu yn hyny, ac yn ymffrostio o hyny, gan resymu ei bod yn ddyled yn iawn, yn ddyled o ffigwrau ardderchog, yn ddyled deilwng o faint y wlad, a'i bod yn argoel o nerth ac o olud yr Unol

u, fel y mae yn awr, yn drymach na thros haner cupi-
Unol Dalaethau. Bydd y ddyled, fel y mae, bron yn
i iddynt; bydd fel llyfetheiriau am eu traed, ac fel
am eu dwylaw, ac fel meini melin am eu gyddfau, a
ros lawer o genhedlaethau. Nid hawdd i mi anghofio
wedd y bobl oeddynt yn ymsythu i ymffrostio o faint y
fel argoel o nerth a chyfoeth y wlad; ac yn enwedig
dioldeb y ddyled fel sylfaen ei derchafiad a'i henwog-

Nid yw hyny ddim gwell na gwaith afradlon anystyr-
nol yn achrau *delirium* ei feddwdod, yn ymffrostio yn
llonedd; neu waith gwallgofddyn yn dawnsio ac yn
ddwylaw wrth edrych ar y fflamau sy'n difa ei gartref.
y *fost* ynfyd y gall y wlad *fawr* hon "fforddio" rhedeg
, a hyny ar *scale* gyfatebol i'w hëangder a'i chyfoeth,
rthwynebus iawn i'm teimlad ac i'm rheswm. Peth
wn ydyw andwyo *teulu*, trymach na hyny ydyw an-
r, trymach na hyny ydyw andwyo *Talaeth*, ond y mae
*gwlad* fel yr Unol Dalaethau, pan bron ar ddechreuad
wyddiannus dadleuiad ei hadnoddau amrywiaethol, yn
wchlaw pob cyfrif a dirnadaeth.

mae y gwrthryfel wedi gwenwyno yspryd addfwyn,
ar, cariadlawn, a maddeugar yr efengyl, a'i ymlid ym-
da dirmyg, o holl gysegrfanau y wlad. Y mae y rhan

Anwylyd, a chan Dduw'r Cariad, a chan Yspryd y Gras, a chan yr angylion sanctaidd "gwasanaethgar," ac ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd: ac yn wir, rhaid i'r eglwys "filwriaethus" isod, newid ei hyspryd, a newid ei harfau, onide cyll wenau y nefoedd, a'i nerth a'i gorfoledd; a bydd yn sicr o lithro yn ol ar y maes, a chael ei chlwyfo, a bydd mewn perygl o golli y dydd, a cholli ei choncwest a'i choron.

7. Y mae wedi lliosogi, a thrymhau, a dyfnhau *llygredigaethau* y wlad. Y mae yn rhyfedd genyf feddwl am ddynion o ddysg a dylanwad, dynion yn proffesu athrawiaethau Cristionogaeth, ac yn cyhoeddi eu bod wedi astudio ffeithiau hanesyddiaeth a rheolau moesau da, yn gwerthu eu doniau i geisio profi fod yr hyn a alwant yn "DDISGYBLAETH Y FYDDIN" yn foddion rhagorol i ddiwygio moesau gwyr ieuainc y wlad: fod "disgyblaeth" sydd a'i holl ogwydd a'i holl amcan i'w caledu a'u creuloni—disgyblaeth ag sydd yn eu cynefino â'r ffieidddra ysgeler o ladd, ac anrheithio, a difrodi—disgyblaeth ag sydd yn eu hyfforddi yn drwyadl yn elfenau cyntaf a diweddaf, uchaf ac isaf yr arferiad ddisynwyr o dyngu a rhegu—disgyblaeth ag sydd yn mygu eu parch i ddydd Duw, ac i holl athrawiaethau ac ordinhadau ei Air—disgyblaeth ag sydd yn ol pob hanes wedi gwneud y nifer amlaf o lawer o'i disgyblion ffyddlonaf, cysonaf a gwresòcaf yn anffyddwyr dideimlad, a segurwyr gloddestgar diawydd i fod yn ddiwyd a defnyddiol mewn unrhyw alwedigaeth fuddiol, ond yn awyddus am segurswyddau o ddifyrwch, a bri, ac elw, mewn gwlad neu eglwys, ar draul y diwyd, a'r gonest, a'r llafurus—fod disgyblaeth felly yn foddion rhagorol i ddiwygio moesau gwlad! Y mae y wlad er dechreuad y rhyfel wedi caledu yn ofnadwy yn swyddau gwaethaf ei llygredigaethau.

8. Y mae y gwrthryfel wedi gwasgu llywodraethwyr a swyddwyr y wlad, weithiau yn eu cyfyng-gyngor, ac weithiau yn eu trahausdra, i gynllunio, a chyflawni, a chyfiawnhau y mesurau creulonaf o drais a gormes. Nid wyf eto yn barod i gredu fod rhyfeloedd yn anocheladwy, eu bod yn angenrheidiol

Y mae rhai dynion eto, er creuloned ydyw y byd, a
t *bob* rhyfel yn anghyfreithlawn, ac a wnant eu goreu
ffordd i gael y byd i dir tangnefedd ; y mae gorfodi
r i wisgo arfau yn groes i argyhoeddiad eu cydwybod-
llusgo ymaith o fynwes eu teuluoedd i faes y lladdfa yn
od o'r fath waethaf, a dylid gwneud pob rhyfel yn ddi-
log er ysgoi y fath greulondeb, a gellid cynyg at hyny
lwy ffordd : drwy ddangos ei iawnder a'i ddaioni; a
odi hûr y milwr. Pe gorfyddai i mi addef fod trefn y
yn un deg, neu fod hawl gan lywodraeth i *orfodi* dyn-
restru i'w milwriaeth, yr wyf yn barnu y dylid *talu* i'r
rfodir i fyned allan yn filwr, o leiaf gymaint o gyflog
enill wrth ei alwedigaeth gartref. Byddai gorfodi
ed allan i lafurio am "dri dolar ar ddeg y mis" ar
yfel, pan y gallai enill tri dolar ar ddeg ar hugain y
i faes ei hun gartref yn anrheithio y dyn hwnw, nid yn
ryddid personol ac o'i freintiau a'i gysuron teulnaidd,
gain dolar y mis o'i enill cyfiawn ; byddid yn dwyn
(ac yr wyf yn ei *ail* ddweyd yn hyf) ugain dolar y
eu ddeuddeg ugain dolar y flwyddyn o'i enill teg tuag
gwiad ei blant a chynaliaeth ei deulu. Ac o'r tu arall
awer dyhiryn diog afradus ag na bu erioed yn ei fywyd
tri dolar ar ddeg y mis iddo ei hun nac i'w deulu yn

dydd hwn; yr hen drefn a ddygodd fwy o enill i farsiandiaeth y Gogledd nag i farsiandiaeth y De;—Os cafodd pobl feilchion y De fwy na'u *rhan* o'r enllib ac o'r dirmyg o'i phlegyd, yr oedd yr enllib hyny a grugiwyd arnynt drwy y blynyddoedd, mewn iaith mor bigog, ac mewn yspryd mor pharisealdd, yn un o achosion y rhyfel presenol. Nid hawdd dweyd gormod am ddrygau caethiwed; ac nid hawdd ychwaith dywedyd gormod am annhegwch llaweroedd o brif bobl y rhydd-dalaethau tu ag at y *Negro*, a thu ag at *Feistr* y negro.

Os bu dymuniad yn y rhydd-dalaethau am i wrthryfel dori allan *yn* y De trwy i gaethion "godi" yn erbyn eu gorthrymwyr; ac os buwyd yn cefnogi ac yn cyfiawnhau y dymuniad hwnw, yr oedd hyny yn *rhan* o achos y rhwygiad. Ond yn lle cael y dymuniad i ben am wrthryfel *yn* y De, llwyddwyd i gynhyrfa y *De oll* i wrthryfela yn erbyn y Llywodraeth; neu mewn geiriau mwy priodol, i osod eu bryd ar "encilio;" ac os na oddefid iddynt encilio mewn "heddwch," i *ymladd* am eu hannibyniaeth. Cafwyd dialeddau, ond nid y dialeddau oeddid yn ddisgwyl. Cynddeiriogwyd ysprydion rhyfel, a gwylltiwyd hwynt allan yn eu cynddaredd ffromwyllt; ac aethant yn fwy gwallgof ac aflywodraethus, yn fwy difrodgar ac anrheithgar, yn fwy gwaedlyd a llofruddiog nag yr oeddid erioed wedi dychymygu.

Yr wyf yn ystyried fod y cynllunio diwyd a'r dadlu poeth a fu drwy yr holl flynyddoedd am ryddhau y caethion drwy Act y Gydgynghorfa heb dalu unrhyw bridwerth i'r meistri; ac am y cynllunio gwyllt fu am alltudio y caethion o'r wlad yn hollol groes i egwyddorion blaenaf cyfiawnder gwladol, ac yn hollol groes hefyd i yspryd Cristionogaeth; yn gam â'r caethion, yn gam â'u meistri, yn gam â'r wlad, ac yn gam mawr ag achos dynoliaeth: ac yr wyf yn barnu mai hyny oedd *un* o'r achosion a daflodd y wlad i'w therfysgoedd dychrynllyd presenol. Yr wyf, ar yr un pryd yn credu mai rhyw fath o *sel* dros Ryddid, sêl bleidiol heb gymeryd golw eang ar y pwnc, sêl wyllt heb ei chyd-dymeru ag addfwynder yr efengyl, a hudodd bleidwyr

ryd un dosbarth o honynt i'r fyddin i "ddysgu rhy-
r ydys yn cydnabod dau beth gyda golwg ar y rhan
losbarth hwnw ;—yn gyntaf, eu bod wedi cael eu
rn sefyllfaoedd o galedi ac o berygl er profi eu dewr-
ddlondeb : ac yn *ail*, Fod awdurdodau y llywodraeth
rth, wedi tori eu cyfamod â hwy gyda golwg ar eu
Addawyd iddynt y "tri dolar ar ddeg y mis," ond ni
ryd yr addewid hono iddynt er ysgafned ydoedd ;·yr
yn gam gwaradwyddus i'r eithaf ynghanol yr holl
od y rhyfel yn cael ei ddwyn ymlaen er gwneud cyf-
'r Negroaid. Cymerwyd dosbarth arall o honynt i
an Arolygiaeth Goruchwylwyr y Llywodraeth, ar yr
hau oeddid wedi atafaelu oddiar eu caeth-feistri
gar ; ac yr ydys wedi cydnabod yn gyhoeddus lawer
l y dosbarth hwnw yn ystyried eu llafur dan ei meistri
n yn gaethach ac yn drymach nag ydoedd dan eu
, a'u bod yn cael llai am eu llafur nag o'r blaen ; a
o'r dosbarth gweithiol hyny yn gleifion ac yn meirw
n y drefn newydd nag oedd dan yr hen drefn. Goll-
dychrynwyd a gwasgarwyd dosbarth arall o honynt
wr i chwilio am waith a chartref iddynt eu hunain
nt eu cael ; a'r dystiolaeth gryfaf am y cyfryw ydyw,
rafrif o honynt drwy amryw brofedigaethau wedi

wraidd, a thrwy holl ffyrdd ymdaith y byddinoedd. Pa nifer o'u merched a'u gwragedd a halogwyd, ni chair byth wybod. Gadawyd miloedd o honynt i ddihoeni i angau mewn afiechyd ac angau. Ofer disgwyl am gael byth ystadegau teg a chyflawn o'u profedigaethau a'u dyoddefiadau. Dysgodd eu meistri newyddion greulonderau mewn tair blynedd na ddysgodd eu hen feistri mewn tri ugain mlynedd. Gallai awdurdodau y llywodraeth (pe dewisent) roddi amcan-gyfrif i ni o nifer y *marwolaethau* yn eu mysg drwy flynyddoedd y rhyfel mewn cydmariaeth i'r marwolaethau drwy y blynyddoedd cyfarbynol o flaen y rhyfel. Y mae yr hen athrawiaeth fod rhyfeloedd wedi cael eu harfaethu i buro a diwyllio a choethi chwaeth a moesau y byd yn un o duedd uniongyrchol i lygru a chaledu y galon: ac y mae yr hen drefn o geisio derchafu a dedwyddu llwythau *gorthrymedig* y ddaear drwy "*rym-rhyfeloedd*," wedi achosi drygau annarluniadwy dan bob goruchwyliaeth, yn mhob oes, a thrwy bob gwlad: ac yr wyf yn ofni i'r rhyfel mawr cartrefol presenol yn yr Unol Dalaethau wneuthur mwy o niwed i achos dynoliaeth a Christionogaeth nag a wnaeth unrhyw ryfel fu erioed o'r blaen yn barbareiddio teimladau plant dynion.

Gobeithio erbyn y terfyna y rhyfel sy'n awr yn cyflym ddistrywio y wlad, y bydd trefn caethwasanaeth wedi cael ei diléu am byth o'r Unol Daelaethau ; ond bydd wedi cael ei diléu trwy ddinystr miloedd digyfrif o'r caethion, a miloedd lawer o'u meistri, a miloedd mwy na hyny o gyfeillion rhyddid ; a thrwy ddifrodi gwerth miliynau o eiddo, a thrwy sefydlu gorthrwm o ddull arall drwy bob parth o'r wlâd yn ffurf trefniadau gormesol y *Trethiadau* tu ag at adgyweirio drylliau y rhyfel, a thalu llogau dyledion y rhyfel, a gwobrau blynyddol enwogion y rhyfel, a chynal sefydliadau milwraidd er bod yn barod at ryfel *eto*, a chynal hefyd sefydliadau *cospawl* er ceisio nychu y llygredigaethau dirif y mae y rhyfel eisioes wedi esgor arnynt.

Nid wyf yn gwybod fod genyf ychwaneg i'w ddywedyd ar bwnc pwysig *Rhyddhad y Caethion* oddieithr i gyflwr y wlad

a renir yn naturiol i ddau ddosbarth,—sef yr effeithiau
ld yn ystod y tair blynedd a aethant heibio, a'r eff-
a gaiff yn yr amser a ddaw. Y mae yn lled hawdd
o yr effeithiau a *gafodd* yn yr amser a aeth heibio, ond
yn anoddach darlunio yr effeithiau a *gâ* yn yr amser a

Yn mysg yr effeithiau niweidiol a gafodd yn barod,
rybwyll

i fod wedi mawr ddrygu *Amaethyddiaeth* y wlad. Am-
liaeth ydyw mam y celfyddydau, a ffynhonell benaf
aeth cymdeithas. Llwyddiant amaethyddiaeth mewn
yn enwedig mewn gwlad ëang fel America, ydyw un o
nau ei nerth a'i chyfoeth a'i derchafiad. Yr oedd diw-
amaethyddiaeth yn yr Unol Dalaethau yn myned yn
yn gyflym drwy y blynyddoedd blaenorol i doriad allan
thryfel. Yr oedd eu cymdeithasau amaethyddol yn
mwy gweithgar a blodeuog y pryd hyny, nag ydynt yn
Yr oedd y cyhoeddiadau a'r llyfrau ar amaethyddiaeth
llawer mwy o ddarlleniad ac o ystyriaeth y pryd hyny,
gawsant drwy y blynyddoedd ar ol hyny. A gwaeth
fan, y mae ugeiniau o filoedd o *ddwylaw* cryfion a medrus
sel eu troi o faes amaethyddiaeth i faes rhyfel, ac i'r gal-

[redacted]



rhinwedd i faes gwreiddiau pob llygredigaeth. Nid ellir byth ddirnad y golled i amaethyddiaeth yn ei holl ganghenau—i'w hydau a'u phorfeydd, i'w gerddi a'i gwinllanoedd, i'w pherllanau a'i bolewyddlanau, i'w hoffer a'i hadeiladau, i fagwraeth ei hanifeiliaid ac i'w holl gyfleusderau a achoswyd ymhob dull gan y gwrthryfel. Ni byddai yn ddoeth i gynyg ystadegau manylaidd ar hyn, oblegyd y mae yn analluadwy eu cael; ond pe tybiem fod dau can mil o ddynion cryfion o'r gogledd a chan mil o'r de wedi cael eu galw am y tair blynedd diweddaf o faes amaethu y tir i faes y tywallt gwaed, byddai hyny, yn ol cyfrif isel, yn golled i'r wlad o dros bum' can miliwn. Nid hawdd prisio y golled o symud dyn da diwyd o faes y cynyrchu i faes y difrodi.

2. Y mae wedi troi llawer iawn o nerthoedd a chywreinrwydd ac athrylith ac yspryd y wlad i gelfyddydau a galwedigaethau gwaeth nag anfuddiol, a thrwy hyny wedi arafu a gwanychu cywreiniad celfyddydau heddwch, a dilyniad galwedigaethau buddioldeb. Y mae cywreinrwydd penaf y wlad yn awr yn cael ei ddefnyddio i adeiladu llongau rhyfel haiarnwisgedig, ac i wneuthur y magnelau a'r drylliau a'r llaw-ddrylliau effeithiolaf am daflu peleni angau ymhell ac yn gyflym ac yn gywir, ac i wneuthur y cleddyfau a'r gwaywffyn blaenllymaf; a'r pylor mwyaf ei nerth, nid i rwygo creigiau o'r ffordd, ond i rwygo cyrff dynion; a'r ffyrdd effeithiolaf i ddryllio y Bombshell ac i wlawio y "Greek fire" a'r *Latin* fire; a buasid yn gwlawio hefyd y *Gothic* a'r *Vandalic* fires pe gallasid eu cael; ac i agor cloddiau, nid er cael allan yr aur a'r arian a'r copr a'r haiarn, a'r glo a'r marmor, ond er gallu myned yn ddigon agos i chwalu cestyll a dinasoedd a themlau; a'r ffyrdd goreu i drefnu byddinoedd, ac i wneud rhuthrau, ac i ddal ymosodiadau ar faes y frwydr; ac fel effaith naturiol o'r holl astudiaeth sydd wedi cael ei roddi i grefft fawr "ogoneddus" rhyfel yn ei holl ganghenau, ac yn eu holl gysylltiadau, y mae llai o sylw yn cael ei roddi i gelfyddydau heddwch,—i wneuthuriad peiriannau braenaru a hau a medi a dyrnu a nithio a malu a nyddu a gwau

ı" gllio yn ol, er cael ffordd rydd i'r "meirch *cochion*"
. Nid all neb byth draethu na dirnad y golled i wlad
d blaenorion ei nerth a'i doniau yn cael eu troi at wa-
anghenau celfyddyd fawr rhyfel.

mae wedi dyrysu rhai o gylchoedd pwysicaf masnach
Y mae y gohebiaeth a'r gyfathrach a'r gydfasnach a
g y De a'r Gogledd wedi cael eu tori. Y mae llawer
'r cydfasnachu fu rhwng Talaethau y De a Theyrnas-
ırope wedi cael ei ddyrysu a'i dori. Yr oedd Talaeth-
yn codi llawer o gynyrch yn cotwm, a ffrwythau, a
ı i lawer o farchnadoedd y byd, y mae hyny i raddau
wedi darfod. Yr oedd y De yn gwerthu llawer i law-
nasoedd y Gogledd, ac i lawer o ddinasoedd Europe;
dd yn prynu yn ol lawer o bethau eraill; ond y mae
addau-helaeth wedi darfod. Yr ydys wedi eu cau
ou yn hollol o gylch masnach eu gwlad, ac o gylch
ı masnach y byd. Dyna ydyw y ffaith, y mae yn un
: anwadadwy. Nid wyf am gynyg penderfynu yn awr
i yn gyfreithlawn ai yn anghyfreithlawn y gwnawd
ond y mae hyny wedi cael ei wneud, ac y mae yn golled
dyryswch annarluniadwy fawr, nid yn unig i holl fas-
h America, ond i gylchoedd penaf masnachaeth y byd.

[redacted]



cyfrif a dirnadaeth. Baich penod hir o adroddiadau holl newyddiaduron y De, trwy y tair blynedd diweddaf, oedd ymffrostio, mewn iaith annheilwng o ddynoliaeth a Christionogaeth, pa faint o eiddo drudfawr perthynol i'r Gogledd oeddynt wedi allu ddistrywio : a baich penod llawer hwy yn adroddiadau newyddiaduron y Gogledd oedd ymffrostio, mewn iaith annheilwng o ddynoliaeth a Christionogaeth, am yr holl eiddo drudfawr perthynol i'r gwrthryfelwyr oeddid wedi allu distrywio. Diameu fod pob un o'r adroddiadau hyny yn wirion i ryw brofiad ; ond yr oedd yn gwaedu calon pob Cristion ystyriol a didwyll. Nis gellir cael cryfach prawf o galon yn mhell o'i lle na'i bod yn gorfoleddu yn afrodiad cynaliaeth a chysuron plant dynion. Nid oes yr un prisiwr, nac yr un rhifyddwr yn America, nac yn yr holl fyd, fedr roddi cyfrif llawn i ni o werth yr hyn a ddifrodwyd er dechreuad y gwrthryfel— yn anneddau a llongau, a ffyrdd a phontydd, a bwyd a diod, a dillad a dodrefn, a llyfrau ac ysgrifeniadau, a gweithredoedd a chofroddion, ac yn amgaeau a choedydd, a pherllanau a gwinllanoedd, yn beirianau a meni, ac arfau ac offer o bob maint ac o bob math, ac yn ieir a gwyddau, a thwrciod a moch, a defaid a gwartheg, a meirch a mulod. Byddai y cyfrifon, pe medrid eu cael, yn fwy na digon o lwyth i feddwl y rhifyddwr penaf yn yr holl wlad.

5. Y mae y gwrthryfel, a'r rhyfel er ei ddarostwng, wedi tynu *dyled* arswydus ar yr Unol Dalaethau. Y mae llawer iawn o siarad ac o ysgrifenu wedi bod yn America ac yn mhob man arall, am ddyledion Llysoedd Europe, ac yn enwedig am "ddyled coron Lloegr ;" ond gellir dweyd fod Talaethau America wedi tynu llawer trymach dyled arnynt eu hunain yn ystod tair blynedd y gwrthryfel nag a dynwyd gan unrhyw wlad, Gristionogol na phaganaidd, mewn cyn lleied o amser, er dyddiau y greadigaeth. Y mae rhai yn gorfoleddu yn hyny, ac yn ymffrostio o hyny, gan resymu ei bod yn ddyled yn iawn, yn ddyled o ffigwrau ardderchog, yn ddyled deilwng o faint y wlad, a'i bod yn argoel o nerth ac o olud yr Unol

**nol Dalaethau.** Bydd y ddyled, fel y *mae*, bron yn **ddynt ;** bydd fel llyfetheiriau am eu traed, ac fel **m eu dwylaw**, ac fel meini melin am eu gyddfau, a **lawer o** genhedlaethau. Nid hawdd i mi anghofio **edd y bobl** oeddynt yn ymsythu i ymffrostio o faint y **l argoel** o nerth a chyfoeth y wlad ; ac yn enwedig **oldeb** y ddyled fel sylfaen ei derchafiad a'i henwog- **Nid yw** hyny ddim gwell na gwaith afradlon anystyr- **l yn** achrau *delirium* ei feddwdod, yn ymffrostio yn **nedd ;** neu waith gwallgofddyn yn dawnsio ac yn **lwylaw wrth** edrych ar y fflamau sy'n difa ei gartref. *fost* ynfyd y gall y wlad *fawr* hon "fforddio" rhedeg **a hyny ar** *scale* gyfatebol i'w hëangder a'i chyfoeth, **hwynebus** iawn i'm teimlad ac i'm rheswm. Peth **n ydyw** andwyo *teulu*, trymach na hyny ydyw an- **trymach** na hyny ydyw andwyo *Talaeth*, ond y mae *wlad* fel yr Unol Dalaethau, pan bron ar ddechreuad **ddianus** dadleuiad ei badnoddau amrywiaethol, yn **chlaw** pob cyfrif a dirnadaeth.

**mae y gwrthryfel** wedi gwenwyno yspryd addfwyn, **, cariadlawn,** a maddeugar yr efengyl, a'i ymlid ym- **dirmyg,** o holl gysegrfanau y wlad. Y mae y rhan

Anwylyd, a chan Dduw'r Cariad, a chan Yspryd y Gras, a chan yr angylion sanctaidd "gwasanaethgar," ac ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd : ac yn wir, rhaid i'r eglwys "filwriaethus" isod, newid ei hyspryd, a newid ei harfau, onide cyll wenau y nefoedd, a'i nerth a'i gorfoledd ; a bydd yn sicr o lithro yn ol ar y maes, a chael ei chlwyfo, a bydd mewn perygl o golli y dydd, a cholli ei choncwest a'i choron.

7. Y mae wedi lliosogi, a thrymhau, a dyfnhau *llygredigaethau* y wlad. Y mae yn rhyfedd genyf feddwl am ddynion o ddysg a dylanwad, dynion yn proffesu athrawiaethau Cristionogaeth, ac yn cyhoeddi eu bod wedi astudio ffeithiau hanesyddiaeth a rheolau moesau da, yn gwerthu eu doniau i geisio profi fod yr hyn a alwant yn "DDISGYBLAETH Y FYDDIN" yn foddion rhagorol i ddiwygio moesau gwyr ieuainc y wlad : fod "disgyblaeth" sydd a'i holl ogwydd a'i holl amcan i'w caledu a'u creuloni—disgyblaeth ag sydd yn eu cynefino â'r ffieidddra ysgeler o ladd, ac anrheithio, a difrodi—disgyblaeth ag sydd eu hyfforddi yn drwyadl yn elfenau cyntaf a diweddaf, uchaf ac isaf yr arferiad ddisynwyr o dyngu a rhegu—disgyblaeth ag sydd yn mygu eu parch i ddydd Duw, ac i holl athrawiaethau ac ordinhadau ei Air—disgyblaeth ag sydd yn ol pob hanes wedi gwneud y nifer amlaf o lawer o'i disgyblion ffyddlonaf, cysonaf a gwresocaf yn anffyddwyr dideimlad, a segurwyr gloddestgar diawydd i fod yn ddiwyd a defnyddiol mewn unrhyw alwedigaeth fuddiol, ond yn awyddus am segurswyddau o ddifyrwch, a bri, ac elw, mewn gwlad neu eglwys, ar draul y diwyd, a'r gonest, a'r llafurus—fod disgyblaeth felly yn foddion rhagorol i ddiwygio moesau gwlad ! Y mae y wlad er dechreuad y rhyfel wedi caledu yn ofnadwy yn nwydau gwaethaf ei llygredigaethau.

8. Y mae y gwrthryfel wedi gwasgu llywodraethwyr a swyddwyr y wlad, weithiau yn eu cyfyng-gyngor, ac weithiau yn eu tràhausdra, i gynllunio, a chyflawni, a chyfiawnhau y mesurau creulonaf o drais a gormes. Nid wyf eto yn barod i gredu fod rhyfeloedd yn anocheladwy, eu bod yn angenrheidi-

Y mae rhai dynion eto, er creuloned ydyw y byd, a bob rhyfel yn anghyfreithlawn, ac a wnant eu goreu ffordd i gael y byd i dir tangnefedd; y mae gorfodi i wisgo arfau yn groes i argyhoeddiad eu cydwybod-lusgo ymaith o fynwes eu teuluoedd i faes y lladdfa yn od o'r fath waethaf, a dylid gwneud pob rhyfel yn ddi-log er ysgoi y fath greulondeb, a gellid cynyg at hyny wy ffordd: drwy ddangos ei iawnder a'i ddaioni; a odi hûr y milwr. Pe gorfyddai i mi addef fod trefn y yn un deg, neu fod hawl gan lywodraeth i *orfodi* dyn-estru i'w milwriaeth, yr wyf yn barnu y dylid *talu* i'r fodir i fyned allan yn filwr, o leiaf gymaint o gyflog enill wrth ei alwedigaeth gartref. Byddai gorfodi ed allan i lafurio am "dri dolar ar ddeg y mis" ar yfel, pan y gallai enill tri dolar ar ddeg ar hugain y faes ei hun gartref yn anrheithio y dyn hwnw, nid yn yddid personol ac o'i freintiau a'i gysuron teuluaidd, ain dolar y mis o'i enill cyfiawn; byddid yn dwyn (ac yr wyf yn ei *ail* ddweyd yn hyf) ugain dolar y eu ddeuddeg ugain dolar y flwyddyn o'i enill teg tuag giad ei blant a chynaliaeth ei deulu. Ac o'r tu arall awer dyhiryn diog afradus ag na bu erioed yn ei fywyd ri dolar ar ddeg y mis iddo ei hun nac i'w deulu yn

y drefn sefydlog i weinyddu y gyfraith drwy ymresymiad pwyll a barn rheithwyr, ac i droi yr holl awdurdod o'r hen lysoedd rheolaidd i'r llys newydd milwraidd. Ydyw, y mae yn ddiwedd byd mewn unrhyw Dalaeth i greu llys newydd o swyddwyr y cleddyf i lyncu i fynu swyddogaeth ac awdurdod yr hen lysoedd rheolaidd. Y mae llawer iawn o hyn wedi cael ei wneud yn America gan y ddwy ochr yn ystod y tair blynedd diweddaf.

Y mae hefyd yn galed iawn i luddias dinesydd myfyriol, profiadol, boneddigaidd, i amlygu ei farn gydwybodol am y trefniadau, neu y cynllunau *goreu* er trefn, a thangnefedd, a derchafiad ei wlad. Y mae llawer o hyn wedi cael ei wneud yn ddiweddar gan y ddwy ochr. Dywedir yn fynych mai un o brif wendidau y De yn flaenorol i doriad allan y gwrthryfel, oedd eu hanewyllysgarwch i oddef i ddinasydd heddychol cydwybodol gael egluro ei farn yn llawn ac yn deg am ddrygau eu "*Domestic Institution*," sef eu sefydliad o gaethwasanaeth; a chyhoeddir yn fuan gan haneswyr craffaf a gonestaf yr amser a ddaw, mai ceisio atal rhydd-ymresymiad gyda golwg ar y drefn oreu i adferu heddwch i'r wlad, oedd un o wendidau mawr y Gogledd ar ol toriad allan y gwrthryfel. Yr hyn *oedd* yn cymell ac yn cynhyrfu y De i wrthwynebu ac i wahardd rhydd-ymresymiad oedd eu hofnau i'r caethion gael eu hudo a'u byddino i godi terfysgoedd. Yr hyn *sydd* yn cynhyrfu y Gogledd i wrthwynebu ac i wahardd rhydd-ymresymiad yw eu hofnau iddynt fethu yn eu cynllunau i ddarostwng y gwrthryfel ac i adferu Undeb drwy rym eu harfau. Ond y mae ceisio mygu rhydd-ymresymiad yn wendid mawr a niweidiol pa *le* bynag y bydd, pa un bynag ai yn y De ai yn y Gogledd ; a pha *bryd* bynag y bydd, pa un bynag ai mewn adeg o dawelwch ai mewn adeg o ddyryswch ; oblegyd nis gellir mygu y *gwirionedd*. Myn ddyfod i'r golwg, a myn sylw a gwrandawiad ; a goreu pa gyntaf y daw i'r golwg, a goreu pa gyntaf y caiff ei wrando, er llwyddiant pob rhinwedd a daioni.

llodydd a dillad, a llysiau a ffrwythydd, ac arfau a
lant anifeiliaid, heb ofyn eu cenad, na chynyg unrhyw
ynt: ac yr oedd yn greulonach na hyny i roddi *esgus*
pt" iddynt am yr eiddo a ddygid oddiarnynt, ac yn y
l, quartermasters y byddinoedd yn gwrthod y receipt
gan ddweyd yn sych wawdus, ei bod "of no account;"
' ar ol rhoddi mwy na mwy o deithio ac o boen a thra-
i'r truan oedd wedi ei chael, i geisio yr arian am dani,
gan y talwyr penodedig. Y mae llawer iawn o bethau
wedi cael eu gwneud, gan y ddwy ochr, yn ystod mis-
eithion y rhyfel ofnadwy presenol. Pan y mae llywod-
wr gyfoethog ac enwog yn ymlithro i dir bawaidd yr
awnderau a'r gormes a grybwyllwyd, y mae yn gosod
ar lithrigfa ofnadwy, ac nid hawdd dirnad pa mor isel
chwymp.

Y mae y gwrthryfel presenol, a'r rhyfel poethwyllt a gyn-
d er ei ddarostwng, wedi llwyr ddyrysu llaweroedd o
n uchaf y wladwriaeth mewn anghysonderau gwarad-
s ac anghymodadwy. Enwaf *rai* o'u hanghysonderau:
*gyntaf*, Haerant fod Llywodraeth yr Unol Dalaethau,
dian ei sylfaenwyr, wedi cael ei dwyn yn mlaen yn y
edrusaf ac anrhydeddusaf, yn y dull mwyaf teg a
ianus; a bod ei threfn, a'i nerth, a'i chodiad, a'i

[redacted]



*Yn ail*, Pan mewn hwyl i ganmol, haner ddwyfolant Gyfansoddiad Llywodraeth yr Unol Dalaethau. Dywedant fod y tadau dan ddylanwad Ysprydoliaeth anffaeledig wrth ei eirio a'i selio ; ei fod yn safon perffeithrwydd, nad oes ond bradwyr anonest ac ynfyd yn meddwl nac yn son byth am ei newid, a'i fod i sefyll fel y mae yn oes oesoedd. Dadleuant yn ymyl hyny, pan y byddant mewn hwyl arall, a'u golwg ar amcan arall, fod "DEDDF UWCH" yn bod na deddf y Constitution ; a bod deddf y Cyfansoddiad i gael ei phlygu, a'i newid, a'i gosod o'r neilldu, o flaen purdeb, ac uniondeb, ac awdurdod y "*ddeddf uwch*" hono. Nid oes genyf ddim yn erbyn iddynt ddadlu fod pob cyfansoddiad *dynol* i gael ei farnu wrth egwyddorion y "ddeddf *uwch*," ac i gael ei "newid" drwy farn bwyllog yn wyneb helaethach profiad a goleuni, i fwyfwy o gydffurfiad â'r ddeddf fawr hono ; ond ni ddylent pan newydd ddadlu yn dda am newid a gwella y Cyfansoddiad, ymffrostio ei fod yn berffaith, nad oes yr un iod nac yr un tipyn o hono i gael ei newid, eu bod am gadw ato fel y mae, ac mai hwy ydynt yr unig bobl ag sydd yn ffyddlawn iddo.

*Yn drydydd*, Rhesymant weithiau mai unig amcan y rhyfel ydoedd cadw at Gyfansoddiad yr Undeb, a darostwng a chospi y rhai oeddynt am ei rwygo, ac nad oedd dim a fynai y rhyfel â rhyddhad y caethion, neu â "Domestic Institution" Talaethau *annibynol* y De. Rhesymant yn ymyl hyny, mai dilead trefn orthrymus caethiwed ydyw *gwir* amcan y rhyfel, ac nad oedd dim arall a allai ei gyfiawnhau.

*Yn bedwerydd*, Cydnabyddant ambell dro mai unig droseddi y gwrthryfelwyr oedd rhwygo yr Undeb ; mai eu hunig amcan a'u holl ddymuniad oedd cael rhyddid i encilio, a chael eu cydnabod fel Llywodraeth annibynol ; nad oeddynt yn ymgais am ddim, nac yn ymgynyg at ddim ond hyny ; ac mai rhyfel *disgyblaethol* ydyw y rhyfel presenol er cadw plant ystyfnig ac afradlon dan ddisgyblaeth yr iau ; ond cyhoeddir yn union ar ol hyny, mai rhyfel *amddiffynol* ydyw er amddiffyn tiroedd a a dinasoedd y rhydd-dalaethau rhag cael eu hanrheithio. Dy-

nedd. Y mae'r dyn a ddywedo gelwydd ar "dad y
" yn profi ei fod yn perthyn iddo.

tmed, Pregethwyd yn hir, ac yn ddoniol, ac yn selog
eroedd o wŷr doethaf a blaenaf y rhydd-dalaethau nad
n gwell i'w wneud na diarddel y *caeth*-dalaethau, a'u
s y drws, a'u tori ymaith fel aelodau pwdr ag oedd yn
c yn llygru y Cyfansoddiad, ac yn peryglu bywyd yr
ff; ond pan aeth gwyr beilchion ac afradlon y De i
i eu bod am fyned dros y drws, a'u bod am gael llon-
dw tŷ iddynt eu hunain, cyhoeddwyd yn uniongyrchol
' yn deyrnfradwriaeth haeddol o farwolaeth; a chy-
d hyny hefyd gan y dynion, y *very* dynion uchel ac
ag oeddynt wedi hir ddadlu am eu diarddel a'u tori
Ar ol i laweroedd o enwogion y rhydd-dalaethau gy-
r byd drachefn a thrachefn fod Talaethau y De yn
iynt, yn uychdod iddynt, yn golled iddynt, yn drum-
iddynt, ac yn warth iddynt; eto pan gododd y De i
n, ymgynddeiriogwyd ar unwaith, mewn yspryd dial-
sfruddiog, i'w cospi fel teyrnfradwyr. Yr oedd yr un
geth ag oedd yn ddoethineb, ac yn wladgarwch, ac
garwch yn y Gogledd, yn wrthryfel, ac yn derfysg, ac
rriaeth yn y De.

gynddaredd rhyfel. Yr oeddynt yn dal gyda Franklin, "Na bu erioed ryfel da, na heddwch drwg." Yr oeddynt yn dal mai hen grefft y gormeswr uchelfrydig ydyw rhyfel, mai crefft y cryf, a'r cyfrwys, a'r crib-ddeilgar ydyw i orthrymu ac anrheithio y gwan; mai crefft y dialydd balch, phariseaidd ac erlidgar ydyw, a'i bod yn hollol groes i holl egwyddorion Cristionogaeth. Yr oeddynt yn dweyd gyda Horace Greeley:—

"The humane, reflecting reader of man's history is sickened by the constantly recurring details of battles and butchery—by accounts of the happiness sacrificed, the privations endured, by by thousands after thousands in gathering from remote corners of the earth to maim and slaughter each other.

Mere depravity, however great, is not enough to account for this. No devils could be found silly enough thus to torment themselves first, then one another. Sheer madness is the very least explanation that is adequate.

Looking closely and steadily at the matter, we detect the cause of this horrible jangle, or at least a sure clue to it. War ravages nations, afflicts and destroys people, but strengthens governments, exalts rulers and enables them to enrich their favorites with the spoil of plundered millions.

The lodging of the commissary or contractor is rapidly transformed into a baronial castle; his suddenly-acquired estate is fattened with the gore of countless soldiers, the tears of innumerable widows and orphans; and while thousands are shivering and freezing for want of the humble dwellings which war has destroyed, his family rest secure in lordly halls and revel in luxury.

Burke, we believe, said of this class that by means of war 'their equipages shine like meteors; their palaces rise like exhaltations.' Well can they afford to prate of patriotism, 'right or wrong,' and bribe venal orators with some share of their plunder to inflame the passions of the duped multitudes, and fool them into enlisting to be shot at for some beggarly shilling or so a day, and that often unpaid.

Will the mass never become wise enough to detect and scout this swindling game of murder?

Suppose a government to be weak or profligate—a cause by no means unsupposable—and, therefore, in danger of incurring popular odium or contempt. It desires to be strong in the public confidence, but without the virtue or capacity to deserve that confidence. It has one unfailing resort—to pick a quarrel with some other government. That at once withdraws public attention from its own crimes or vices; gives it a hold on the popular feelings; enables its satellites to call upon the people to 'support the country'—that is to rally around and uphold the executive in whatever he may propose.

All inquiry is stopped—all watchfulness set aside—appropriations are made by millions, and the purse and sword put unreservedly into the hands of the chief magistrate to be wielded at his pleasure—the latter against his enemies, the former in behalf of his friends.

All who question the policy or the justice of his course are at once denounced as traitors and enemies of the country.

Thus thousands are bribed by office and gold to cry up the war; all murmurs are stifled as treasonable; and, when at last disaster or utter exhaustion of resources compels a return to peace, a countless host of pensioners, cripples, place-men, and fund-holders are provided to eat up the avails of honest labor for fifty or a hundred years to come.

The poor man's children must go to rest hungry and grow up in ignorance, in order that the favorites of rulers may glitter in 'orders' and stars, and riot on the spoils of a people. Such is war.

Such is a small portion of the cost of the infamous cheat styled glory."

Dyma oedd barn Horace Greeley am ryfel tua deunaw mlynedd yn ol, pan oedd yr Unol Dalaethau yn ymwylltio i ryfel â Mexico; dyna oedd ei farn am ryfel pan yr oedd ei ben yn oleuach, a phan yr oedd ei galon yn onestach, nag yd-

[redacted]



ynt yn awr yn nghanol terfysgoedd y rhyfel presenol; a diau na ddywedodd erioed er pan anwyd ef, fwy o synwyr ac o wir, mewn cyn lleied o gylch, nag a ddywedodd y pryd hyny am ddrygau rhyfel: a dyna oedd barn ugeiniau a chanoedd o filoedd heblaw ef yn y dyddiau hyny o floeddio i'r gâd, ac am ddyddiau lawer ar ol hyny. Ond ar ddechreuad y terfysg a'r rhwygiad presenol, pan dybiasant fod gobaith rhan o'u helw yn myned ymaith, newidiodd eu hyspryd a'u hymadrodd, ymchwyddodd eu hen ddyn nes yr ymddrylliodd, fflamiodd eu phariseaeth, meddianwyd eu holl enaid gan gynddaredd ympryd rhyfel; daeth rhyfel i'w credo ac i'w crefydd, daeth i'w gweddi ac i'w cân, daeth i'w haraeth ac i'w pregeth, daeth i'w llythyrau ac i'w llyfrau, daeth i'w barddoniaeth ac i'w cerddoriaeth; daeth ar unwaith yn ddalen fawr o arfaethau y nefoedd, yn olwyn fawr o beiriant rhagluniaeth, yn gangen fawr o weinidogaeth yr efengyl; daeth yn un o brif ordinhadau Cristionogaeth, yn un o rwymedigaethau blaenaf saint y Goruchaf, yn goron proffes canlynwyr yr Oen; ac yn un o egwyddorion sylfaenol teyrnasiad Tywysog Tangnefedd; a phan feiddiai ambell un ddwyn i'w cof eu hymresymiadau blaenorol o blaid pwyll, a barn, a rheswm, a chyflafareddiad yn lle ymhyllu ac ymgynddeiriogi i wisgo y cleddyf, dyma hwy ar unwaith yn gwylltio, ac yn crynu gan gynwrf, ac yn ymfdireiddio i weiddi allan—"Dos ymaith ar hyn o amser, a phan gaffwyf fi amser cyfaddas, mi a alwaf am danat."

*Yn seithfed*, Dadleuant fod enciliad Talaethau y De yn drosedd o gyfraith fawr yr efengyl, yr hon sydd yn rhwymo pob enaid i "Ymddarostwng i'r awdurdodau goruchel," am mai gan Dduw y maent wedi eu hordeinio: ond y mae yr un dadleuwyr yn cyfiawnhau gwaith y tadau yn codi yn erbyn yr "Awdurdodau goruchel," ac yn encilio yn amser Washington. Dywedant fod yr enciliad gynt yn wladgarwch, ond fod yr enciliad presenol yn wrthryfel. Cofier nad wyf fi ddim am wneud enciliad y tadau yn wrthryfel, ond y mae y dadleuwyr ydynt yn nyddu ac yn gŵyr-droi cyfraith yr efengyl i gondemnio pob

*nawfed*, Dadleuant yn oleu ac yn enwog fod pob dyn
add ; a bod y *Negro* yn ddyn ; ac felly fod hawl gan-
d yn gyd-ddinasydd â'r dyn *gwyn* ; ond yr oeddynt ar
ryd yn ei ddifreinio, ac yn cynllunio i'w alltudio o'r

*ldegfed*, Condemnient anwareidd-dra ac annhegwch
De am geisio mygu pob rhydd-resymiad gyda golwg
: *caethwasanaeth* ; ond ceisient fygu eu hunain ar yr un
b rhydd-resymiad ar bwnc yr *encilio*.

*nfed-ar-ddeg*, Sonient byth-byth a hefyd, am y cym-
i lliosog a drudfawr oeddid wedi wneud i Dalaethau y
d ni soniant am y cymwynasau oeddid wedi dderbyn
h Dalaethau y De, pan yr ydys wedi derbyn llawer
i diroedd ac yn drethoedd, ac yn gyfnerthoedd mewn

*deuddegfed*, Ymffrostient gynt fod pob Talaeth yn
*onwealth* Annibynol," ac mai annibyniaeth pob 'Tal-
oedd sylfaen a chonglfaen Cyfansoddiad yr Unol Dal-
Dadleuant yn awr nad yw Talaeth ddim ond rhaniad
lwriaeth yn yr un ystyr yn hollol ag ydyw sir yn rhan-
'alaeth.

*rydydd-ar-ddeg*, Dadleuent yn dyn ac yn boeth drwy'r

yment bryd arall yn hyf ac yn gryf iawn, ar naill annibyniaeth y gwahanol Dalaethau, nad oedd gan y Gydgynghorfa ddim mwy i'w wneud gyda golwg ar ryddhad caethion y *De* nag oedd ganddynt i'w wneud gyda golwg ar ryddhad y *Serfs* yn Rwssia, neu ryddhad y caethion yn y ddwy India.

*Yn bedwerydd ar-ddeg*, Cyhoeddwyd ar y dechreu yn iaith a llais ymffrost fod y gwrthryfel wedi asio Talaethau y Gogledd, a'u gwneud "oll yn un," yn un galon, ac yn un blaid, fod y gwrthryfel wedi eu gwasgu oll i rwymyn yr Undeb anwylaf, dan gwlwm y cydymdeimlad cynhesaf, a'r cydweithrediad ffyddlonaf; ond cyhoeddwyd wedi hyny yn yr iaith gryfaf fod Talaethau y Gogledd yn llawn o ben bwy gilydd o fradwyr ac o haner-bradwyr; ac addefir yn awr na bu erioed boethach croes-ymdynu rhwng gwahanol bleidiau nag sydd yno yn bresenol; a bod y croes-bleidiau mor ddigofus wrth eu gilydd ag ydynt at bobl y De. Yr wyf yn credu hyny, ac yn credu hefyd, pe medrent ymddadblethu o'u cysylltiadau lliosog â'u gilydd, ac ymddidoli i gymeryd eu lle bob ochr i ryw linell derfyn, yr enynid *rhyfel* cynddeiriog rhyngddynt ar unwaith o'r naill ben i'r llall o linell eu terfyn.

Y mae yr holl boen pryderus a gymerwyd i geisio amddiffyn a chyfiawnhau y rhyfel arswydus presenol wedi llwyr ddyrysu dynion da synwyrol a gwladgarol mewn anghysonderau gwaradwyddus. Nid fy amcan yn awr ydyw amlygu pa un o'u croes-esboniadau ar wahanol bethau ydwyf yn ystyried y cywiraf; ond yn unig crybwyll fod ganddynt esboniadau hollol groes i'w gilydd, ar bron bob pwnc perthynol i'r gwrthryfel. Peth cyfleus iawn i ambell resymydd ydyw fod ganddo *ddau* esboniad ar bob pwnc a drinia, fel y gallo ddefnyddio yr esboniad a ddewiso yn ol yr amgylchiad. Y mae dynion mawrion a doethion weithiau yn ymddyrysu mewn anghysonderau anghymodadwy wrth ymwylltio i gyfiawnhau yspryd anefengylaidd, ac ymgyndynu ac ymgreuloni i gyflawni cynlluniau o drais ac o ddialgarwch.

Dichon y dywedir ac y dadleuir nad ydyw o ddim *lles* i ad-

trymaon, cynhoeddus, o natur i ddyrysu cymdeithas, ac i
o y wlad; anghysonderau yn codi o ragfarnau a nwydau
nasant ddrygau ofnadwy, nid yn unig i'r Unol Dalaethau,
holl wledydd y byd: ac ni waeth heb son am i hanes-
eth fod yn llawn, ac yn deg, ac yn addysgiadol, os cauir
i fel hyn allan o'i dalenau. Ond nid ellir gwneud hyny;
nt wedi cael eu hysgrifenu yno yn barod, ac nid ellir
eu croesi allan. Bydd côf a choffa am danynt trwy
m y gwrthryfel. Y maent hefyd wedi cael eu cofnodi
lenau Llyfr mawr Llŷs uwch na holl lysoedd y ddaear;
lir yn eu darllen yn nydd y cyfrif, pan y bernir pawb yn
wir egwyddorion, ac y telir i bawb yn ol eu gweithred-

Y mae y rhyfel wedi enyn cenfigen lidiog rhwng llaw-
o brif ddynion y wladwriaeth; ac wedi ffyrnigo yr hen
en lle yr oedd o'r blaen yn cael ei mynwesu. Nis gwn
pa fodd y mae wedi bod yn llysoedd, a gwersylloedd, a
oedd ac eglwysi tir y gwrthryfel, i lawr yn y De; ond
f yn gwybod fod dynion enwog yn y Gydgynghorfa yn
ington, a chad-flaenoriaid dewrion yn myddinoedd yr
, a deddfwyr, ac ynadon, a chyfreithwyr enwog yn y
nol Dalaethau, a marsiandwyr enwog yn mhrif-leoedd
ch, a chrefyddwyr selog yn y gwahanol eglwysi, wedi

a buasai y genfigen yn fwy llidiog ac yn fwy llofruddiog nag ydyw oni buasai fod maes y filwriaeth mor eang, a bod gwahanol adranau y fyddin fawr mor bell o gyrhaedd eu gilydd. Y mae y gwrthryfel a'r rhyfel wedi enyn rhwng personau a phleidiau o urddas a dylanwad yn uchel-leoedd y wladwriaeth, fflamau o lid ag y bydd yn anhawdd eu diffoddi am lawer o flynyddoedd, os nid am lawer o genedlaethau ; llid a digofaint ag a fyddant yn sicr o gynyrchu drygau aneirif yn yr amser a ddaw, os na ddaw rhyw yspryd llawer gwell i lywodraethu y wlad nag sydd yn awr yn ymweithio trwyddi.

11. Y mae y gwrthryfel wedi cynhyrfu bron yn mhob cylch drwy'r holl wlad yspryd hyf byrbwyll i *feio* a chondemnio pob swyddwr ag sydd yn *methu* cyflawni y cynlluniau a ymddiriedwyd iddo ; neu yn methu ateb y disgwyliadau gyda golwg ar ei wasanaeth, pan dichon y bydd wedi gwneud ei oreu yn yr achos, wedi cysegru ei holl ddawn a'i holl nerth at ei waith ; a phan y bydd yn barod i aberthu cymaint er lles ei wlad a'r rhai sydd yn ymfawrygu ac yn ymwylltio i'w feio. Nid oes yr un cad-flaenor yn awr ar y maes na chafodd ei feio, a'i feio yn gâs waradwyddus. Y mae lle i ofni fod yr holl feio a'r holl *ddiswyddo* fu yn myddin yr Undeb wedi effeithio er niwed iddi, er gwanychu ei heffeithiolaeth, ac anurhefnu ei disgyblaeth, a chymylu ei gogoniant, a bylchu ei choron ; ac er lleihau poblogrwydd a deniadau yr amcan mawr oedd i'r filwriaeth ; a phe buasai rhai yn medru cael eu ffordd buasai llawer mwy wedi cael eu diswyddo nag a ddiswyddwyd. Clywais areithwyr selog, ac areith-*wragedd*, neu yn hytrach areith-*lancesau* selog hefyd, yn hyf-gyhoeddi fod yn mhell dros haner uchel-swyddwyr y fyddin yn *fradwyr*, ac yr oedd eu condemniadau haerllug yn cael eu derbyn gyda gwresog gymeradwyaeth gan y rhai oeddynt yn eu gwrando ; ond prin yr oeddynt hwy na'u gwrandawyr yn ystyried eu bod mewn effaith yn condemnio ar yr un pryd holl weinyddwyr y Llywodraeth, a holl awdurdodau y fyddin, pan yr oeddynt yn poethwyllt [illegible] fel bradwyr [illegible] ag oeddynt y pryd hyny yn [illegible]

naiu cynog uchel ar yr un pryd i'r bradwyr *cartrefol.*
'yn meddwl fod y beio gwyllt, tanbaid a diarbed sydd
id ar laweroedd o brif-gapteniaid y fyddin am fethu
yn eu hamcanion fel yr oeddid yn disgwyl, wedi bod
th ac yn wendid i achos yr Undeb. Rhaid fod cryn
yr *enw* o fod yn *General*, a chael pluen general, a
'f general, a staff general, ac yn enwedig ar gael *cyflog*
, a gobeithion general; onide buasai byddinoedd yr
heddyw heb yr un general; buasai y cad-flaenoriaid oll
i adref mewn gwrthwyneb, oblegyd cael eu trin mor
r ol gwneud eu goreu yn ngwasanaeth eu gwlad.
yf am barchu bonedd y rhyw *fenywaidd;* yr wyf am
iafiad a'u dedwyddwch, yr wyf am iddynt gael pob cyf-
i goethi eu chwaeth ac i loywi eu doniau; ond yr wyf
lwl y dylai y *llances* hyf, uchel-dymer, a ddringa i ar-
feio maes-lywyddion am na baent yn fwy brwdfrydig a
fynol i saethu ac i grogi y *rebels*, gael gwisgo dillad
ld am dani, a chael ei gwneud y *Brigadier General*,
on i faes y rhyfel, i saethu, a thrywanu, a chrogi nes
ei gwladgarwch seraphaidd, a'i gwneud yn hollol wrth
. Ac os syrthiai yn "ogoneddus," ar ben ei rhes, wrth
y "*bayonet charge*" yn erbyn y gelynion, cesglid hi yn
ddus "at ei phobl," a chynhyrfid awenau rhyfel i ym-

[redacted]



ngwres y dydd; rhai drwy oerder y nos yn y gwersyll lleidiog a digysgod; rhai drwy heintiau a chlefydau rhyfel; rhai drwy newyn a noethni achosedig gan drais a difrod y rhyfel; rhai o dor-calon ar ol eu ceraint hoff a laddesid yn y rhyfel; rhai o hiraeth ar ol eu hanwyliaid a lusgasid i'r rhyfel yn groes i'w hanian a'u hegwyddor; rhai o bryder ac o ddychryn yn nghanol trwst y rhyfel; rhai o ormodrhusedd ac anghymedroldeb a gloddest achlysurol bywyd rhyfelwr; rhai drwy gortynau, neu ddrylliau, neu fflamau dienyddwyr y llysoedd milwraidd. Mewn gair, nid ellir byth gyfrif nifer, na dirnad gwerth y *bywydau* a dywalltwyd i'r ddaear fel dwfr er dechreuad y rhyfel. Byddai yn rhyfyg i geisio cyfrif y golled i wlad fawr ëang, ar ei thyfiant, fel America, ydoedd dinystr y fath niferoedd digyfrif o'i phobl ieuainc yn nechreuad eu cryfder a'u gweithgarwch. O'r holl bethau gwerthfawr a ddifawyd gan y rhyfel, y peth gwerthfawrocaf o'r cyfan ydoedd BYWYD DYN. Buaswn yn cynyg at roddi cyfrif o nifer lladdedigion y rhyfel, ond ni cheir gwybod y cyfrif hyny hyd amser y cyfrif mawr yn y dydd diweddaf.

13. Y mae y rhyfel wedi achosi profedigaethau chwerwon ac enbydus i wledydd eraill. Y mae wedi arafu ac atal olwynion gweithfaoedd mawrion yn rhai o honynt. Y mae wedi dyrysu a cholledu masnach llawer o honynt. Y mae wedi cynhyrfu dadleuon, a chynenau, ac ymraniadau yn mysg eu deiliaid, trwy fod llaweroedd yn barnu y buasai yn well gadael i'r De encilio mewn heddwch, gan fod eu bryd ar hyny, er cael cynyg eu doniau fel gallu annibynol; y buasai gadael iddynt fyned yn llawer gwell ar les tangnefedd y byd, ac yn enwedig ar les cyfandir mawr cyfoethog America; ac y buasai yn llawer hawddach siarad a Thalaethau y De fel rhai dan eu beichiau a'u cyfrifoldeb eu hunain, nag fel rhai dan aden yr Unol Dalaethau, ac yn nghyraedd agoriadau y trysorlys: tra yr oedd eraill yn dadlu y dylasent gael eu plygu a'u darostwng a'u cadw i lawr, a'u rhwymo yn dyn dan yr iau. Y mae hefyd wedi achosi anhawsderau mawrion a dyrus i rai *llywodraethau*

gwlad sefyll ar dir *canolog* heb ymyryd yn y ddadl. Yr oedd yn hawdd ymyryd, yn rhyw ddull neu gilydd, bron yn ddifeddwl ac yn gwbl ddifwriad. Buwyd fwy nag unwaith bron enyn gwreichion o ludw yr hen ryfeloedd fu rhwng llys Washington a llys Lloegr; a phe buasai tanau yr hen genfigenau a'r dialgarwch hyny wedi cael eu had-enyn rhyngddynt, buasai teyrnasoedd eraill Europe yn sicr o gael eu rhwydo a'u llusgo i'r [illegible] yr oddaith ofnadwy, a buasai y byd oll bron cael ei andwyo. Y mae rhyfel cartrefol America yn barod bron wedi dwyn cynhennau rhwng rhai o brif alluoedd y byd trwy fod rhai yn gogwyddo at gydnabod annibyniaeth y De, ac eraill yn gogwyddo yn erbyn hyny. Y mae gan America achos i ymostwng a galaru nid yn unig am y farn drom a dynodd arni ei hun, ond am y profedigaethau chwerwon a achosodd i wledydd eraill.

Yr wyf yn awr wedi rhoddi golwg mor lawn ac mor gryno ag y medraf, yn y cylch sydd genyf, ar yr effeithiau a *gafodd* y gwrthryfel yn yr amser a *aeth heibio*: rhaid troi bellach at ran anoddach o'r testyn, sef yr effeithiau a *ga* yn yr amser a ddaw. Nid wyf yn meddu dawn yr *hen* broffwydi i ddatguddio pethau cûdd yr amserau pell, ac nid wyf yn meddu [illegible]yng dwfn a gallnoedd treiddiol proffwydi *newyddion* y dyddiau diweddaf hyn i fedru cymwyso *ffigwrau* yr hen broffwydoliaethau at "Armagedon" y gwrthryfel gwaedlyd presenol. Yr wyf yn ofni na ddaw yr un o'r hen broffwydi i lawr o uchelfa ei wynfyd i egluro i ni y pwnc. Buasai yn well genyf gael un o'r hen rai na *dwsin* o'r rhai newyddion; ond os bydd i un o'r rhai *newyddion* ymostwng ac ymroi i ysgrifenu ar y pwnc, bydd raid i mi roddi y goreu iddo. Nid oes genyf fi ond ceisio rhesymu oddiwrth y berthynas sydd rhwng *achosion* a'u *heffeithiau*, a thynu fy nghasgliadau mor deg ag y medrwyf. Y mae yn hen reol i adnabod y pren wrth ei ffrwyth; ac wedi cael sicrwydd boddhaol am lawer tymor beth *yw* y pren, y mae yn hawdd rhagddywedyd beth *fydd* y ffrwyth. Nid ellir disgwyl i'r pren a ddygodd ffrwythau drwg am gan'

tymor yn ddilynol, ddwyn ffrwythau da y tro nesaf. "Nid oddiar ddrain y casglant ffigys, nac oddiar berth yr heliant rawnwin." "Pob pren da sydd yn dwyn ffrwythau da; ond y pren drwg sydd yn dwyn ffrwythau drwg." "Naill ai gwnewch y pren yn dda, a'i ffrwyth yn dda, ai gwnewch y y pren yn ddrwg, a'i ffrwyth yn ddrwg." "A ydyw y ffynon o'r un llygad yn rhoi dwfr melus a chwerw?" "Nid yw yr un ffynon byth yn rhoddi dwfr hallt a chroyw." Gan hyny yn ol natur pren y gwrthryfel a'r ymladd presenol y mae i ni gasglu beth fydd ei ffrwythau yn yr amser a ddaw. Y mae dau ofyniad yn cael eu gofyn i ni yn y testyn: Pa effaith a gâ y gwrthryfel ar y *wlad hon*; a pha effaith a gâ ar *wledydd eraill?*

Yn gyntaf, Pa effaith a gâ ar y *wlad hon?* Yr wyf yn ofni yn fawr y gâd y wlad yn ddolurus am lawer o oesoedd, oblegyd y mae wedi cael ei hysigo yn ofnadwy. Y mae wedi cael y *Convulsions* mwyaf arteithiol, a rhaid eu bod wedi nychu ei chyfansoddiad. Y mae wedi cael ei harcholli bron hyd at ei bywyd, ac yr wyf yn ofni y bydd i'w harchollion redeg liw nos a lliw dydd am lawer o oesau. Archollion a gwarth a gafodd, ac nid buan y caiff y cywilydd ei ddileu. *Os* gellir gwella y clwyfau, erys y creithiau. Gád y gwrthryfel y wlad dan *feichiau* arswydus, ac nid hawdd fydd iddi ganlyn ei chymydogesau ar yrfa llwyddiant a defnyddioldeb a llawenydd. Bydd yn anhawdd iddi eu canlyn ar y tylau, nac hyd yn nod ar y gwastadedd, pan yn gwargrymu ac yn crynu dan lethiant eu beichiau. Gâd y wlad dan *anfri* yn mysg ei holl gymydogion oblegyd y terfysgoedd a'r ymladdiadau cynddeiriog fu yn mysg ei phlant, oblegyd fod ei theulu ei hun wedi ymwylltio i rwygo eu gilydd, ac i ddryllio y dodrefn drutaf a harddaf oedd ganddi yn ystafelloedd goreu ei thrigfan. Gâd y wlad yn llawer llai ei dylanwad yn mysg gwledydd eraill y byd; oblegyd ni dderbynir cyngorion heddwch o enau y rhyfelgar; ni dderbynir pregeth pwyll o enau y byrbwyll. Y cyngor goreu fedr y cyfryw roddi fydd cyffes deimladwy o'i heuogrwydd ac o'i hedifeirwch. Er

yr Unol Dalaethau yn ymdaith ymlaen mewn harddwch gaidd ar yrfa uniondeb ac addfwynder, gan gyd-ymanog d a gweithredoedd da, buasai eu heddwch fel yr afon, cyfiawnder fel tónau y môr. Buasai y byd oll yn sefyll ar a ei droed i syllu arnynt yn ymdaith yn amlder eu grym, prydferth, mor gyflym, ac mor ddedwydd. Pe buasai yr Dalaethau yn llefaru mewn cariad ac mewn cyfiawnder i gilydd ac am eu cymydogion, buasai holl wledydd y r yn myned gosteg i wrando ar eu lleferydd. Pan lefar-Ephraim, yn nyddiau ei rinwedd, yr oedd dychryn drwy meddyliau llygredd; yr oedd yr uniawn yn llawenychu, a anwiredd yn cau ei safn; ond pan bechodd gyda Baal, y w. Y mae lle i ofni fod yr Unol Dalaethau wedi pechu Baal; ie, gyda Baaliaid llawer ffieiddiach na Baaliaid m Ephraim: Baal *balchder*, yn meddwl nad oes neb i NI ar yr holl ddaear; ein bod NI yn gallach na phawb; allwn NI guro pawb; ac na bu neb tebyg i NI er dech-y byd. Baal *bydolrwydd* am gael holl agoriadau y trys-trysorau masnach a chelfyddyd, y llong a'r cerbyd, y a'r mwnglawdd, i ni ein hunain; neu o leiaf cael y pen i'r ffon yn ein llaw yn mhob cytundeb, ac ar bob am-ad. Baal Phariseaeth yn edrych yn uchel, ac yn dweyd ei gymydog, "Saf ar dy ben dy hun, na nesâ ataf fi, sancteiddiach ydwyf fi na thi; y rhai hyn, medd Duw, mwg yn fy ffroenau, tân yn llosgi ar hyd y dydd;" a'r d yma oedd yn "murmur" pan oedd IESU yn eistedd i gyda phublicanod a phechaduriaid; er agor eu tai a'u m i dderbyn iechydwriaeth. Baal "*cynen tafodau.*" ai yn fuddiol i wlad, ac yn enwedig i flaenoriaid ac ath-a rhieni gwlad, ystyried yr hyn y mae Llyfr Ysprydol-yn ddweyd am "dywysogion yn syrthio gan y cleddyf yd cynddaredd eu tafod;" am guddio y cyfiawn rhag ll tafod, am anwiredd yn y tafod, am dafod yn lladd fel gwiber, am dafod yn traethu twyll, am enau yn llawn th a dichell, am gamwedd ac anwiredd dan y tafod, am

[redacted]



dafod yn dywedyd mawrhydri, am dafod yn cyd-blethu dichell, am gadw ein ffyrdd rhag pechu â'r tafod, am ddynion a'u danedd yn waywffyn, a'u tafod yn gleddyf llym; am hogi y tafod i ladd; am golymu y tafod er iddo gyraedd y galon, am anelu saethau gwenwynig y tafod er iddynt fod yn sicr o'u nôd; ac am y tafod, er mai aelod bychan yw, yn ffrostio pethau mawrion. Er gwaethed oedd y tafod yn amser Iago, y mae wedi gwaethygu llawer ar ol hyny. Bu llawer iawn o "gynau tafodau" drwy yr Unol Dalaethau yn flaenorol i doriad allan y gwrthryfel. Hawdd iawn ydyw hogi a golymu ac anelu y *tafod* pan y mae y *galon* yn llawn cenfigen, a phan y mae ei bryd ar ddrwg; ac y mae y tafod, pan yn ngwres ei gynddaredd yn anhawdd ei ddofi; drwg aflywodraethus ydyw; byd o anghyfiawnder; gesyd droell naturiaeth yn fflam, wedi ei wneuthur yn fflam gan uffern. Bu llaweroedd o ddynion mawrion America am flynyddoedd meithion yn hogi ac yn golymu eu tafodau ac yn eu hanelu at eu gilydd o dyrau uchaf eu llysoedd a'u cyssegroedd; ac nid rhyfedd oedd iddynt yn y diwedd osod troell naturiaeth yn fflam, yn fflam gan uffern. Os byddir am gadw heddwch mewn gwlad, y mae o'r pwys mwyaf i ffrwyno y tafod. Y mae Baal *anffyddiaeth* hefyd wedi bod yn hŷf ei galon, ac yn uchel ei wyneb yn America. Ceir tyrfaoedd dirif o'r preswylwyr yn ddigon rhyfygus i osod nid yn unig eu calon ond eu genau yn erbyn y nefoedd, gan ddywedyd, "Pa fodd y gŵyr Duw? A oes gwybodaeth gan y Goruchaf? A farna efe trwy y cwmwl tywyll?" Cymer llaweroedd yn y dyddiau hyn, fel yn nyddiau Job, y dympan a'r delyn, llawenychant wrth lais yr organ; ond ynghanol eu llawenydd a'u llwyddiant, dywedant wrth Dduw, "Cilia oddiwrthym, canys nid ydym yn chwenych gwybod dy ffyrdd. Pa beth ydyw yr Hollalluog fel y gwasanaethem ef? a pha fudd fydd i ni os gweddiwn arno?" Eu geiriau fel yn amser Malachi, a yngryfhânt yn erbyn yr Arglwydd, a dywedant, "Oferedd yw gwasanaethu Duw; a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef?" A galwant y beilchion yn wynfydedig; a haerant mai

weithredwyr drygioni a adeiladwyd; ac mai y rhai a demtiant daw a waredwyd. Os cydnabyddwn fod America wedi ddu gyda Baal yn y pethau a nodwyd, rhaid i ni addef hefyd, credwn athrawiaethau y Beibl, ei bod wedi iselu ei chymer-d, wedi drygu ei dylanwad, wedi nychu ei nerth, ac wedi cy-yllu ei gogoniant. Pan lefarai yn nyddiau ei heddwch a'i llawredd, yr oedd yn dylanwadu yn llydan iawn er daioni; ond an bechodd gyda Baal, bu farw. Collodd lawer iawn o'r dy-lanwad oedd ganddi er lleshâu y byd.

Ac heblaw hyny, y mae y gwrthryfel mawr wedi gwneyd y lad yn agored i lawer o brofedigaethau blinion eto yn yr am-er a ddaw. Bydd yn hawdd adenyn cynhenau a therfysgoedd to o farwor a lludw y gwrthryfel. Lliosga y genfigen rhwng liogaeth blaenoriaid a phleidiau y ddwy ochr am lawer o mhedliaethau. Chwantau balchder, a bydolrwydd, a llid, a enfigen, a dialgarwch, ac athrod, wedi hir ymddwyn a esgor-ant ar y rhyfel; a bydd y rhyfel yn dad i ddrygau aneirif. 'r wyf, gan hyny, yn rhesymu mai effaith naturiol ac union-yrchol y rhyfel ar y wlad fydd ER DRWG; oblegyd yr hyn yw gwreiddyn, felly y bydd y pren; a'r hyn yw y pren, felly y ydd ei ffrwyth.

Gofynir eto, Pa effaith a gâ y gwrthryfel ar wledydd eraill? lid oes genyf ond ateb, mai yr un effaith ag a gafodd gartref: ef trymhau a lliosogi eu sefydliadau milwraidd, eu byddinoedd 'u llyngesau, eu harf-dai a'u câd-ddarpariadau, eu llongau aiarnwisgedig a'u hamddiffyn-gaerau; ac fel canlyniad o hyny, liosoger y segur-swyddau, a thrymheir y trethodd, culheir a wanychir effeithiolaeth eu sefydliadau *buddiol*, a niweidir felly chos addysg a chrefydd; a chodir ategion newyddion i deyrn-siad gormes, a rhoddir maeth adnewyddol i ysbryd trais. )yma'r effeithiau *naturiol* o'r fath wrthryfel; oblegyd y mae rygau y byd mor *heintus* fel y mae y naill wlad yn sicr o'u ael oddiwrth y llall.

Yr oedd rhoddwyr y testyn am wybod hefyd, pa effaith a aiff y wrthryfel ar *ffurf-lywodraethau* y byd? Nid hawdd

[redacted]



penderfynu; ond cyn belled ag y gellir casglu, oddiwrth yr hyn a brofwyd yn barod, y mae yn debyg o effeithio yn erbyn pob *gwerin*-lywodraethau. Yr oedd penaduriaid a phendefigion Europe ac Asia yn dymuno yn hiraethus drwy'r blynyddoedd, am i drefn enwog gwerin-lywodraeth fawr yr Unol Dalaethau ddyrysu a methu. Buont unwaith yn syn edrych oddidraw arni, ac yn gwelwi ac yn crynu wrth weled ei llwyddiant; ond y maent yn awr yn dirgel lawenychu fod eu dymuniadau wedi dyfod i ben; ac nid mynych y cafodd neb erioed gystal sail i orfoleddu, ac i ffrostio wrth eu gilydd ac wrth eu deiliaid fod eu proffwydoliaethau wedi cael eu cyflawni. Ymranodd gwerin-lywodraeth fawr yr Unol Dalaethau, a gwnaeth drwst a difrod a dinystr a galanastra ofnadwy wrth ymrwygo ac ymddryllio: ac nid wyf yn meddwl fod unrhyw obaith am eu had-uno a'u had-gyfanu heb i'r "WERIN," o'r *ddwy* ochr, fagu ysbryd mwy addfwyn, a dysgu moesau mwy boneddigaidd, ac arfer iaith decach, a chesio maddeu i'w gilydd, a siglo dwylaw mewn ysbryd cystuddiedig a gwir edifeiriol.

Ond rhag i'r darllenydd feddwl fod fy holl ogwydd at yr ochr *dywyll*, a bod holl fryd fy nghalon ar ddarogan *drwg*, ac nad oes genyf ddim archwaeth at broffwydo daioni, yr wyf am hyspysu iddo fy mod yn gobeithio, ac yn gobeithio yn gryf, y daw dyddiau tawel ar ol y tymhestloedd hyn,—y daw haf cynes a dysglaer ar ol y fath auaf oer a thywyll ac ystormus; y daw llonyddwch ar ol y fath derfysgoedd, a thangnefedd ar ol y fath ryfel; y daw addfwynder a boneddigeiddrwydd i deyrnasu eto yn lle yr enllib a'r gogan; y daw y cyd-ymddwyn a'r maddeu yn lle y gynen a'r dial. Yr wyf yn gobeithio y daw yr amser i'r llongau haiarn-wisgedig a'r magnel-dyrau fyned allan o'r *fashion*, ac i waith arswydol y cleddyf a'r waywffon beidio. Yr wyf yn credu y *daw* yr amser dedwydd, yn ol yr hen broffwydoliaeth, pan y "curant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaywffyn yn bladuriau," pan "na chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac na ddysgant ryfel mwyach." Yr wyf yn gobeithio, ac yn disgwyl yn hyderus am hyn ar sail rhinweddau

yr efengyl yn llywodraethu calonau plant dynion. Pe
i mi, Drwy ba *foddion* yr wyf yn disgwyl i'r amser
[illegible] gael ei ddwyn o amgylch? Ai drwy nerth
[illegible]? Ai drwy drwst, a dillad wedi eu trybaeddu
gwaed? Yr wyf yn barnu mai *nid* drwy foddion felly,
wy foddion hollol wahanol; drwy foddion pwyll ac
ynder a chariad yr efengyl. Nid y rhyfelwr dewr-
c enwog, ond y diwygiwr addfwyn a gostyngedig, didrais
nt yw yr un a ddwg allan farn at wirionedd. Er na
gorsen ysig, ni phalla efe ac ni ddigalona, hyd oni
arn ar y ddaear.

fod llaweroedd yn barnu yr effeithia y rhyfel mawr ar-
presenol i sefydlu cyfiawnder a rhyddid nid yn unig dros
au America, ond dros holl wledydd y byd. Yr wyf yn
yn hollol wahanol iddynt. Drwy foddion llawer uwch a
h a thecach y daw cyfiawnder a rhyddid. Byddai
y daw cyfiawnder o'r fath ryfel gwaedlyd yn groes i
ll hanes rhyfeloedd y byd. Achosodd y rhan fwyaf o
lawer mwy o anghyfiawnderau na'r anghyfiawnderau
t yn amcanu symud o'r ffordd. Achosasant drymach
na'r gormes oeddynt yn broffesu milwrio yn ei erbyn.

—Ie, meddai llaweroedd, yr oedd llywodraethwyr a phobl

wyn allan i'r rhyfel mawr presenol, yn barnu eu bod yn myned i ryfela o blaid eu hiawnderau, ac o blaid dynoliaeth, a threfn, a rhyddid. Dyna oedd teimlad eu calon, dyna oedd barn eu cydwybod; ond dichon mai cydwybod dan lywodraeth nwydau calon lygredig, ac yn dilyn gwylltineb y lliaws, oedd ganddynt; ac nid cydwybod dan lywodraeth pwyll, a goleuni, ac addfwynder yr efengyl; dichon mai cydwybod dan lywodraeth hunan-gyfiawnder oedd, ac nid cydwybod, yn ei hystyried ei hun, ei bod yn agored i gael ei themtio a'i gwyro oddiar lwybr Cristionogaeth. Yr oedd llaweroedd yn ymarfogi i'r rhyfel heb unrhyw farn bwyllog, sefydlog, benderfynol drostynt eu hunain ar y pwnc, ond yn unig am fod eu cyfeillion a'u cymydogion, a'u sect eglwysig a'u plaid wladol yn selog iawn dros y rhyfel. Yr oedd eraill yn ymdaith i'r rhyfel o'u *hanfodd*, yn groes i'w calon a'u cydwybod; am fod yn *rhaid* iddynt fyned yn ol coelbren deddf y rhyfel. Yr oedd eraill yn myned i'r rhyfel o'u *bodd*, nid yn gymaint er rhyddhad a derchafiad y Negro, nac er lles eu gwlad; ond er eu henill eu hunain, er cael elw ac enw iddynt eu hunain, neu ryw elw i'w ceraint a'u teuluoedd; neu er mwyn y difyrwch o gael "gweled y rhyfel," a "gweled y byd" a'r wlad.

Yr wyf yn gwybod fod rhyfelwyr, ac yn enwedig rhyfelwyr y dyddiau diweddaf hyn, yn dŷn iawn am gael y byd i gredu mai hwy ydynt sylfaenwyr ac ategwyr cyfiawnder, mai hwy ydynt iawn bleidwyr ac amddiffynwyr rhinwedd a threfn; mai hwy ydynt noddwyr y gweiniaid, ac achubwyr y rhai gorthrymedig; ac y maent am gael y cymeriad uchel o fod yn iachawdwyr y byd; ond yr wyf am ardystio yn ddifrifol yn erbyn eu honiadau. Y maent yn eu twyllo eu hunain; bydd yn drwm iddynt fyned i'r farn dan lywodraeth y fath dwyll. Yr wyf yn *sior* y diarddelir eu gwaith gan Dywysog tangnefedd, ger bron nefoedd a daear yn y dydd diweddaf: ac os bydd yr un galon ganddynt hwy *yno* ag oedd ganddynt *yma*, yr wyf yn ofni y diarddelir hwythau hefyd; ac y cânt eu gyru ymaith o wydd y frawdle gyda "gweithredwyr anwiredd."

waith pob dyn a wneir yn amlwg, canys y dydd a'i dengys,
gyd drwy dân y datguddir ef: a'r tân a brawf waith
pa fath ydyw." Gwaith y rhyfelwr a brofir, a brofir
dân; a gwaith y rhyfelwr a "losgir;" ie ei waith "go-
ddusaf" a losgir, ac efe a gaiff golled, dygir ei "ogon-
oddiarno, teflir ei goron i'r llwch, dichon y bydd ef ei
yn gadwedig, "eto felly megys drwy dân." Dylai y rhy-
sydd yn son cymaint am gydwybod, feddwl mwy am
y "datguddio," a chofio y dangosir ac y profir ei waith
dydd hwnw. Dylai gofio y dangosir ei holl waith yn y
mwyaf, ac y profir ei holl waith wrth y rheol fanylaf.
gofio y profir ei waith drwyddo, ac y profir ef drwyddo
dân. Dylai ofni na ddeil ei waith brawf y tân hwnw;
felly, mai ofer fydd iddo geisio gwrth-ddadlu, ac ym-
ddo i ymgyfiawnhau, y bydd raid iddo fyned yn fud.
ef oreuro ei alwedigaeth "ogoneddus," ei hen alwedig-
enwog, enillfawr, er mwyn iddi ymddangos yn ddysglaer
golwg dynion; ond nid "aur" ydyw ei adeiladaeth: y
yn llawn drwyddi o sothach na ddeil dân y prawf di-
laf.

nd er fy mod yn barnu mai drwg, a drwg digymysg ydyw
wrthryfel; ac mai drwg, a drwg digymysg ydyw y rhyfel a
gyrfwyd i ddarostwng a chospi y gwrthryfel; ac er fy mod
barnu eu bod wedi codi o nwydau gwaethaf calon lygredig,
bod wedi cael eu dwyn yn mlaen gan y nwydau barbar-
l a'u cynhyrfodd, a bod eu holl anian a'u holl duedd yn
y at ddrwg, ac nad oes dim yn perthynu i *ddyn* oddiwrth-
ond euogrwydd, a gwarth, a cholled, a galar, eto yr wyf
redu y gall anfeidrol ddoethineb, a thrugaredd, a gallu,
rehreoli eu gwallgofrwydd, a'u cynddaredd, a'u creulon-
, a'u llygredigaeth; a'u troi i fod yn achlysuron o ddaioni
rlad, ac i holl wledydd y byd. Os gofynir pa fodd? Yr
yn ateb, y gall yr Arglwydd, Duw'r heddwch a'r cariad,
nthur hyn mewn llawer modd; a hyny mewn perffaith
nfeb ag egwyddorion ei lywodraeth.

[redacted]



Un ffordd i wneuthur hyny fyddai dwyn awdwyr a chynhyrfwyr y drygau i gyd-ymostwng a chyd-edifarhau. Os parha gwŷr y De, ar ol glynu mor gyndyn wrth hen gyfundrefn caethwasanaeth, i geisio bwrw yr holl fai ar wŷr y Gogledd am ymyryd â'u trefniadau cartrefol fel Talaethau annibynol ; ac os parha gwŷr y Gogledd, ar ol cyfranogi gyhyd o fudr-elw caethwasanaeth, ac ar ol cynllunio mesurau gorthrymus yn erbyn y Negroaid er eu difreinio a'u halltudio, i geisio bwrw yr holl fai ar wŷr y De, ni cheir dim cyd-ymostyngiad na chyd-edifeirwch yn nghanol y fath *hunan-ymgyfiawnhau* a'r fath gondemnio *eraill* : ac os na cheir dim cyd-ymostyngiad a chyd-edifeirwch, ni cheir dim diwygiad ; ac os na cheir diwygiad yspryd, ac iaith, ac ymddygiad yn y *ddwy* ochr, ni cheir byth gyd-weithrediad ; ac os na cheir cyd-ymostyngiad, a chyd-ddiwygiad, a chyd-weithrediad cariadlawn, ni cheir byth y fendith ag sydd yn dwyn llwyddiant a chysur. Ond yr wyf yn gobeithio y bydd i'r *ddwy* blaid edrych yn ol, ac adolygu eu ffyrdd yn nglyn diffaeth y rhyfel, ac y bydd iddynt gydnabod eu camweddau, ac ymostwng yn wir edifeiriol o'u herwydd ; ac yna daw yspryd drylliog, isel, tyner, boneddigaidd, maddeugar i'w llywodraethu yn lle cynddaredd nwydau uchel llid a dialgarwch ; a bydd yn hawdd felly i agor ffyrdd o gymod, a chofir gyda galar dwys am ffyrdd gwallgof a gwaedlyd y gwrthryfel a'r rhyfel, gan eu ffieiddio fwyfwy, ac ymgilio rhagddynt gyda'r gofal dyfalaf, ac felly bydd yr adgofion am y drygau a gyflawnwyd mewn byrbwylldra ac ynfydrwydd yn fendithiol i'r profiad ; a bydd y gwelliant yspryd hyny yn gysur i'r wlad, ac yn enill iddi yn mhob ystyr ; a thrŷ drygau anfad y rhyfel drwy hyny yn achlysur o ddaioni yn yr amser a ddaw.

Astudir hefyd hanes y gwrthryfel mawr yn America gan y plant, a chan yr wyrion, a'r gor-wyrion, a'r ysgenydd, a'r gorysgenydd hyd yn fil o genedlaethau ; a deillia lles mawr cynyddol o hyny ; a bydd rhediad eu cwynion o'r ystyr a ganlyn : "Tynwyd arnom y beichiau gorthrymus ydynt yn awr yn [illegible]

drwy ynfydrwydd ein tadau yn amser cynddaredd y
gad mawr. Yr oedd ochr *isaf* y wlad yn llawn o *Jero-
miaid* ystyfnig yn gyndyn fileinig am eu ffyrdd eu hunain:
oedd yr ochr *uchaf* i'r wlad yn llawn o Rehoboamiaid
ic, arglwyddaidd, uchelfrydig a hunan-gyfiawn, yn haerllug
th eu scorpionau er plygu y Jeroboamiaid, a'u cadw dan
rblaeth yr Iau. Yr oedd y Rehoboamiaid yn ymrwysgo
ahaus ac ymffrostgar ar ddydd eu coroniad; ac yr oedd
oboamiaid mewn gwenwyn a mondod yn benderfynol i
llysoedd a llwyni a lloi aur yn eu rhandir eu hun. Yr
y Jeroboamiaid am gael eu rhan o'r da, a chael eu goll-
i fyw fel y gwelent yn dda. Yr oedd y Rehoboamiaid am
wpioni yn ddiarbed i ymostyngiad ac ufudd-dod: ac yr
y *ddwy* blaid am y mwyaf byrbwyll a gwaedwyllt yn
hro i'w dinystr. Nid ystyrient ddeddfau y natur ddynol,
ddfau Llyfr Duw. Ni fynent wrando ar gyngor o agos
bell—o'r ddaear nac o'r nefoedd. Tyngasant i'w nerth
nain y *mynent* eu ffyrdd, a mynasant bob un ei ffordd ei
nd andwyasant eu gwlad. Gwnaethant eu calonau fel
ant. Eu dwylaw a halogwyd â gwaed, a'u bysedd â
wedd; eu gwefusau a draethent gelwydd, a'u tafodau a
ent anwiredd. Nid oedd a alwai am gyfiawnder, nac a
euai dros y gwirionedd. Ymglodforent yn eu doethineb
nian; ymffrostient yn nerth eu galluoedd; ymddiriedent
rym eu harfau; gobeithient mewn gwagedd, gan astudio
a dichell, a dywedyd celwydd wrth eu gilydd ac wrth y
beichiogasant ar flinder, ac esgorasant ar anwiredd. Ac
ywyllodd yr aur, newidiodd yr aur coeth da, a thaflwyd
y cysegr yn mhen pob heol: a gwerthfawr feibion eu
, cystal ag aur pur, a gyfrifwyd fel ystenau pridd, gwaith
w y crochenydd; a'r mamau tyner a'r gwragedd tostur-
iethant yn greulawn fel estrysiaid yr anialwch. Y rhai
orthent yn foethus a ddyfethwyd yn yr heolydd, y rhai
inwyd mewn ysgarlad a gofleidient y tomenydd. Mwy
a hanwiredd na phechod Sodoma; a'r Arglwydd a dy-

[redacted]



walltodd arnynt lidiowgrwydd ei soriant, ac a gyneuodd dân yn eu Seion, yr hwn a ddifaodd ei seiliau hi, ac a yrodd brydferthwch eu tir. Gwthiasant o'u meddwl ryfeddodau yr Arglwydd, anghofiasant gymwynasau a gwaredigaethau Duw eu Hiachawdwr, anghredasant y dystiolaeth a sicrhaodd Efe yn eu mysg, troseddasant y gyfraith a osododd efe iddynt, a buont yn anffyddlawn i gyfamod ei drugaredd, ac efe a guddiodd ei wyneb oddiwrthynt, a gadawodd iddynt fedi o ffrwyth eu gweithredoedd. Ysgrifenwyd eu hanes er addysg i ni, fel y gosodom at ein calon farnedigaethau Duw yn eu herbyn. Camweddasant yn rhyfygus ac yn ynfyd iawn. Meddyliwn am eu camweddau, ac am eu cospedigaethau gyda gwylder a pharchedig ofn; a mynegwn i'r oes a ddelo ar ol foliant yr Arglwydd, a'i nerth a'i ryfeddodau y rhai a wnaeth efe. Gosodwn ein gobaith ar Dduw, myfyriwn yn ei ddeddfau, ac nac anghofiwn ei weithredoedd; eithr cadwn ei orchymynion ef, a dysgwn hwy i'n plant, fel y gwybyddo yr oes a ddel, sef y plant a enir, a phan gyfodont y mynegont hwy i'w plant hwythau, fel y gosodont eu calon ar Dduw, ac y byddont yn ffyddlawn i'w gyfamod dros eu holl ddyddiau."

Yr wyf yn credu y bydd penod dywyll y gwrthryfel mawr yn yr Unol Dalaethau yn fwy addysgiadol ac effeithiol i'r oesau a ddaw nag un benod arall yn holl lyfr mawr hanesyddiaeth. Yr wyf yn credu hefyd yr effeithia yr hanes er addfedu *llywodraethau* prif wledydd y byd i gyd-ymgyngori er cynllunio mesurau i derfynu pob dadleuon rhwng gwahanol wledydd a gwahanol Dalaethau drwy farn a rheswm, yn lle drwy fin y cleddyf—mewn llŷs tawel o gyd-ymresymiad ac o gyflafareddiad, ac nid yn nhrwst y magnelau ar faes yr ymladdfa. Buasai mor hawdd i lywodraethau mawrion Cristionogol y byd sefydlu llŷs *cyffredinol* er terfynu eu dadleuon Talaethol a gwladol ag oedd iddynt sefydlu llysoedd *cartrefol* er terfynu dadleuon rhwng dau gymydog, neu ddau clan, rhwng dau blwyf neu ddwy arglwyddiaeth. Yr unig beth i luddias hyny oedd anewyllysgarwch *pleidwyr rhyfel* i ollwng o'u gafael eiw

ac anrhydedd a difyrwch eu hen grefft rwysgfawr a gogoneddus; ond yr wyf yn gobeithio y bydd i'r rhyfel gwaedlyd presenol ag sydd wedi bod mor ddrud ac anrheithiol i America, addfedu awdurdodau a gwerinoedd yr Unol Dalaethau, a llywodraethau a gwerinoedd eraill gwledydd cryfaf y byd gyduno i gyfansoddi a sefydlu llŷs uchel felly er terfynu eu holl ddadleuon. Yr wyf yn credu fod miloedd os nid miliynau o bobl yr Unol Dalaethau ag oeddynt dair blynedd yn ol mewn nwydau poethwylltion yn goganu yspryd a chynllun cymdeithasau heddwch, yn awr yn barod i addef mai cynllun doethineb yw eu cynllun, ac mai yspryd Cristionogaeth ydyw eu hyspryd. Yr wyf newydd weled yn un o newyddiaduron Ohio y syniadau canlynol, ac yr oeddid yn crybwyll fod miliynau lawer drwy Dalaethau y Gogledd yn eu credu o'r galon. Gobeithio fod y crybwylliad yn gywir, oblegyd pe enillid newyddiaduron America a'u darllenwyr i bleidio y fath egwyddorion, mawrheid ar unwaith y nwydau rhyfelgar sy'n cynhyrfu, ac yn gwylltio, ac yn anrheithio y wlad; a cheid blaenbrawf dedwydd o ddyddiau heddwch ar y ddaear.

"The doctrine of *peace* has become more than a mere political sentiment with a large portion of the community. They entertain it as a fundamental religious tenet, binding upon consciences, and indispensable to happiness, and as such they cling to it, regardless of political prospects and consequences. They esteem it an imperative Christian duty to vote and to labor for peace—as of all things most worthy—and no appeal to the proud passion of patriotism, neither any humiliating plea of "expediency" or "availability" will be found sufficient to swerve them from their fixed and settled purpose. It is a matter of conscience with them, and they cannot be induced, either for money or power, to compromise or barter it away. War, they believe, involves a positive violation of His holy will, and they cannot be persuaded to encourage it, either directly or indirectly, Constitutionally directed or otherwise. They regard war, *per se*, as an unmitigated calamity from which noth-

[redacted]



ing good can possibly result. They look upon its sacrifices both of men and money, as worse than in vain. They do not *desire* a Union of hate stained all over with the life blood of brethren, to be wept over by a mourning nation as a sort of mausoleum wherein are bound up the bones of fathers and sons, husbands, brothers, lovers and friends. They feel that upon such a Union God's blessing cannot rest, and they earnestly desire, as the basis of their best hopes of Union, Liberty and Happiness, a return to the ennobling Christian principle of PEACE. 'Blessed are the peace-makers,' they verily believe."

Y mae cymdeithasau heddwch wedi bod yn egluro eu cynllun yn awr er ys tros haner can' mlynedd. Y maent wedi bod yn rhesymu o'l blaid mewn ysbryd boneddigaidd, ond yn y dull mwyaf difrifol. Cawsant ran fawr o wrthwynebiad ac o ddirmyg, ond y mae llaweroedd o'r duwinyddion duwiolaf ac o'r deddfwyr doethaf, ac o'r athronwyr enwocaf, wedi addef fod eu rhesymiadau yn deg ac efengylaidd, a bod eu cynllun yn un hawdd ei roddi mewn ymarferiad. "Yr ydys, fel y sylwodd un, *wedi* terfynu llaweroedd o'r dadleuon mwyaf dyrus —dadleuon personol a theuluaidd, dadleuon cymydogaethol a *gwladol*, drwy GYFLAFAREDDIAD; a pha ham nad ellid terfynu pob dadleuon yn y dull hyny? Bu amser pan y goddefid i i ddau ddyn, a dau deulu, a dwy ardal *ymladd* allan eu dadl: ond trwy drugaredd, sefydlwyd llysoedd rheolaidd i atal hyny, a pha reswm sydd i ddwy wlad droi allan i geisio *ymladd* eu dadl i ben, pan y gellid yn hawdd ei therfynu heb ddifrod, na thywallt gwaed, trwy farn, neu gyngor llys o gyflafareddwyr? Gwaith colledfawr i fasnach, drudfawr i gyllid, niweidiol i foesau, ac ataliol i ffyniant gwlad yn mhob ystyr ydyw cynal byddinoedd wedi eu dysgu a'u parotoi i ryfel. Gwaith colledfawr enbydus ydyw eu cadw yn *segur*, a gwaith drudfawr enbydus ydyw eu cadw i *ymladd*; ond ni byddai eisiau eu cadw i segura nac i ryfela pe sefydlid cyngrair o gyflafareddwyr yn ol cyngor cymdeithas heddwch."

Pe byddai i ryw Lywodraethau cryfion fel rhai Lloegr a'r

Unol Dalaethau, hunan-ymwadu ychydig i w[illegible]ioe yn "ber-cyrfflcithasau heddwch, gan roddi eu llais dros g[illegible] gyfoethog llun, byddai dylanwad siampl Llywodraethau felly [illegible]c o bob iawn ar Lywodraethau eraill; ac enillid yn gyflym de[illegible] byd ol teyrnas i gydleisio ac i gydweithio o blaid achos gw[illegible] fawr tangnefedd. Er egluro amcan a chynllun cymdeithasau heddwch, rhoddwn ger bron ddeiseb a anfonwyd i Senedd Lloegr bymtheg mlynedd yn ol:—

"The petition of the undersigned, sheweth:—That in the judgment of your petitioners, an appeal to arms for the purpose of deciding disputes among nations, is a custom condemned alike by religion, reason, justice humanity, and the best interests of the people.

That the large military establishments which Governments are obliged to maintain, in order to support this custom, are a great evil—by the hostile feelings towards other countries which they foster and perpetuate, by the immoral influence they exert on the home population, and by the enormous burdens they entail on the commerce and industry of nations.

That your petitioners, therefore, pray your Honorable House to take prompt and decisive measures to negotiate treaties between the Governments of this country and other Governments of the world, binding them to refer their misunderstandings to the decision of arbitrators, and to adopt a general system of disarmament."

Pa anhawsdra fyddai i Lywodraethau mawrion Cristionogol fel rhai America, a Lloegr, a Ffrainc, ac Austria, a Russia, a Prussia, gyduno i fabwysiadu cynllun o'r natur a grybwyllwyd? Y maent yn cael eu hystyried y galluoedd uchaf, a goleuaf, a gwareiddiaf yn yr holl fyd. Y maent yn proffesu Cristionogaeth. Y mae llawer o son am eu doethineb a'u tegwch, a'u boneddigeiddrwydd a'u *honor*. Pa anhawsdra fyddai i Lywodraethau cryfion, Cristionogol felly sefydlu uchel lŷs o gyflafareddwyr i farnu a therfynu eu holl ddadleuon. Pe buasai y penaduriaid a'r maes-lywyddion fuont yn defnyddio eu doniau

ing good can po... ...nyweinfaol," yn gwneud
both of men... ...y cawsant y gwaith yn
*desire* a ... ...yr oeddynt hwy erioed
breth... ...efydlu eu llys, a chydym-
m... ...benderfyniadau, yn rwystr
...rfu eu byddinoedd, a'u gell-
...n sychau a'u gwaywffyn yn
...wedigaethau o fodd i'r byd,
...th ddrudfawr, lygredig, laf-
...a dileu eu sefydliadau anfwr-
aidd, ... ...ion arswydus, a'u treuliau yn-
fyd a gorthrymus at wellhad gwladwriaethol er lles i gymdeithas yn ei holl gysylltiadau.

159

Ar derfyniad y rhyfel rhwng Lloegr ac America, bedwar ugain mlynedd yn ol, ysgrifenai Dr. Franklin at ei gyfaill, Syr Joseph Barnes, fel y canlyn :—

"Yr wyf yn cyduno â chwi yn y modd mwyaf gwresog i lawenhau yn adferiad heddwch. Gobeithiaf y bydd yn barhaol, ac y daw dynolryw cyn hir, gan y galwant eu hunain yn greaduriaid rhesymol, i feddu digon o reswm a synwyr i derfynu eu hymrafaelion heb dori gyddfau ; oblegyd i'm tyb i, ni bu erioed ryfel da, na heddwch drwg. O, y fath chwanegiadau dirfawr at gyfleusderau a chysuron bywyd allasai dynolryw gyrhaedd pe buasai yr arian dreuliwyd mewn rhyfeloedd wedi cael eu treulio mewn gweithredoedd o ddefnyddioldeb cyhoeddus ! Gymaint o helaethiad ar amaethyddiaeth ! Gymaint o afonydd allasid wneud yn fordwyol ! Gymaint o ffyrdd newyddion, ac adeiladau a diwygiadau eraill nas gwnaeth Prydain yn berffaith baradwys ! O, na buasid yn gwario y miliynau hyn mewn gwneuthur daioni, y rhai a wariwyd yn y rhyfel diweddar mewn gwneuthur drwg ; a dwyn trueni i filoedd o deuluoedd, a dyfetha bywydau cymaint o filoedd o bobl weithgar, y rhai a allasent gyflawni y gweithiau buddiol a grybwyllwyd."

A gallasai y miloedd o filiynau a wariwyd drwy ryfel mewn

fyddiadau milwraidd! Gallasai fod yn llawn o reil-
ie o gamlesydd ac o afonydd mordwyol; yn llawn o
 pherllanau a gwinllanoedd; yn llawn o borfeydd
g, ac o weirgloddiau meillionog, a maesydd ŷd; yn
 balasdai marmor; o golegau addysg, ac o demlau mawl
di. Cawsai yr amaethydd iachus a difyr yr offerynau
t drin ei alwedigaeth ardderchog; buasai ei gelloedd
, yn trefnu pob rhyw luniaeth; a chawsai holl ani-
 maes gyfranogi o'r llawnder ac o'r llawenydd. Cawsid
 o borthiant i bob preseb, ac arlwy lawn ar bob
 Cawsai *dyn* ymddifyru, fel arglwydd y greadigaeth,
nol cyfoeth a phrydferthwch anian: ac wrth ymhyf-
ly mewn rhinwedd, ac ymdroi yn nghanol pob rhyw
, buasai yn cryfhau iechyd ei gyfansoddiad, yn pryd-
wrid ei wedd, yn cynyddu mewn maintioli, yn ychwan-
yffwr, yn harddu ei wên, yn gloywi ei lygad, yn cyw-
 glust, yn pereiddio ei lais, yn awchlymu ei holl allu-
n rhwyddhau ei ddoniau, yn puro ei rasau, yn buddioli
lach, yn helaethu ei ddefnyddioldeb, ac yn estyn ei
u. Buasai cenedlaeth ar ol cenedlaeth yn estyn yr oes.
 meddwl mai dychymyg breddwyd ydyw hyn. Yr
di cael digon o brofion fod tymorau o lafur ac o lygr-

wl. Y mae y llygredigaethau a'r creulonderau, a'r dychryn a'r difrod cysylltiedig â rhyfeloedd wedi darostwng plant dynion îs îs, a'u gwanychu fwy fwy, a byrhau eu dyddiau y naill genedlaeth ar ol y llall ; ond y mae sail i obeithio y bydd i heddwch a threfn, a chymedroldeb, a bywiogrwydd, a llwyddiant y mil blynyddoedd eu hiachau, a'u cryfhau, a'u derchafu i safon maint, a nerth, ac oedran patriarchiaid cryfaf dyddiau Methuselah.

Ar ol croeshoelio yn y dull a nodwyd hen yspryd barbaraidd rhyfel, a magu yspryd heddwch yn ei le ; ac ar ol dyngu trui *treuliau* sefydliadau milwraidd i ddwyn yn mlaen welliantau buddiol er y lles cyffredinol, yr wyf yn credu y ceir allan lawer o ddyfeisiau ac o welliantau celfyddydol, a llawer o ddiwygiadau cymdeithasol nad ydys erioed eto wedi feddwl am danynt.

Yr wyf yn credu yr ymgeisir am lawer mwy o symledd ac o eglurder ac o uniondeb yn nghyfansoddiad egwyddorion pob ffurflywodraeth, a deddfau pob corfforiaeth, a rheolau pob cymdeithas ; ac y ceir cyfreithiau hawddach eu deall, a hawddach eu gweinyddu ; ac y ceir llawer llai o yspryd cospi a dial, a llawer mwy o yspryd adgyweirio a diwygio yn holl lysoedd pob gwlad a phob Talaeth, ac y bydd i'r hen ddulliau drudfawr, colledfawr, caledawl, a barbaraidd o gospi troseddwyr gael eu dileu o ffordd cynlluniau tecach, a rhatach, ac effeithiolach.

Yr wyf yn credu y derfydd dyddiau afiach tymhestlog y stikes, a'r panics, a'r bribes, a'r election-lies, a'r mob-riots, a'r lynch-laws, a'r martial-laws, a lottery-systems, a witch-crafts, a state-jubs, a swindling-schemes, a class-legislation, a blackguardiaeth isel dadleuon seneddol, a court intrigues, a hell dishonest practices uchel-leoedd cymdeithas.

Yr wyf yn credu y ceir ariandai gwladol ac ariandai Talaethol, ac ariandai corfforiaethol a theuluol gonest a diogel ; ac y ceir digonedd o arian cymeradwy o werth ansigladwy i fod yn gyfrwng pob masnach ; ac y ceir cyfundrefn o gyfrifon arianol *unffurf* drwy holl wledydd y byd ; ac y daw trefn yr

gan drefn ddrudfawr bresenol y "*sinks* a'r *sewers*"
i ddynoliaeth, ac y mae yn carlamu gyflymach gyf-
ar ei ffordd, nid yn unig i dlodi y tir, ond i nychu iech-
swylwyr. Y mae fel pla gwahanglwyf yn is na chroen
yn lledu yn barhaus, ac yn sychu i fyny ei hireidd-
wyrddlesni, yn gwenwyno ei pheraroglau, ac yn nychu
i ddwyn ffrwyth, a'i gallu i gynal yn gysurus ei theulu
Pwy all ddirnad y golled i Loegr ydyw fod holl wr-
Llundain, lle y mae tros dair miliwn o breswylwyr, yn
lrainio ymaith i fwydo y ddaear o dan ei sylfeini, ac i
yr afon ardderchog sy'n llifo drwy ei chanol, pan y
n hawdd eu cludo i ffrwythloni yr holl wlad o am-
Y mae gogwydd ,y dosbarth lliosocaf a chyfoethocaf
byd i gyfaneddu mewn dinasoedd, ond mochynaidd
nt eu trefniadau presenol gyda golwg ar wrteithiau eu
au; ond os yw y byd i sefyll ceir trefn well ar bethau
our fuan.

rf yn credu y bydd i'r tiroedd llydain a breision ag
awr yn cael eu diffrwytho wrth godi tybaco ac opi-
ynyrchion niweidiol craill, gael eu troi i ddybenion o
b; a dichon y rhoddir llai o dir at cotwm a rhai
raill, a mwy i godi gwlan, a llaeth, a chig, a phethau

cynaliaeth o'r ddaear pan y bydd tymor eu goruchwyliaeth hwy wedi darfod.

Yr wyf yn credu yr anghofir y gelfyddyd felldithiol o droi ffrwythau melysaf y coed, ac ydau addfedaf y maes yn wirod damnedigaeth corff ac enaid; ac y derfydd gofalon gwyliadwriaethau y distyllwyr a'r gwerthwyr gwirod, y dystewir eu cynen a'u hochain, eu trwst a'u dadwrdd; yr iacheir eu llygaid cochion a'u gwelyau ysig crawnllyd; y tawelir dychrynfeydd eu "delirium tremens," y tynir y gwenwyn o bigiadau eu cydwybod, y sychir dagrau eu teuluoedd, ac y caiff eu plant ddianc o'r rhwyd, a'u troi o ffordd yr hudoliaeth, a'r nychdod, a'r tlodi, a'r gwarth i ffordd y synwyrol, a'r defnyddiol, a'r anrhydeddus, a'r dedwydd.

Yr wyf yn credu y ceir ADDOLI mwy pur a dedwydd, mwy apostolaidd a seraffaidd, mwy ysprydol, a nefol, a christaidd yn holl gysegroedd yr Arglwydd; y profir mwy o ddylanwad y groes, ac o rinweddau y gwaed, ac o felysderau athrawiaeth maddeuant, o adeiladaeth a grym cymdeithas y saint, o gysur gweinidogaeth angylion, ac o'r hyfrydwch pur sylweddol sydd o wneuthur daioni; ac y ceir mwy o yspryd ffydd, a gobaith, a chariad, a llawenydd i bob cyflawniadau crefyddol; yr wyf yn credu y purir y gân, a'r weddi, a'r bregeth o bob *party politics*; y caiff pob sothach ffiaidd felly eu llosgi ymaith gan dân cariad, ac y golchir ymaith eu heffeithiau drwy rinweddau y gwaed; yr wyf yn credu y purir holl ranau addoliad yr Arglwydd oddiwrth bob ystumiau, a gwynebau, a lleisiau, a dethol-eiriau *sectaidd*, ac y daw Yspryd Crist yn lle yspryd plaid, i anadlu drwy bob rhan o wasanaeth y nefoedd. Yr wyf yn credu y daw y gwahanol gymdeithasau er efengyleiddio y byd i gydweithredu yn fwy cryf ac yn fwy cynes, yn fwy cariadlawn ac yn llawer mwy effeithiol. Yr wyf yn credu y cyfyd yr eglwys o lwch ei musgrellni a'i bydolrwydd, y llewyrcha ei goleuni, ac y dysgleiria gogoniant yr Arglwydd ar holl bebyll ei chyfarfodydd; ac y rhodia y cenedloedd at ei goleuni, a breninoedd at ddysgleirdeb ei chyfodiad; y troir ati

grwydd y môr, ac y daw golud y cenedloedd i'w thrys-
y bydd ei phyrth yn agored yn wastad, ac y dygir ei
n o bell a'u harian a'u haur gyda hwynt i enw yr Argl-
eu Duw, ac i Sanct Israel, am iddo ei gogoneddu. Yr
n credu y bydd eglwys fechan, fywiog, oleu, gariadlawn,
rydd, yn mhob teulu; ac mai gofal blaenaf a phenaf y
a'r mamau fydd maethu eu plant yn addysg ac athraw-
yr Arglwydd.

wyf yn credu y caiff y creadur ag sydd wedi ei ddarost-
oferedd ei dderchafu eto i ddefnyddioldeb, y troir ei
naid" yn orfoledd, y cyflawnir ei "awyddfryd," y daw
gwyliad hiraethus i ben, y caiff weled datguddiad meib-
uw, ac y caiff ei ryddhau o gaethiwed llygredigaeth i
l gogoniant plant Duw. Yr wyf yn credu y datodir
nau celfyddyd, a masnach, a chrefydd, y gwneir ffyrdd y
dd a'r afonydd mawrion yn rhyddion i gydfasnach a chyd-
lach holl wledydd y byd; ac y daw pobloedd y byd i
ll i fod yn un frawdoliaeth, yn gyd-ddinasyddion, yn
Duw; ac y codir euw Iesu i fod yn ben moliant dros y
r.

thybier fy mod yn caru edrych o hyd ar yr ochr dywyll.
ybier fy mod am gadw sylw pawb o hyd ar yr ochr
Yr wyf yn credu fod dyddiau teg, tawel, heulog, cynes,
i wawrio, ac i wawrio yn fuan, ar ein byd bach tym-
g hwn. Yr wyf yn credu fod tiroedd hyfryd y goleuni
welwch, a'r llwyddiant, a'r gwynfyd o'n blaen; ond yr
m ddringo iddynt ar hyd y ffordd uniawn, ac nid ar hyd
l lleidiog, pyllog, llithrig, llygredd; nid ar hyd ffyrdd
llyd rhyfel a dinystr. Yr wyf yn ffieiddio y philosophi,
wod-ddysg, a'r *grefydd* sy'n dywedyd, weithiau yn ddis-
c weithiau yn uchel, "gwnawn ddrwg fel y dêl daioni;"
aedru "dywedyd celwydd dros Dduw," ac yn "cyflawni
er mwyn ei enw ef." Cofied y philosophyddion duwiol
nad allant dwyllo Duw fel twyllo dyn; ac y bydd coll-
rhai a geisiant hyny yn sicr ac yn gyflawn.

Yr wyf cyn terfynu am wneuthur ychydig o

AD-SYLWADAU.

1. Na feddylier fy mod wedi ysgrifenu er mwyn achos *plaid*. Nid yw yn ddim ymffrost i mi ddywedyd, nad oes neb yn America yn fwy rhydd na mi oddiwrth "yspryd plaid." Y mae hyny i'w briodoli i diriondeb rhagluniaeth yn fy nghadw allan o brofedigaethau yspryd plaid, ac nid i ddim rhinwedd ynwyf fy hun. Nid wyf wedi enill, drwy ymladd, na thrwy arian, na thrwy ddysg, na chywreinrwydd, na thrwy unrhyw ffordd arall, unrhyw *ddinasfraint* yn America; a byddaf yn debyg o orphen fy nyddiau bellach heb yr un *vote*, neu *blaid-lais*, yn America, nac mewn unrhyw wlad arall. Yr wyf yn ddyn, yn ddyn darostyngedig i gyfreithiau fy ngwlad; ac y mae genyf *vote* i'w rhoi yn llŷs mawr "*public opinion*:" ac y mae genyf hawl i'w rhoddi yno pan y gwelaf yn dda, ac fel y gwelwyf yn dda, ar air, neu mewn ysgrif; ac yr wyf yn gwbl rydd i wneud pob lle, *ond cysegroedd yr Arglwydd*, yn polling-place, ac i wneud pob dydd ond y *Sabboth* yn polling-day: ac yr wyf yn ystyried y dylwn roi fy vote, a'i rhoi yn gydwybodol, dros neu yn erbyn pob llywod-ddysg a phob deddf, pob cynllun a phob mesur cyhoeddus a ystyriaf o bwys i'r wlad ac i'r byd. Yr wyf yn beiddio dywedyd eto, nad oes yr un dyn yn America yn fwy rhydd na mi oddiwrth brofedigaethau "yspryd plaid." Ni chefais erioed unrhyw ffafrau gwladol oddiwrth unrhyw blaid lywodraethol; ac nid oes genyf ddim golwg na gobaith am na thâl na diolch byth am unrhyw wasanaeth *gwladol* a fedraf wneud, ond boddhad fy nghydwybod fy mod yn ceisio gwneud fy nyledswydd er lles fy nghyd-ddynion. Ydwyf, yr ydwyf mor rydd oddiwrth rwydau, a rhagfarnau, a deniadau pob *plaid* wladol a neb yn America. Ni bum erioed yn ceisio sefyll ar "*platform*" unrhyw blaid; ac yn wir, ni welais erioed eto unrhyw platform *plaid* ag oedd (os oeddwn yn deall ei fesuriad) yn ddigon llydan, ac yn ddigon gwastad genyf i sefyll arno. Ni welais erioed unrhyw platform plaid ag oedd yn *squario* yn haner teg â platform mawr,

gwastad, goleu, difylchau Cristionogaeth. Nid wyf yn disgwyl y bydd i'm traethodyn hwn ar y rhyfel presenol foddhau yr un *blaid* wladol yn America. Yr wyf yn gwybod i bydd i bob plaid fy ni-arddel; ond os diarddelant fi am fy mod yn ymestyn yn nês na hwy at safon Cristionogaeth, gallaf fforddio i oddef eu condemniadau. Yr wyf yn gwybod y bydd i wŷr y *De* fy nghondemnio am fy mod yn ystyried eu trefn o gaethwasanaeth yn un orthrymus a cholledfawr, niweidiol iddynt hwy eu hunain, ac i'w gwlad: ac am fy mod yn beio eu hystyfnigrwydd yn glynu mor gyndyn wrth eu trefn ormesol: pan yr oedd yspryd yr oes mor gryf yn ei herbyn, a phan yr oedd *rhai*, mewn yspryd teg, yn ymbil arnynt ei newid, er eu mwyn eu hunain, ac er mwyn anrhydedd eu gwlad, ac er mwyn achos dynoliaeth. Yr wyf yn gwybod y bydd i wŷr y *Gogledd* fy meio am fy mod yn barnu yn gryf mai nid ar y De yr ydys i roddi *holl* fai y rhwygiad presenol. Yr wyf yn gwybod y bydd i holl *gyfiawnhawyr y rhyfel* fy nghondemnio am fy mod yn barnu y buasai yn well ddeng miliwn o weithiau iddynt adael i Dalaethau y De ymneillduo, nag *ymladd* â hwy er eu cadw yn yr Undeb. Nid oedd dim sicrwydd na buasai eu hymneillduad i fod yn Llywodraeth annibynol, dan eu gofalon, a'u treuliau, a'u cyfrifoldeb eu hunain, yn enill i'r ddwy ochr, ac yn lles i'r byd; ond yr oedd pob sicrwydd y buasai *rhyfel* rhyngddynt yn golled drom iddynt hwy ac i holl wledydd y byd. Yr wyf yn gwybod y bydd i'r rhai oeddynt am ddifreinio y Negro a'i alltudio o'r wlad fy nghondemnio am fy mod am ddyrchafu y dyn *du* i fod yn "gydstad" a'r dyn *gwyn*. Os bydd i ddwy aden y Democratiaid fy nghondemnio am fy mod mor dŷn dros *holl* iawnderau y Negro, ni bydd i mi ond dyoddef hyny. Os bydd i addolwyr y Constitution "fel y mae" fy nghondemnio am nad wyf yn ei ystyried yn berffaith, ni bydd i mi ond dyoddef hyny; yr wyf am i bob peth fydd yn mhob cyfansoddiad yn groes i'r "ddeddf uwch," gael ei newid, a'i ddiwygio—nid drwy *ryfel* na *gwrth*-ryfel—ond drwy ddylanwad anorchfygol moddion moesol. Os bydd i'r Republicaniaid, o bob dos-

[redacted]



barth, ymfoneddigeiddio i'm galw yn "copperhead" am fy mod yn erbyn brathu fy nghyd-ddynion a'r waywffon; ni bydd i mi ond dyoddef hyny. Os bydd i'r *tariff-men* llaw-drymion fy nghondemnio am fy mod dros "Fasnach Rydd," ni bydd genyf ond dyoddef hyny. Y mae yn rhyfedd genyf na fedrai Llywodraeth gref gyfoethog America ddangos gwyneb agored a siriol i holl wledydd y byd, a chyhoeddi wrthynt oll, y mae i chwi bob rhyddid a *chroesaw* i ddyfod i mewn i'n hafanydd a'n haberoedd ni, ac i'n holl farchnadoedd a'n masnachleoedd ni, a chewch brynu a gwerthu ar yr un tir a'n deiliaid ein hunain: rhaid i ni gael *trethoedd rhesymol* at ddwyn yn mlaen ein gof-alon; ond cewch chwi i gyd oll yr un chwareu teg, a chewch hefyd yr un chwareu teg a'n pobl ein hunain; oblegyd yr ydym am i holl bobl y byd gyd-fasnachu, a chyd-weithredu, a chyfathrachu fel aelodau o'r un frawdoliaeth fawr; gan ein bod yn ystyried mai ymestyn at y lles *cyffredinol* a dry oreu yn y pen draw i bob Talaeth ac i bob teyrnas. Os bydd i bobl y fflangellu, a'r saethu, a'r crogi am droseddau, pan y mae ar *gymdeithas* gymaint o'r bai o'u plegyd ag sydd ar y "*trosedd-wr*," fy nghondemnio, ni bydd genyf ond dyoddef hyny; oblegyd yr wyf yn cydwybodol farnu eu bod hwy yn cymeryd y ffordd *waethaf* a allant byth gymeryd i geisio diwygio troseddwyr. Yr wyf fi am lanhau cymdeithas oddiwrth droseddau, ac oddiwrth *arferion* nad ydynt dda i ddim ond arwain i droseddau; ac yr wyf am ddiogelu cymdeithas rhag troseddwyr; ond yr wyf yn credu fod ffordd lawer effeithiolach i wneuthur hyny na ffordd y fflangellwr a'r crogwr. Ond fy ad-sylw yn awr ydyw, mai nid er mwyn *boddio plaid* yr ysgrifen-ais ar helynt adfydus y wlad: ond am fod y pwnc yn perthyn i *mi*, yn gystal ag i eraill, a'i fod yn un pwysfawr anrhaethad-wy. Nid wyf yn meddwl fod yr un *blaid* yn awr yn America yn foddlawn i'm harddel, ac mewn gwirionedd, nid wyf finau ddim am arddel yr un o honynt hwythau. Os dywedant hwy nad ydynt yn hidio dim am danaf, dichon y dywedaf finau yn ol nad wyf yn hidio dim am danynt hwythau; ond fy mod yn

gofidio drwy fy nghalon am eu bod yn darostwng ac yn dinystrio eu gwlad odidog ac enwog drwy eu cynhenau parhaus, a'u trecedyniadau diddiwedd, a'u hystrywiau dichell-ddrwg i gael y llaw uchaf ar eu gilydd.

2. Na feddylier y gellir mygu fy argyhoeddiadau, na dirymu fy ymresymiadau mewn un modd ond drwy rydd-resymu. Pan y bydd dyn drwy argyhoeddiad ei gydwybod, neu drwy yr addysg foreuol a gafodd, neu drwy anwybodaeth o ryw amgylchiadau, yn cael ei wasgu i gymeryd yr ochr *anmhoblog* i unrhyw bwnc, yr wyf yn gwybod y gellir ei ddiraddio a'i erlid a'i ddrygu; ond nid ellir mygu ei argyhoeddiad na dirymu ei ymresymiad drwy unrhyw fath o *erledigaeth*. Os bydd ei resymiadau yn deg, daliant y prawf. Os yw fy ymresymiadau i gyda golwg ar bwnc pwysfawr y *rhyfel* yn ddisail; hyny yw, os yw fy ngosodiadau yn anghywir, a'm casgliadau oddiwrthynt yn anmhriodol; os yw fy naliadau yn groes i wersi hanesyddiaeth, ac i ddeddfau dynoliaeth, ac i egwyddorion mawrion Cristionogaeth, y maent yn sicr o gael eu chwalu ymaith o ffordd y gwirionedd: ond o'r tu arall, os yw fy ngosodiadau a'm rhesymiadau yn gyson ag egwyddorion mawrion yr efengyl, y maent yn gyson hefyd â deddfau daioni cymdeithasol; ac nid ellir eu dirymu: dichon y gellir eu gwthio hwy a'u hawdwr o'r neilldu; a'u cadw *am dro* allan o sylw: ond deil y *gwirionedd* bob tywydd a phob prawf; a saif ar dir buddugoliaeth pan y bydd yr yspryd fu'n ceisio ei oganu wedi trengu.

3. Peidier casglu oddiwrth fy ymresymiadau fy mod yn *elyn i'm gwlad*; ac mai dymuniad am eu gwarth a'i dinystr oedd yn fy nghynyrfu i ysgrifenu. Byddai ystyried hyny, neu awgrymu hyny, yn gam mawr a mi, ac yn annhegwch i'r eithaf: ond dichon nad allaf wneuthur fawr o les wrth ardystio yn ei erbyn. *Bu* egniadau yn cael eu gwneud i osod argraff ar feddyliau fy nghydwladwyr fy mod yn elyn i "*wlad fy ngenedigaeth*." Hawdd iawn ydyw i argraff felly gael ei wneud ar feddyliau ydynt heb gael cyfle na hamdden i chwilio ac ystyr-

[redacted]



ied yr hyn a ddywedais ac a ysgrifenais; a'r rhai ydynt felly heb adnabod fy egwyddorion a'm teimladau. Pan gyhoeddir dedryd drom felly uwch ben dyn, teg fyddai crybwyll *pa bethau* yn ei wlad y mae yn eu hanghymeradwyo, pa sefydliadau, neu ddefodau, neu ddeddfau, neu drefniadau perthynol i'w wlad y mae yn gondemnio? Byddai yn hawddach gwybod wedi hyny pa un ai hiraethu y mae am ddiwygiad a derchafiad a dedwyddwch ei wlad, ai ynte hiraethu y mae am ei darostyngiad, a'i gwendid, a'i gwarth, a'i dinystr. Nid wyf am roddi y goreu i neb o ddeiliaid ffyddlonaf Prydain am ddymuno ffyniant a derchafiad gwlad hoff fy nghenedigaeth.

Yr wyf wedi bod yn ysgrifenu ac yn teimlo er ys tros ddeng mlynedd ar hugain yn erbyn ei RHYFELOEDD, ac yn erbyn beichiau gorthrymus ei "Sefydliadau Milwraidd," ond y mae aelodau eraill ei "Chymdeithasau Heddwch" wedi gwneud yr un peth. Yr wyf wedi bod yn teimlo ac yn ysgrifenu yn erbyn annhegwch ac anfoneddigeiddrwydd ei SEFYDLIADAU EGLWYSIG, neu gwib-ddeiliaeth ac erledigaeth ei "Heglwys Sefydledig," ag oedd yn gwasgu mor drwm ar ymneillduwyr; ond y mae miloedd eraill drwy Gymru a Lloegr a'r Iwerddon a Scotland wedi gwneud yr un peth. Yr wyf wedi bod yn teimlo ac yn cwyno yn erbyn DEDDFAU PLAID Lloegr, sef y deddfau i gyfoethogi rhai dosbarthau o'r deiliaid ar draul drygu dosbarthau eraill; ac yn erbyn yr egniadu cyfrwys a thrymion a wneir yno yn barhaus i gynal ac amddiffyn y fath ddeddfau-*Plaid*, drwy gau allan o gylch y *bleid*lais bedwar o bob pump o'r deiliaid mwyaf gweithgar a gonest; ond y mae miliynau eraill wedi gwneud yr un peth: ac yr wyf yn meddwl fod y rhai sydd wedi bod yn dadlu yn erbyn trefniadau gormes eu gwlad yn ei charu mor wresog, ac yn dymuno ei llwyddiant mor ddidwyll a neb o'r bobl oeddynt yn cael *enw* ac *elw* wrth amddiffyn ei gormes. Ni bûm erioed ar unrhyw achlysur, am enyn *gwrthryfel* mewn un man, hyd yn nod er symud gormes o'r ffordd; ond yr oeddwn am i bob diwygiad gael ei ddwyn ymlaen drwy ddylanwad *moddion moesol*. Pan yr oeddwn yn

ddwysaf, ac yn ysgrifenu gryfaf yn erbyn annhegwch a
s sefydliadau milwraidd Uchel-eglwysaidd gwlad gû fy
digaeth, yr oeddwn yn gwybod, ac yn *cydnabod* fod ynddi
ddau a rhagoriaethau gwir enwog; ac yr oeddwn am
t gael eu cryfhau a'u lliosogi er helaethu a thrymhau ei
wad, ac éangu ei defnyddioldeb, ac er perffeithio ei derch-
a'i dedwyddwch, a'i gwneud yn fendith ac yn foliant dros
ll ddaear. Os bydd dyn yn dymuno derchafiad a ded-
wch ei wlad, a'i llwyddiant yn mhob rhinwedd a daioni,
g ydyw ei *ddu*-nodi fel *gelyn* ei wlad, a'i gyhoeddi fel un
'n dymuno ei darostyngiad a'i dinystr.
mae gradd o egni yn cael ei wneud yn awr i enyn teimlad
llawer cylch fy mod yn *elyn i America.* Os wyf yn dy-
ei gwanychiad a'i darostyngiad a'i dinystr, y mae yn
fy ngalw yn elyn iddi: ond os wyf yn dymuno lliosogi a
hau ei gwelliantau celfyddydol a moesol, a helaethu ei
idaeth, a chadarnhau ei threfn; ac os wyf yn hiraethu
derchafiad yn mhob cyfoeth, a rhinwedd, a chysur, nid teg
fy ystyried yn elyn iddi. Yr wyf yn credu, yn credu o'm
fod Blaenoriaid ei *phleidiau* gwladol wedi colli eu lle yn
wy, a'u bod wedi ysigo eu gwlad yn ddychryllyd wrth
mruthro mor anystyriol i'r rhyfel arswydus presenol: ond
f ar yr un pryd yn credu fod digon o adnoddau ac o gyf-
ran yn America i'w gwneyd *eto,* ie ETO, y wlad gyfoeth-
a dedwyddaf, ac enwocaf ar wyneb yr holl ddaear, pe
id unwaith enill ei Llywiawdwyr i gydweithio yn gyfeill-
haelfrydig o blaid GWELLIANTAU mewn pob celfyddyd a
digaeth, yn lle ymwenwyno yn dragywyddol yn erbyn eu
l wrth groes-ymwthio am swyddau o hunan-fwyniant, yn
a gylchoedd o ddefnyddioldeb.
wyf yn *sicr* fy mod yn dymuno llwyddiant *Lloegr* ac
*ica;* ac nid wyf yn fy nhwyllo fy hun, nac yn twyllo er-
y pen hyny. Yr wyf o'm calon yn gwresog ddymuno
afiad a ffyniant a dedwyddwch Lloegr ac America: ond
f ar yr un pryd, am gael rhyddid i ffurfio barn drosof fy

[redacted]



hun am eu holl weinyddiadau llywodraethol; ac yr wyf am gael rhyddid hefyd i adrodd, neu ysgrifenu fy marn, yn ol fy nghyfleusderau, yn ol argyhoeddiad fy nghydwybod: ac os dewisia rhyw un gyhoeddi, fy mod oblegyd hyny, yn elyn i Loegr, neu yn elyn i America, nid oes genyf ond gadael i'r cyfryw gael hyny o wledd i'w hunanoldeb yn nghastell oer ei ragfarn a'i anwybodaeth. Fy llafur a'm gofal i, a ddylai fod am dawelwch yn fy mynwes fy mod yn dymuno heddwch a llwyddiant y *ddwy* wlad—hen wlad anwyl fy ngenedigaeth, a gwlad fawr newydd hoff enwog fy mabwysiad—y ddwy wlad *ddylent* fod y rhai goleuaf a dedwyddaf ac enwocaf yn yr holl fyd.

4. Peidier casglu mai at y Cymry *yn* y Gogledd yr wyf yn cyfeirio pan yn crybwyll am y "Gogledd." Nid oedd modd i mi egluro fy marn gyda golwg ar y fath ryfel mawr cartrefol rhwng dwy ochr y wlad, heb gyfeirio yn fynych at y "Gogledd": ond byddai yn gamgymeriad mawr, ac yn gam mawr â mi, i neb dybied mai at y *Cymry* yn y Gogledd yr wyf yn cyfeirio wrth son am y Gogledd. Nid y Cymry *yn* y Gogledd yw y Gogledd. Wrth y "Gogledd" yr oeddwn yn golygu corff preswylwyr Talaethau y Gogledd. Yr wyf yn credu fod y Cymry, a'u cymeryd at eu gilydd, mor wladgar ac mor grefyddol, mor ddiragfarn ac mor gydwybodol, mor deg a heddychol, mor ddiwyd a defnyddiol a neb o holl bobloedd y Gogledd; a'u bod mor rydd oddiwrth bob hunan-gais, a phob gorawydd am ymwthio ar draws eu cyd-ddeiliaid i swyddau o elw ac anrhydedd, a neb sydd yn yr holl wlad. Yr wyf yn credu fod eu cymeriad mor ddysglaer o ran eu rhinweddau cymdeithasol â neb, hyd yn nod o'r dosbarthau uchaf eu breintiau o'u holl gyd-ddeiliaid. Ond yr oeddwn yn ofni fod y *Cymry*, fel y mwyafrif o'u cymydogion, ar adeg boeth gynhyrfus dechreuad y rhyfel, yn agored i ddwy brofedigaeth: Yn gyntaf, eu bod yn rhy barod i feddwl nad oedd dim ond *daioni* yn perthynu i'r blaid wladol ag yr oeddynt hwy yn ymlynu wrthi; ac nad oedd dim ond *drwg* yn perthynu i'r blaid wladol ag oeddynt

hwy yn wrthwynebu. Yn ail, eu bod yn barnu o waelod eu calon fod y *rhyfel* yn un cyfiawn, Cristionogol, yn un angenrheidiol ac anocheladwy; ei fod drwyddo i gyd oll yn rhyfel o blaid cyfiawnder pur a digymysg; mai gwaith cyfiawnder yn unig oedd ei amcan, ac mai gwaith cyfiawnder yn unig a gyflawnai; a bod ei *holl* bleidwyr drwy holl gylchoedd celfyddyd a masnach, trwy holl ddring-raddau swyddogaeth yn y fyddin, trwy holl ariandai y wlad, trwy holl swyddfeydd y Llywodraethau talaethol, a thrwy lysoedd y Llywodraeth gyffredinol, a thrwy holl rodfeydd "Speculation," yn berffaith rydd oddiwrth bob *hunan-gais*, a phob rhagfarn, a phob dialgarwch; nad oedd neb o bleidwyr y rhyfel drwy y Rhydd-Dalaethau—o leiaf neb o'u *plaid* hwy—am wneud dim "hunan-elw," dim *Political Capital*, na dim *trade capital*, na dim *glory capital*, oddiwrth y rhyfel; nad oedd dim ond gwladgarwch a dyngarwch a duwioldeb yn eu cynhyrfu i'r rhyfel; nad oeddynt ddim am ei wneud yn achlysur i borthi unrhyw nwyd, nac yn gochl i guddio unrhyw dwyll, nac yn ddring-risiau i gyrhaedd unrhyw anrhydedd, nac yn chwareu-faes i gyfrwys gyflawni unrhyw ddichell, ond ei fod yn rhyfel duwiol, pur, drwyddo oll, yn rhyfel am iawnder ac am ryddid, yn rhyfel am degwch a threfn, yn rhyfel am ufudd-dod ac am Undeb; yn rhyfel o arfaethiad y nefoedd, ac o ysbrydolaethau y nefoedd, a thân wên y nefoedd; ac y dygent eu barn a'u mater i fuddugoliaeth gyflawn mewn "ychydig o wythnosau," heb wneud dim niwed i foesau y wlad, na dim dyryswch i fasnach y wlad, na dim gwanychdod i'w defnyddioldeb, na thynu dim anfri ar ei chymeriad, na chasglu yr un cwmwl dros ei gogoniant; a bod y fath ryfel yn rhan bwysig o gynlluniau anfeidrol ddoethineb, ac o arfaethau tragywyddol gariad, ac yn ddolen gref fawr o gadwen Rhagluniaeth *drugarog* y nef i godi y byd i rinwedd, ac i gyfoeth, ac i wynfyd; ac y terfynai y fath ryfel *cyfiawn*, yn anrhydeddus, ac yn ogoneddus iawn, er lles i achos Rhyddid a chariad a chrefydd drwy holl Dalaethau America, a holl deyrnasoedd y byd. Yr wyf yn gwybod mai dyna oedd barn y *mwyafrif* o'm cyd-

[redacted]



ddeiliaid drwy y Rhydd-dalaethau; ac mai dyna oedd barn *llaweroedd* o'm cydwladwyr. Yr wyf yn credu bod fy anwyl gyd-genedl ag oeddynt yn barnu felly yn gwbl *gydwybodol* eu barn, a'u bod hefyd yn selog dros eu barn; ond yr wyf yn credu ar yr un pryd fod eu barn yn gyfeiliornus, yn gwbl gyfeiliornus; a'u bod wedi syrthio i'r fath amryfusedd drwy adael i ragfarnau gwladyddol, yn lle egwyddorion mawrion Cristionogaeth, gael y lle blaenaf yn eu meddyliau; a chael felly lywodraethu eu teimladau, a dyfod yn ddeddf i'w cydwybodau. Yr oeddynt hwy yn *gydwybodol* eu barn am uniondeb ac am fuddioldeb y rhyfel; yr wyf finau mor *gydwybodol* a neb o honynt mai ymlithro i'r fath ryfel cartrefol, rhwng dwy blaid mor gref mewn gwlad mor eang ac mor gyfoethog, oedd y camgymeriad llywodraethol mwyaf alaethus—y gwylltineb gwerinaidd mwyaf byrbwyll—y *blunder* gwladyddol mwyaf ofnadwy a gyflawnwyd er cychwyniad Cristionogaeth, os nid er dechreuad y byd: yn enwedig am fod y camgymeriad wedi cael ei gyflawni gan y llywodraeth oleuaf, a'r bobl wareiddiaf dan yr holl nefoedd: a hyny pan oedd olwynion mawrion holl beirianau ardderchog moddion moesol yn gallu troi yn eu llawn nerth; a phan oedd gwawr y Mil Blynyddoedd yn cyflym ymagor, a heulwen dawel Cristionogaeth ar dywynu yn gynhesol ac yn iachusol i derfynau eithaf y ddaear.

5. Peidier meddwl fy mod yn barnu mai ar y Gogledd y mae y rhan drymaf o'r bai. Nid wyf yn gwybod hyny, nac yn dywedyd hyny. Yr wyf yn credu fod bai trwm ar y *ddwy* ochr. Yr oeddynt yn feiau o ddau ddosbarth gwahanol. Yr oedd nwydau a gwendidau cyffredin y natur ddynol syrthiedig gan y *ddwy* blaid; ond yr oedd eu hamgylchiadau a'u profedigaethau yn dra gwahanol. Nid wyf yn ddigon o dduwinydd, nac yn ddigon o Athronydd, nac yn ddigon o Politician i fedru eu pwyso yn y clorianau er penderfynu yn mha ochr yr oedd y bai trymaf. Yr oedd y *De* wedi ymlithro i afael un o'r trefniadau gwaethaf o lygredd a gormes a ddyfeisiodd calon ddrwg erioed. Yr oedd bryd y *Gogledd* ar ddysgyblu y De

am ei bai; ond wrth ymroi mewn llawn sêl i'w dysgyblu, esgeulusodd ffordd addfwynder yr efengyl, a ffordd iawnder cymdeithasol. Ni cheisiodd wella y clwyf â dwylaw tyner, nac â dwylaw glân, ac felly yr oedd y clwyf yn gwaethygu fwy-fwy oddidan ei thriniaethau. Yr oedd ei hyspryd, a'i hymadrodd a'i hedrychiad, a'i hymddygiad yn caledu, ac yn cynhyrfu, ac yn cynddeiriogi y De, ac yn achosi iddi ymgyndynu waethwaeth yn ei drwg. Yr oedd y ddwy blaid yn y dwymyn boethaf; yr oedd y dwymyn *wen* yn gweithio yn angerdd ei nerth un ochr; ac yr oedd y dwymyn *ddu* yn un mor angerddol yr ochr arall; ac yr oedd y naill glefyd yn effeithio mor gryf ar y llall, nes yr oedd y ddwy blaid wedi myned yn "*delirious*." Aeth yn wylltio, ac yn drin, ac yn guro, ac yn rhwygo. Tybiodd y Gogledd y gallai iachau yr anhwyldeb, a chyfannu y rhwyg, a chael pob peth i'w le, i'w *hen* le, neu yn hytrach i le *gwell*, a hyny yn hawdd ac yn fuan, drwy *nerth ei harfau*. Glynodd wrth oruchwyliaeth y llymder a'r gerwindeb er pob peth, a thrwy bob peth: aeth y De yn fwy fwy poeth ac ystyfnig, ac ofnir fod y rhwyg o'r diwedd wedi myned yn anwelladwy. Yr hyn sydd yn peri i mi ymofidio fwyaf yn achos y "Gogledd" ydyw, am fod ganddi gyfleusderau gwell i ddefnyddio moddion *priodol* tuag at adgyweirio ac ymgeleddu ei chwaer feiadwy nag a fu gan unrhyw wlad er dechreuad y byd; ac iddi wrth gam-ddefnyddio ei dylanwad a'i doniau, a'i chyfleusderau, golli un o'r breintiau uchaf fu erioed yn nghyraedd unrhyw wlad; a'i drygu ei hun drwy hyny yn waeth, os oedd modd, nag y drygodd y De, na neb arall. Y mae yn wir alarus i feddwl am Dalaethau mor fawr eu breintiau, mor fawr eu goludoedd, ac mor ddysglaer eu gobeithion yn cael eu drygu mor arswydus, a hyny drwy uchder yspryd eu phariseaeth a nerth gwres eu dialgarwch; neu mewn geiriau mwy tyner a boneddigaidd, drwy or-lymder eu gweinyddiadau disgyblaethol.

6. Gwn am un *hen* wrthddadl a ddygir yn erbyn fy narluniad o lwyddiant dyddiau heddwch: a digon tebyg mai yr un

rhai ag ydynt yn dadlu fy mod yn paentio rhyfel yn rhy *ddu*, fyddant eto yn dadlu fy mod yn paentio amserau yr heddwch mawr yn rhy *wyn*. Dadl achlysurol eu genau, a dadl ddiddiwedd eu bol, ydyw y *rhaid*—ie y RHAID cael rhyfeloedd i wrthweithio deddf cynydd poblogiad y byd. Y maent yn dýn iawn iawn dros eu pwnc; ac yn wir y maent yn hollol benderfynol drosto, oblegyd y maent yn deall rheolau tynion mesureg a rhifyddeg yn eu perthynas â'r pwnc. Gwyddant pa sawl troedfedd ysgwar ydyw arwyneb y ddaear: ac y maent yn rhifyddwyr mor uchel fel y maent yn deall "arithmetical progression:" a dadleuant y *rhaid* cael rhyfeloedd er atal cynydd poblogiad y byd, neu ynte y bydd ei breswylwyr yn bur fuan yn ei lenwi yn dynach nag y mae y morgrug yn llenwi eu twmpath. Y maent yn cyfrif y bydd ei breswylwyr yn mhen dau gant a haner o flynyddoedd yn amlach *fil* o weithiau nag ydynt yn awr; ac y byddant yn fuan iawn yn rhy liosog i orwedd na sefyll arno, heb eu gosod yn haenau drosto fel heigiau o ysgadan.

Er bod yn gyson dylent ddadlu am barhad drygau *eraill* y byd i gydweithio a'i ryfeloedd i atal gorliosogiad ei breswylwyr. Gallai parhad anmhuredd ei ddinasoedd er magwraeth ei heintiau, a chodiad tybaco ac opium er "cryfhad y lungs, a rheoleiddio y bwyd-dreuliad, a chodi y poer o'r cylla;" a gallai lliosogiad a helaethiad y puteindai a'r tai gwirod, a llaweroedd o ddrygau eraill y byd, fod mor fuddiol i atal cynydd ei breswylwyr ag ydyw ei ryfeloedd. Er mwyn perffeithio eu *logic*, dylai y gwrth-ddadleuwyr resymu o blaid *cyd*-barhad holl ddrygau y byd, gan eu bod i gyd-weithio er atal ei ddarfyddiad drwy or-boblogiad Y mae eu logic yn un byr, eglur, anmhlygadwy, ac anwrthwynebol: sef yn gyntaf, Nad all y byd ddim cynal mwy na'i lon'd o bobl. Yn ail, Y ceir ei lon'd yn bur fuan yn ol deddf fawr cynydd yr epilio. Yn drydydd, Y rhaid iddo ddiweddu a darfod pan y bydd wedi myned yn fwy na llawn. Nid ydynt mewn un modd am i'r byd ddarfod yn fuan felly drwy fyned yn rhy fach i'w deulu; ac o ganlyn-

iad y maent yn barnu mai yr *unig* ffordd sydd gan Ragluniaeth i atal ei ddarfyddiad buan, ydyw cadw *drygau* ynddo i ddifa ei breswylwyr, fel y byddont o bryd i bryd yn ei orlwytho.

Mewn atebiad i'r fath wrthddadleuwyr nid oes genyf ond cydnabod nad ydwyf yn ddigon dysgedig yn y proffwydoliaethau i allu gwybod pa hyd y parha oes y byd ; ond yr wyf finau yn gwybod tri pheth, a gallaf eu rhoddi ar gyfer eu tri pheth hwy. Yn gyntaf, Y gellir drwy iawn drin y ddaear ei gwneud yn llawer iawn mwy ffrwythlawn a chynyrchiol nag ydyw. Yn ail, Y gellir drwy iawn drefnu ei chynyrch, ei wneud i gyrhaedd yn llawer iawn pellach er cynaliaeth i ddynion. Yn drydydd, Y gall y ddaear gynal yn gysurus lawer mwy, ie lawer iawn iawn mwy o breswylwyr nag y mae wedi gynal erioed eto. A dichon fod gan Ragluniaeth gyfoethog y nef yn ei thrysorau diderfyn—yn adnoddau ei hawyr, a'i dyfroedd, a'i thiroedd, a'i ffrwythau—ac yn ei thymhorau a'i deddfau, fendithion *newyddion* ag nad ydys erioed eto wedi eu cael allan. O leiaf, yr wyf yn credu y gall Rhagluniaeth ddirwyn ei throion i ben, ac ymgeleddu ei daear oludog a hardd, nes y daw i'w llawn oed ; ac y gall reoleiddio cynydd ei phreswylwyr, *heb* geisio cymorth rhyfeloedd, na budreddi dinasoedd, na llygredigaethau meddwdod, na ffieidd-dra anlladrwydd, i ddifa dynion o'r ffordd, rhag iddi fyned yn rhy dlawd i ddarparu bwyd iddynt. Yr wyf yn credu y *myn* Rhagluniaeth Duw lwyr argyhoeddi pawb mai nid y *hi* sydd yn galw am ryfeloedd, nac unrhyw *ddrygau* eraill ; ac yr wyf yn cwbl gredu y caiff ei deiliaid brofion lliosocach a llawnach nag a gafwyd erioed eto o'r ffyrdd godidog sydd ganddi i'w cynal yn ddedwydd, os ufudd hant i'w deddfau.

7. Yr wyf, wrth ddiweddu, am ardystio unwaith eto yn y modd difrifolaf, yn erbyn athrawiaeth boblog, mai *disgyblaeth y cleddyf sydd i ddiwygio y byd.* Y mae yn llawn bryd i'r fath hen gyfeiliornad o ddyfais greulonaf cynghorfa uffern, gael ei ddiwreiddio o'r byd. Y mae wedi achosi drygau anrhif ac

anrheithiol. Y mae y disgyblwyr *arfog* yn mhob oes ac yn mhob gwlad, wedi gwneud llawer mwy i feithrin llygredigaethau y byd, nag i feithrin ei rinweddau; i gryfhau ei ormes nag i helaethu ei ryddid; i nychu dylanwad Cristionogaeth nag i gyflymu ei llwyddiant; ac yr wyf 'yn gobeithio fod yr amser yn ymyl pan y diarddelir eu gwasanaeth, ac y defnyddir moddion gwell i gael y byd i drefn ac i dawelwch. Hoff iawn gan rai ydyw yr hen air, am "Ymladd nes ennill heddwch;" neu yn ol iaith *figure* y Saeson, "*Conquer peace.*" Y mae synwyr i ystyr briodol iaith y Saeson; oblegyd "concro heddwch," ydyw ei ymladd nes ei ladd, neu ei yru ar ffo wedi colli y maes. Y mae yn dorcalonus i feddwl am "goncro heddwch," y cymwynaswr tirionaf, haelaf, ffyddlonaf a welodd y byd erioed. Dyweder, os myner, wrth darw gwyllt y goedwig am "ymladd nes enill heddwch;" ond na ddysger y fath athrawiaeth i greadur rhesymol—i *ddyn*—i GREDADYN—i GRIST-ION. Ni cheir byth heddwch ar y ddaear tra y pery dynion i feddwl ac i ddweyd—Mai trwy ddilyn ffordd rhyfel y deuir i ffordd tangnefedd.

---

AT-DDODIAD, HYDREF, 1864.

Ymresymodd yr awdwr mor gryf ag y medai yn erbyn y rhyfel *cyn* i'r tân dori allan. Yn ei ddychryn wrth feddwl am ddrygau andwyol *rhyfel cartrefol* mewn gwlad ëang, oludog, fel America, ac wrth weled fod yr argoelion am y fath ryfel yn amlhau ac yn cryfhau yn gyflym arswydus yn niwedd y flwyddyn 1860 ac yn nechreu 1861, ac wrth ofni fod ei gyfeillion drwy'r Gogledd yn rhy boeth dros ryfel, ac yn rhy ddiystyr o'i niweidiau ofnadwy, anturiodd grybwyll, mewn llythyr a ysgrifenodd yn Mawrth 1861, ychydig bethau ag oeddynt, yn ol ei farn ef, wedi bod yn niweidiol i heddwch y wlad, ac heb fod o ddim lles i achos gogoneddus rhyddid. Y mysg sylwadau eraill y llythyr hwnw, dywedodd fel y canlyn:—

"Ond yr hyn sydd wedi peri i mi fwyaf o syndod ydyw fod

miloedd o bobl oreu y Gogledd, weithiau dan gellwair a goganu, ac weithiau yn yspryd cynddaredd Capteniaid Sior y Trydydd yn anog y Llywodraeth i drefnu ei *byddinoedd* i "blygu" y Talaethau enciliedig drwy nerth RHYFEL. Yr wyf wedi rhyfeddu llawer eu bod yn medru siarad ac ysgrifenu cymaint, a hyny gyda y fath ysgafnder, am "blygu" y "gwrthryfelwyr" drwy *rym arfau*. Yr wyf yn rhyfeddu eu bod mor ddiystyr o ganlyniadau alaethus rhyfel cartrefol, rhwng ceraint o'r un gwaed, mewn gwlad fawr lydan o'r fath gyfathrach a thrafnidaeth ag sydd yn y Talaethau Unedig; a'u bod heb ddysgu eto—na lwyddodd *trais* erioed i wella unrhyw rwyg mewn gwlad nac eglwys. Pe gofynid fy marn am y pleidiau o *bob* ochr ag ydynt wedi bod yn hysio i ryfel drwy y misoedd diweddaf, byddai raid i mi ddweyd, nad oes genyf ddim cred yn eu dynoliaeth, na dim hyder yn eu gwladgarwch, na dim llawer o feddwl am eu synwyr na'u crefydd.

Y mae pwnc y gynen wedi achosi, neu o leiaf wedi achlysuro, *rhwyg* yn yr Undeb; a phe gofynid ar ba ochr y mae y bai? byddai yn hawdd dirnad barn yr ysgrifenydd—Nad yw ddim i gyd yn ochr y De. Pe gofynid eilwaith, Beth a wneir yn awr yn wyneb y rhwyg? Gellir dyfalu y byddai yn well genyf ei adael i aros yn rhwyg tragywyddol na chynyg ei wella drwy rym arfau. A ydyw yn rhy ddiweddar i'w wella drwy resymiadau boneddigeiddrwydd ac addfwynder? Nis gallaf ateb. Y mae wedi myned yn mhell. Pe gofynid wedi hyny, A ydyw yn anmhosibl i'r "toriad" aros heb i hyny achosi rhyfel rhwng y ddwy ochr? Yr wyf yn credu ei bod yn bosibl i'r ddwy ochr gydfasnachu mewn tangnefedd er i'r ymraniad aros. Y mae gwahanol *Dalaethau* yn awr yn cyd-dramwyo yr un afonydd a'r un moroedd; ac y mae hyd yn nod afonydd a moroedd Europe yn rhyddion i gydfasnach eu gwahanol deyrnasoedd; a phaham nad allai afonydd, ac aberoedd, a reilffyrdd America fod yn rhyddion i gydfasnach America er i'r Talaethau *ymranu* i fod yn ddwy Lywodraeth? Yr wyf yn gofidio oblegyd y rhwyg, ac yr wyf yn bryderus am iddo gael ei ad-

y blynyddoedd diweddaf wrth groes-dynu dan yr raeth. Y mae yn bosibl yr ymddygant yn fwy b tuag at eu gilydd fel dwy gymydoges, nag yr medru ymddwyn pan fel dwy *chwaer* yn yr un t mae yn bosibl hefyd y dylanwadant felly yn llawer er lles eu gilydd."

Dyna oedd iaith yr awdwr y *pryd hyny* am y " ac am y "rhyfel;" ond achlysurodd y llythyr hwn ei gam-ddarlunio drwy'r holl wlad fel dadleuydd dr iad, ac fel pleidiwr i drefn caethiwed; ac oblegy grifenodd yntau amryw lythyrau mewn hunan-am ac yr oedd yn ei fryd unwaith eu hadgyhoeddi oll, a yn ol trefn eu dyddiad, fel at-ddodiad i'r traethawd mewn hyder y cawsent ddarlleniad mwy di-duedd y ar adeg gynhyrfus cychwyniad y rhyfel. Buasai yn ddo ar amryw ystyriaethau eu hadgyhoeddi, am profi fod ei deimlad yn gryf dros ryddfreiniad a d Negro, ac yn gryf iawn hefyd yn erbyn y rhyfel, a t nefedd a llwyddiant yr Unol Dalaethau. Ond gan yn lled *feithion*, a chan eu bod wedi cael eu hysgrif ser nodedig o derfysglyd, ac mewn dadl â brodyr ganddo y parch uchaf iddynt, a chan eu bod yn cy lawer o ail-adroddiadau fel atebion i wrth-ddadleuon ceir eu sylwedd yn y traethawd blaenorol, y mae y ol ail-feddwl, yn *peidio* eu hadgyhoeddi ar hyn o br

mai pegwn yr anghytundeb rhyngddo a'i frodyr oedd, eu bod hwy am geisio gwella y rhwygiad drwy ryfel, ei fod yntau am oddef y rhwygiad os nad ellid ei adgyweirio heb ryfel, ac ychwanegodd y geiriau canlynol :

"Yr wyf yn cyfrif yr achosa *un* flwyddyn o'r fath ryfel fwy o niweidiau o bob natur—fwy o ddifrod ac o anghyfiawnder, fwy o gynddaredd ac o lofruddiaethau, fwy o wasgfeuon personol, teuluaidd a gwladol, fwy o boenau corff a meddwl, fwy o ddyryswch i fasnach, ac o ataliad i welliantau, fwy o dramgwydd ar ffordd ffyniant a derchafiad y wlad, a mwy o wanychdod ac o warth i grefydd ac i gariad, nag a ellid achosi gan gydweithrediad holl ddrygau eraill y wlad mewn pum' mlynedd ar hugain, os nad mewn haner can' mlynedd. Ceir cip-olwg, bob yn dipyn, ar erchyllderau y fath ryfel—ar ddrygau y gwersylloedd wrth 'ddysgu' parotoi i'r rhyfel ; ar ddifrod a chelanedd meusydd y rhyfel, a gwasgfeuon, dychryn y gweiniaid diniwed a gweithgar yn nhrwst y rhyfel ; a'r dyledion a'r beichiau a ddygir ar y gwahanol Dalaethau drwy y rhyfel ; a'r anhawsderau i ail-reoleiddio masnach, ac i adgychwyn gwelliantau ar ol y rhyfel ; a'r amcan dechreuol o'r rhyfel, sef gwella y rhwygiad, yn mhellach o'r cyrhaedd yn y diwedd nag oedd yn y dechreu. Yr wyf yn credu y gall Awdwr Rhagluniaeth dynu trefn allan o'r *chaos* erchyll presenol ; ond nid wyf yn meddwl y cymer lwybr *gwyrthiol* i wneyd hyny ; a rhaid i Ragluniaeth ei hun, yn ei dull arferol o weithio, gael diwrnod go hir, neu '*period*' lled faith i ddwyn trefn, allan o'r fath dryblith, i dynu da o'r fath ddrwg, ac i adsefydlu tawelwch ar ol y fath derfysg. Gobeithio gan Dduw y gall dylanwad Lloegr, neu ryw gyfryngwriaeth arall, gyflafareddu mewn cariad, cyn i'r wlad fawr hon gael ei dymchwelyd i ddinystr anadferadwy."

Mewn llythyr a ysgrifenodd yn Awst, 1864, ceir y dywediadau canlynol :

"Yr un ydyw yspryd rhyfel yn mhob ochr i'r *line ;* pa ochr bynag y ceir y bobl sydd dda ganddynt ryfel, y mae lle i ofni

[redacted]



eu bod, er eu holl siarad hunan-gyfiawn am gyfraith, a chyfiawnder, a threfn, yn elynion i rydd-ymresymiad—os na bydd i gyd oll yr un ochr—eu bod yn fradwyr i egwyddorion dyngarwch, a'u bod yn lliosogi rhwystrau a thramgwyddiadau ar ffordd gwelliant a dedwyddwch y byd.

Yr wyf am dystio unwaith eto wrth fy anwyl gyfeillion yn y Gogledd, fod fy nghydwybod o eigion ei theimlad yn hollol groes i'w cynlluniau rhyfel· Gall Rhagluniaeth dynu da o'r *rhyfel* erchyll hwn, fel o ddrygau erchyll eraill. Nis gwn beth a wna, ond gwn y bydd *drygau* y rhyfel yn *sicr*, yn uniongyrchol, yn lliosog ac yn drymion—gwn y gwasgant ar yr *holl* wlad, yn ei holl gysylltiadau : ac y byddant yn ddigon llydain i effeithio yn niweidiol iawn ar wledydd *eraill*, ac y *parhant* yn eu heffeithiau am lawer o oesau. Am y *da* a ddisgwylir o'r rhyfel, da mawr y proffwydoliaethau *dynol*, yr wyf yn ofni mai da *pell* ydyw, ac mai da *ansicr* ydyw ; ac os daw, y daw yn gloff ac yn araf, y daw yn anafus ac yn nychlyd, y daw dan ei greithiau a'i archollion, y daw a'i law yn rhuddiog, a'i wisg yn rhwygedig, a'i goron wedi ei thrybaeddu mewn llaid a gwaed : ac y daw felly pan y gallasid cael daioni cyflymach, helaethach, cyfoethocach ; a hyny drwy foddion mwy cyfiawn, ac anrhydeddus, ac efengylaidd.

Gellir gwario miliynau digyfrif, a difrodi amser ac eiddo anmhrisadwy, a dyrysu pob cangen o fasnach, a dryllio ffyrdd a phorthladdoedd, a llongau, a llosgi adeiladau a dinasoedd, a thywallt afonydd o waed : ond nid ellir byth *gyfanu yr Undeb drwy nerth arfau.*

Yr wyf yn credu mai amcan cyfansoddiad yr Undeb oedd noddi y Talaethau a *ddewisent* afaelyd yn ei gyfamod ac ymddiogelu dan ei amddiffyniad rhag *ymosodiadau estroniaid*, ac mai nid yr amcan oedd plygu a chosbi unrhyw Dalaeth a ddewisai droi allan o gylch rhwymyn yr amddiffyniad.

Yr wyf yn dymuno ffyniant cynyddol Talaethau y Gogledd mewn pob celfyddyd a gwybodaeth, a phob gras a rhinwedd ; ac yr wyf yn wresog awyddus am helaethiad eu dylanwad

*moesol* er derchafu eu gwlad, a lleshau y byd; ond yr wyf ar yr un pryd yn parhau i feddwl fod eu hyspryd a'u hymddygiad drwy adeg y rhwyg ofnadwy presenol wedi bod yn annedwydd; eu bod drwy gyndyn omedd dweyd *good bye* wrth y Talaethau enciliedig wedi colli cyfle ardderchog i arddangos eu mawrfrydigrwydd, ac i roddi siampl effeithiol i'r byd o nerth egwyddorion rhyddid pan mewn llawn weithrediad ar faes teg, allan o gyrhaedd pob cysylltiad *gwladol* â chaethwasanaeth. Yr wyf yn gostyngedig feddwl y buasai yn llawer dedwyddach iddynt adael i'r De fyned, a gadael iddi gael, nid yn unig y *Forts a'r Arsenals* oeddynt ar ei goror, ond cael tlysau hefyd, a dodrefn arian a dodrefn aur, yn rhodd, neu yn echwch, fel argoel o lawenydd am ei hymadawiad, ac o *hwc dda* iddi yn ei sefyllfa newydd o annibyniaeth. Yr ydys yn casglu mai amcan y Llywodraeth ar y cyntaf oedd gadael iddi fyned, ond darfu i ryfelgarwch goddeithiol y Gogledd ddiddymu cyngor dechreuol y Llywydd a'i weinidogion. Yr wyf yn credu y buasai yn anrhydeddusach ac yn well i'r Talaethau enciliedig aros yn yr Undeb; ac mai cyngor sylfaenwyr yr Undeb fuasai iddynt aros; ond gan eu bod wedi *gosod eu bryd* ar encilio, yr wyf yn meddwl y buasai yn well eu gollwng; ac mai camgymeriad oedd myned i *ryfel* er eu hatal. Yr wyf yr un farn a'm cyfeillion yn y Gogledd y gall eu byddinoedd hwy orchfygu byddinoedd y De; ond yr wyf yn ofni y bydd eu concwest yn *ddrud ofnadwy*, ac y bydd yr amcan, sef adgyweirio yr Undeb, heb ei gyrhaedd yn y diwedd.

Yr wyf wedi dywedyd lawer gwaith y buasai yn well i afradloniaid y De aros gartref na throi allan i gylch o brofedigaethau newyddion; ond gan eu bod yn *mynu* troi allan yr wyf yn barnu y buasai yn ddoethach ac yn gyfiawnach i'r rhieni a'r plant hynaf rannu iddynt 'gyfran' o'r da, a'u gollwng i'w ffordd, yn lle lluniaethu rhyfel i'w barbareiddio a'u dyfetha. Y maent wedi tyfu yn rhy fawr i'w '*whipio*.' Eu gadael i gynyg drostynt eu hunain fuasai y ffordd effeithiolaf i'w dwyn i ystyriaeth ac edifeirwch; a'r ffordd gyflymaf i gael y teulu i gydwledda eto mewn llawenydd a thangnefedd."

neb o'm cyfeillion yn y Gogledd. Yr wyf mor d
honynt am grefydd rydd—am wasg rydd—am ys
—am lafar rhydd—am fasnach rydd—ac am fa
gweithiwr, *du* a gwyn, gael gwobr am ei lafur; ac
fy mod braidd yn mhellach yn mlaen na hwy ar *d*
bwnc rhyddid, sef rhyddid masnach, a rhyddid da
y Negro. Yr wyf am fasnach berffaith rydd rhw
ydd y ddaear. Yr wyf am i bob dyn drwy'r Gog
gael rhyddid i ddadlu ei farn, am y RHYFEL, ac an
arall. Yr wyf am ryddid y Negro yn y De a'r *G*
wylltied fy nghyfeillion wrth i mi grybwyll am ry
Negro yn y GOGLEDD—ie yn y Gogledd oleu, o
mae yn cael ei gau allan, nid yn unig o hawlfraint
ond o ragorfreintiau yr addysg wladol ag y m
wneud ei ran tuag at ei sefydlu. Yr wyf am i'r
'*North*' gael yr un rhyddid a'r dyn gwyn wrth
ac yn yr ysgol wladol, yn y *railway car* ac wr
gwestdŷ, yn ngholegau dysg, ac yn *factories* c
llysoedd difyrwch, ac o gylch allorau crefydd.

Pe buasai y miliynau a wariwyd i ddwyn yn m
yn cael eu defnyddio at *wellliantau arosol*, gallase
reilffordd o brif points Dyffryn y Mississippi i bri
laddoedd y Môr Tawelog; a buasai hyny yn enw
America, ac yn lles i'r byd oll; ond nid i hyny
cael eu defnyddio. Gallasent heblaw hyny sefydl

ledd a'r De, ond nid i hyny y maent yn cael eu defnyddio. I ba beth ynte? I wrteithio hen lygredigaethau, ac i godi cnwd tew o lygredigaethau newyddion; i chwythu fflamiau cenfigen a chynen i oddeithio yn fwy arswydol nag erioed; i feddwi masnach i'r *delirium tremens*, ac i'w llyfetheirio yn ei gwely nes iddi gael amser i sobri; i osod i lawr sylfaen lydan i *standing armaments* i fod yn llochesau i segurwyr glythion a diog, ac yn gorff y farwolaeth ar foesau a diwydrwydd, a ffyniant y wlad; i enyn eiddigedd rhwng y câd-lywyddion, ar ol yr ymladd, pwy fydd i gael y lleoedd uchaf yn adeg moli a gwobrwyo eu medr a'u dewrder ar faes y gwaed yn mhoethder y frwydr; i fod yn ddrwg-siampl ac yn brofedigaeth i holl wledydd ereill y ddaear; i ddifrodi gwerth llawer pum' can' miliwn o eiddo mwy drudfawr na nodau y trysorlys; ac i achosi *marwolaeth* miloedd o'r ddwy ochr yn yspryd llofruddiog eu dialgarwch."

Mewn llythyr a ysgrifenwyd yn niwedd Mawrth, 1862, dywedais;

"Treuliasom yr haner blwyddyn diweddaf mewn pryder, wedi cael ein cau allan bron yn hollol o gyrhaedd pob hanes o helynt y byd, heb na llythyrau na newyddiaduron am fod byddinoedd gelynol yn gwersyllu ar y llinell rhyngom â chwi, ac nad allai neb fyned heibio iddynt heb berygl. Yr ydym wedi bod yn y lle mwyaf profedigaethus, drwy fod y sir yma a'r siroedd cymydogaethol mor *ranedig*, a bod y croes-bleidiau mor ddigofus wrth eu gilydd fel y maent am ddrygu eu gilydd yn mhob modd y gallant. Yr oedd y *ddwy* blaid yn hytrach yn ddig wrthym am nad oeddym yn gallu eu dilyn i'w heithafoedd; ond y gwir yw, gwyddai ochr yr Undeb yn bur dda nad oeddym ddim dros y rhwygiad, a'n bod gymaint am Undeb a neb o honynt; a gwyddai plaid y rhwygiad nad oeddym ni ddim am *rwymyn rhyfel* i gadw yr Undeb wrth ei gilydd."

Ysgrifenais y nodiadau canlynol i *Faner Cymru* yn nechreu Ebrill, 1864:

"FONEDDIGION Y FANER—

Y mae eich Gohebydd Americanaidd, yn y *Faner* am Ion-

[redacted]



awr 15fed, yn dywedyd fy mod i wedi cael 'triniaeth chwerw' am gyhoeddi fy marn, y buasai yn well i'r 'Gogledd' adael i'r 'De' fyned ar ei phen ei hun, na *rhyfela* er ei chadw yn 'nhrefn' yr Undeb. Dyna oedd fy marn *onest* ar enyniad y rhyfel, ac nid wyf eto wedi gallu newid fy marn; oblegyd y mae y rhyfel wedi troi allan yn fwy drudfawr a llofruddiog nag y meddyliais.

Cyhoeddodd eich Gohebydd fod gwaith S. R. yn gwrthwynebu y rhyfel yn anesboniadwy—ond yn unig ar y dybiaeth iddo gymeryd yn ganiataol mai 'rhyfel rhwng dwy wlad ydyw.' Y mae yn cydnabod, pe buasai y Gogledd a'r De yn 'ddwy wlad,' y buasai eu rhyfel yn anghristionogol; ond gan nad ydynt yn *ddwy* wlad, ond yn *un*, ei fod yn rhyfel cyfiawn a Christionogol. Da iawn genyf fod eich Gohebydd yn addef ac yn cyhoeddi mai peth anghristionogol ydyw rhyfel rhwng 'dwy wlad.' Yr wyf yn gobeithio y daw i weled, ar ol astudio am 'rai blynyddoedd yn rhagor,' fod rhyfel rhwng dwy ochr i'r *un* wlad yn anghristionogol. Yr wyf fi o'r farn fod rhyfel rhwng y 'Gogledd a'r De,' pan y maent yn 'un wlad,' mor anghristionogol ag a fyddai rhyfel rhyngddynt pe baent yn 'ddwy wlad,' ac na ddeil *logic* eich Gohebydd ddim o flaen cyfreithiau Cristionogaeth. Yr wyf yn barnu mai *civil* war, mewn gwlad fel America, ydyw y peth mwyaf anghristionogol a niweidiol a all byth fod ynddi. Ni chymerais yn ganiataol mai rhyfel rhwng 'dwy wlad' ydoedd, oblegyd gwyddwn o'r dechreu mai rhyfel *cartrefol mewn* gwlad ydoedd; ac yr wyf yn credu ei fod mor anghristionogol ag unrhyw rhyfel rhwng dwy wlad.

Y mae eich Gohebydd, fel holl wawdwyr eraill aelodau Cymdeithas Heddwch, yn rhygnu yn barhaus ar yr hen dant, na wnai S. R. ddim rhoddi ei ddwylaw yn ei logell i dderbyn ergyd marwol llofrudd haner gwallgof; ac na wnai ddim gadael i leidr bacio ei eiddo i'w cymeryd ymaith, os gallai luddias hyny. Y mae yn debyg na wnai. Ond a oes rhyw reswm i ddweyd pethau felly byth a hefyd wrth aelodau Cymdeithas

Heddwch, pan y maent yn dadleu dros i hen lywodraethau cymydogaethol derfynu eu dadleuon drwy gyflafareddiad? Gofynir iddynt, beth a wnant i leidr neu lofrudd, pan y maent yn rhesymu dros i hen alluoedd gwareiddiedig Cristionogol—hen alluoedd dysgedig a phrofiadol—hen alluoedd yn meddu eu Seneddau a'u brawdlysoedd, eu hathrofäau a'u heglwysydd—hen alluoedd yn meddu eu deddfwyr a'u barnwyr, eu cyfreithwyr a'u rheithwyr, a'u hathronyddion a'u duwinyddion—i derfynu eu dadleuon gwladol trwy bwyll mewn llys barn, yn lle drwy fin y cledd ar faes y gwaed. Nid yw amddiffynwyr rhyfeloedd ddim yn ystyried eu bod yn cymharu hen lywodraethau gwareiddiedig Cristionogol i lofruddion haner gwallgof, pan y maent yn gofyn o hyd o hyd i aelodau Cymdeithas Heddwch, Beth a wnaent pe byddai llofrudd haner gwallgof yn tori i'w tai? Y mae yn drwm i feddwl fod Ffrainc foneddigaidd yn edrych ar Loegr oleu fel llofrudd haner gwallgof, ac nad oes dim diogelwch rhagddo heb gadw byddin fawr dan arfau yn barhaus; a bod Lloegr yn edrych ar Ffrainc yn yr un modd: pan y byddai yn hawdd iawn i ddwy wlad o'r fath wareiddiad uchel, a'r fath fasnach ëang, ffurfio llŷs, pe dewisent, i derfynu eu holl ddadleuon. Y mae Cymdeithasau Heddwch yn tybied fod barn a rheswm, a gwareiddiad a Christionogaeth, gan *hen lysoedd* mawrion y ddaear; ac y gallent yn hawdd, pe dewisent, *gytuno* i derfynu eu dadleuon mewn llŷs rheolaidd; ac yna y gallent gysegru treuliau eu sefydliadau milwraidd at ryw weithiau buddiol. Yr wyf yn credu y gwnant hyny bob yn dipyn; ond y maent yn hynod o araf i ymwadu â'u hen grefft enwog a gogoneddus: ac y mae pob un o honynt yn meddwl ac yn taeru bob amser, pan yn myned allan i ryfel, fod ei achos ef yn gyfiawn ac yn Gristionogol, ac mai ei gymydog yw y lleidr a'r llofrudd. Y mae yn ofnadwy i feddwl fod treuliau sefydliadau milwraidd Prydain wedi mwy na *dyblu* yn ystod y deng mlynedd diweddaf—yn adeg agoriad amrantau y mil blynyddoedd, pan y dylasai gysegru ei nerthoedd at welliant y byd. Ac y mae yn debyg fod Ffrainc,

[redacted]



a galluoedd eraill Ewrop, wedi trymhau beichiau eu sefydliadau milwraidd yn yr un modd.

Y mae fy 'ngwrthwynebwyr' yn America wedi ceisio cael *handle*, neu nerth i'm herbyn, drwy ddiwyd gyhoeddi fy mod yn boethwyllt yn erbyn gwlad fy ngenedigaeth; ond y mae rhai o honynt wedi trin mwy ar Loegr, yn y chwe' mis diweddaf, nag a driniais i drwy fy holl oes; ond fod hyn o wahaniaeth rhyngom—fy mod *i* wedi trin o ofid calon am fod difrod rhyfeloedd yn nychu nerth, ac yn cymylu gogoniant hen wlad fy nhadau, ac yn ataliol ofnadwy i ffyniant a dedwyddwch y byd: a'u bod *hwythau* yn trin eisieu cael mwy o ddisgyblaeth y cleddyf er cael y byd i'w le. Yr oeddwn i yn canmol America am fod yn *neutral* yn adeg rhyfelgyrch y Crimea, pan oedd rhai yn Lloegr, mewn yspryd chwerw, yn lladd ar America; ac yr wyf yn canmol Lloegr yn awr am sefyll yn *neutral* ar enyniad y rhyfel yn America. Y ffaith ydyw, y maent hwy a minau yn hoffi cael trin, neu ganmol, fel y gwelom yn dda; ond y maent yn dangos cryn 'anwybodaeth' wrth fy rhestru yn nosbarth *John Mitchell;* oblegyd yr ydwyf wedi bod, drwy fy oes, yn erbyn pob *Siartiaeth*, *Rebeccayddiaeth*, a *Mitchelliaeth*. Yr wyf wedi arfer dadleu dros ddefnyddio y tafod a'r ysgrifell er cyrhaedd gwelliantau a diwygiadau; ac yn erbyn defnyddio y ffagod a'r cleddyf, mewn unrhyw amgylchiad, er ceisio gwella y byd. Yr wyf yn gwresog garu hen wlad fy nhadau, ac yn diffuant ddymuno ei llwyddiant; a hyfryd iawn genyf weled fod y *Cymry* yn gweithio mor egniol yn y dyddiau hyn gyda'r gwelliantau celfyddydol a moesol. Gwelais gryn lawer o ormes yn yr hen wlad, a rhesymais ac ymbiliais yn ei erbyn mor gryf, ond mor wyneb-agored ag y medrwn. Dadleuais yn erbyn difrod a chreulonderau ei *rhyfeloedd*, a'r beichiau trymion cydfynedol â hwy: yn erbyn gormes trethiadau ei llysoedd *eglwysig*, a rhai pethau eraill a ystyriwn yn ddianrhydedd ac yn wendid iddi; ond bum yn astudio fy ngwersi mewn ysgol uwch nag ysgol John Mitchell.

Yr oedd yn drugaredd annhraethol na ddarfu i'r brofedig-

aeth boeth ddiweddar rhwng Lloegr ac America, a dorodd allan mor sydyn o'r rhyfel presenol, ddim chwythu ei fflamau anrheithiol ar draws holl ffyrdd y moroedd, i holl borthladdoedd ymerodraeth Prydain yn mhob cwr o'r byd. Y mae genyf barch cynes i'r dosbarthiadau dyngarol lliosog o ddeiliaid Lloegr—yn mysg ei deddfwyr, a'i marsiandwyr, a'i hareithwyr, a'i hysgrifenwyr, a'i chelfyddydwyr, a ddadleuasant mor gryf ac mor amserol am i'r ddadl gael ei therfynu drwy *gyflafareddiad*, yn lle drwy ryfel. Y mae genyf barch uchel i weinidogion llywodraeth Lloegr, am osod eu hachos ger bron mewn dull mor bwyllog, ac mewn tôn mor foneddigaidd. Y mae genyf barch uchel hefyd i lywodraeth America, am groeshoelio pob nwyd, a symud ar unwaith yr achos o'r enbydrwydd : ond nid oes genyf ddim parch i'r dynion ffroenuchel poethwylltion yn Lloegr a wnaethant eu goreu i enyn y tân, ac i hysio i ryfel ; ac yr wyf yn llwyr ffieiddio yr yspryd 'uffernanedig' oedd yn ymchwyddo ac yn ymweithio yn llawer o lysoedd a swyddfeydd America, i 'gofio i Loegr eto,' ac i gadw 'digofaint erbyn dydd digofaint ;' oblegyd y mae yr yspryd balch dialgar hwnw, os gall gael ei ffordd, yn sicr o lenwi y byd â galanasdra rhyfel.

Y mae yn dda iawn genyf weled fod teulu y *Faner* yn gweithio mor enwog o blaid achos pwysfawr a gogoneddus rhyddid ; a gobeithio y parhant i ddadleu o blaid *pob* iawnderau cymdeithasol, ac i ymgais yn ddiflino am dangnefedd y byd. Darfu i'r *Faner* roddi benthyg ei hedyn llydain i daenu y gair fod S. R. wedi ymwerthu i fod yn bleidiwr caethiwed, ac yn fradwr i achos rhyddid. Yr ydwyf yn gallu fforddio maddeu i 'foneddigion' y *Faner* am hyny o annhegwch ; o blegyd yr wyf yn gwir lawenhau eu gweled mor selog dros iawnderau Ymneillduwyr, a iawnderau pleidleiswyr, a iawnderau tenantiaid ; a'u bod mor wresog o blaid rhyddid gwladol, masnachol, a chrefyddol ; ond y mae fy '*hen* ddyn' am alw i'w cof fod S. R. o'u *blaen* hwy ar *bob* cangen o bwnc mawr rhyddid. Dechreuodd o'u blaen o ddigon, cadwodd o'u blaen

[redacted]



yn gyson drwy ei holl yrfa hyd yma, ac y mae yn bwriadu *cadw* o'u blaen hyd y diwedd ; gan wybod, os gwna hyny, y ca sefyll yn ei ran yn myd y goleuni a'r cyfiawnder.

Byddai yn dda iawn genyf allu bod yn fwy ffyddlawn i eiriau cyfraith ddwyfol y bregeth ar y mynydd, bod yn fwy pur i egwyddorion Cristionogaeth, a bod yn fwy caeth fy meddwl i ufudd-dod Crist ; ond byddai yn dda iawn genyf, ar yr un pryd, pe hyfforddid ieuenctyd yr oes i deimlo gyda golwg ar *ryfel*, fel ag y dysgwyd fi i deimlo o foreuddydd fy mebyd. Pe hyfforddid ieuenctyd yr oes yn egwyddorion tangnefedd, nid hir y byddent heb ddiwreiddio drygau chwerwon-rhyfel o'r byd ; a byddai gwaredigaeth o'r dosbarth hyny o'i ddrygau yn nerth ac yn gysur anrhaethadwy i'w holl deyrnasoedd. Ond tra y pery dynion *da* i feddwl a son, a phrydyddu ac ysgrifenu ar ddylanwad rhyfel fel moddion gwerthfawr i wella y byd,—tra y parhant i ganu a gweddïo a phregethu am fuddioldeb y fath foddion cnawdol,—tra y parheir i weithio arfau rhyfel, i ddyfeisio dulliau newyddion i estyn nerth magnelau rhyfel, ac i wisgo agerfadau rhyfel â haiarn, fel y gallont dori eu ffordd i borthladdoedd marsiandïaeth, i losgi y cyfan o'u deutu,—tra y parheir i 'ddysgu rhyfel,' ac i ogoneddu gorchestion rhyfel, ac i wobrwyo dewrder milwraidd fel rhinwedd uchaf cymdeithas, ni bydd dim gobaith am i'r byd gael gwaredigaeth o lygredigaethau a beichiau ei ryfeloedd.

Y mae y drychau a gawn o ryfeloedd *pellenig* yn ofnadwy ; ond y mae ein dychryn yn trymhau pan y bydd rhyfel *wrth ein drysau* Yr wyf fi, yn ystod y naw mis diweddaf, wedi treulio dyddiau o bryder yn swn twrf magnelau yn diaspedain yn y glynoedd o'm deutu. Ni bum ar linell ymdaith y prif fyddinoedd, nac yn edrych eu gwersylloedd, nac yn gweled olion eu difrod ; ond yr wyf mewn parth o'r wlad lle y bu llawer 'ysgarmes' rhwng mân-fyddinoedd '*irregular.*' Buom am fisoedd heb allu symud oddi yma i chwilio am ein llythyrau ; a phan oeddwn yr wythnos ddiweddaf wedi anturio myned i Monticello, mewn gobaith i gael *rhai* o'r Cyhoeddiadau o

Gymru, clywais, pan yn dychwelyd adref, fod brwydr boeth yn nglyn coediog yr afon, o fewn llai na deng milldir i'm cartref, rhwng cant a haner o *Union-guard* ein sir ni, a thros bum' cant o wŷr y De. Yr oedd fy nghalon yn curo yn drom bob cam o weddill y ffordd adref. Yr oedd yn llon genyf weled fy mrawd a'i briod a'u merch fach yn fyw, a'n tŷ coed, a'm *hychydig* lyfrau a phapyrau, heb eu llosgi. Ond yr oedd gwŷr y De wedi bod yn ymyl cylchynu *home-guard* ein sir; a phe buasent yn deall eu nerth y pryd hyny, gallasent eu dyfetha neu eu cymeryd: ond ciliodd pob ochr mewn brys, gan dybied fod yr ochr arall yn cael *adgyfnerthion*. Bu y camgymeriad yn drugaredd i'r ddwyblaid. Lladdwyd tua haner cant o'r Encilwyr. Gobeithio mai dyna yr ymosodiad *olaf* ar y sir yma. Ein penderfyniad ni o ddechreu y rhyfel oedd aros yn llonydd, gan ddweyd wrth bawb a welem ein bod am heddwch, a bod yn well genym farw ar ein haelwyd gartref na myned allan yn *soldiers*. Bu yn y cylchoedd yma *frodyr* o'r un teuluoedd yn tanio yn erbyn eu gilydd. Y mae yn echrydus meddwl fel y mae y rhyfel yn llygru ac yn gwylltio, yn cynddeiriogi ac yn barbareiddio, teimladau ein cyd-ddynion—mor ysgafn y maent yn siarad am saethu eu gilydd, ac am andwyo amgylchiadau eu gilydd! Drwg trwm iawn mewn gwlad ydyw *caethiwed*. Drwg trwm iawn mewn gwlad ydyw *ymbleidio* i rwygo ei hundeb; ond drwg trymach na'r ddau ydyw ei lenwi â *rhyfel*, gan feddwl y gellir sefydlu ei rhyddid a'i hundeb drwy gynddaredd a barbareidd-dra rhyfel. Pan y byddis am ladd a dystrywio, gall rhyfel ateb y dyben; ond pan y byddis am *adgyweirio*, dylid defnyddio moddion moesol, a hyny mewn yspryd addfwynder.

Yr wyf yn gobeithio fod digon o Gristionogaeth yn America i nychu yr yspryd poethwyllt sydd am '*whipio*' *John Bull;* ac yr wyf yn gobeithio hefyd fod digon o Gristionogaeth yn Lloegr i lethu yr yspryd uchel sydd am roddi y '*brush*' i *Jonathan*."

Ysgrifenais y llythyr byr canlynol i'r *Cronicl* yn nechreu Mehefin, 1864:

[redacted]



"Y mae y sir yma wedi bod yn bur ffyddlawn i achos yr Undeb o ddechreuad y gwrthryfel, a hyny pan oedd deniadau a bygythion y gwrthryfelwyr yn gryfion a lliosog ar bob llaw. Darfu i bron holl *ddynion* y sir daflu pob gwaith a gofal o'r neilldu, ac ymrestru fel '*home-guard*' *gwirfoddol*, a chyhoeddi eu penderfyniad i sefyll dros yr Undeb, ac i amddiffyn eu cartrefi; a hyny mewn yspryd mor hyf, ac mewn iaith môr gref, fel yr oeddym mewn dychryn trwm drwy y misoedd, rhag y buasai yr holl sìr yn cael ei gwneud yn faes celanedd a difrod. O fyddin fawr yr Undeb ni ddaeth neb drwy yr holl amser i'w cynorthwyo. Yr oeddym yn dysgwyl y gallesid hebgor un fintai o'r fyddin o dros saith gan' mil o arfogion i noddi darn canoldirol o'r wlad ag oedd wedi bod mor ffyddlawn i'r Llywodraeth; ond ni ddaeth neb i'r cylch yma, er iddynt gael llawer o 'Volunteers' o'r sir yma. Yr oeddwn i o'r dechreu am i'r ddwyblaid, yn y parthau hyn, aros yn llonydd, a chadw yr heddwch at eu gilydd, gan adael i'r ddadl gael ei phenderfynu gan yr awdurdodau, neu gan y byddinoedd mawrion rheolaidd, yn lle ymffurfio yn yn *fân*-finteioedd, yn y cwm yma ac ar y bryn arall, i anrheithio a llofruddio eu gilydd; gan adael rhyddid i'r sawl fyddant yn boeth am gymeryd eu rhan yn y rhyfel i droi allan i'r fyddin reolaidd i ymladd dan eu baneran priodol; ond yr oedd y *ddwy*blaid yn rhy boethwyllt i feddwl am unrhyw gynllun 'Merozaidd' felly; yr oedd y ddwy blaid am godi i fod yn 'gynorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn' yn y manau lle yr oeddynt: ac y maent wedi bod yn gwylio am gyfleusderau i ddrygu eu gilydd drwy yr holl amser er dechreu y rhyfel: ac y maent yn parhau yn derfysglyd a chynhyrfus. Lladdwyd yn ddiweddar gymydog boneddigaidd i ni, pan oedd yn aredig yn ei faes. Yr oedd ei dad a'i deulu dros yr Undeb, ac yr oedd yntau wedi bod felly ar y cyntaf; ond hudwyd ef gan rai o'i deulu-yn-nghyfraith i finteioedd y gwrthryfel, a dywedir ei fod gyda chwmni o honynt mewn dwy ysgarmes fu yn ymyl yma ddeng wythnos yn ol; ond yr oedd wedi gadael yr encilwyr, ac wedi dychwelyd i drin

ei faes. Dichon ei fod yn rhy anturiaethus, oblegyd gallasai wybod fod gelynion iddo yn y gymydogaeth. Saethwyd o'r goedwig ato gan dri neu bedwar ar unwaith, pan yr oedd ei ddwy law ar yr aradr, a syrthiodd yn farw yn ngolwg ei deulu. Yr wyf fi yn ystyried pob tro felly yn fradlofruddio, pa un bynag ai dyn dros yr Undeb, ai dyn wedi ei hudo i'r gwrthryfel fydd yn syrthio; ac y mae yn fynych iawn ryw ymgreuloni i dalu y pwyth am bob bradlofruddiaeth felly.

Hysbyswyd i ni ddoe gan ddwy fintai oedd yn ffoi heibio yma o ardal Kingston, ryw ddeugain milldir islaw i ni, fod o ddeutu yno lawer iawn o drais wedi cael ei gyflawni y dyddiau diweddaf, mewn lladrata, a difrodi meddianau, a dychrynu teuluoedd, ac anmharchu gwragedd; ond y mae cymaint o newyddion yn cael eu *gwneud*, er mwyn i'r sawl fydd yn eu cario gael digon o faich i nerth eu doniau, a digon dros ben i dalu am eu bwyd a'u llety, fel y mae yn fynych yn anhawdd iawn gwybod beth sydd yn wirionedd. Eithr y mae yn ddigon eglur fod y dyhirwyr diog, meddwon, a lladronig, sydd yn cymeryd achlysur o derfysgoedd y rhyfel i borthi chwantau a nwydau eu cybydd-dod, a'u trythyllwch, a'i dialgarwch, yn greulonach o lawer na milwyr maes y frwydr. Ac yr wyf yn ofni y bydd '*gwylliaid*' felly yn crwydro am ysglyfaeth, drwy goedwigoedd hyfryd y cylchoedd hyn, am gryn amser; ond yr wyf ar yr un pryd yn gobeithio, pe unwaith y sefydlid heddwch y ffrwynid y fath aflywodraeth, ac y ceid pethau i dawelwch a threfn. Y mae rhai o'n cymydogion wedi bod yn ceisio planu *corn* y dyddiau diweddaf, bron ar ddiwedd y tymor; ond y maent yn barod i droi eu harfau *braenaru* heibio, ar y rhybudd lleiaf, er gwisgo eu harfau rhyfel yn eu lle.

Cawsom sypyn o lythyrau yma wythnos yn ol oddiwrth wahanol gyfeillion yn y Gogledd. Yr wyf yn cael lle i gasglu fod yno ambell un, yma ac acw, yr un deimlad a mi gyda golwg ar y rhyfel annaturiol hwn rhwng wyrion yr hen Washington a'u gilydd; ond yr wyf hefyd wedi cael digon o seiliau i gredu ac i wybod fod cymaint o *drin* wedi bod arnaf yn mysg llaw-

[redacted]



eraill o'r Cymry ag a fu o dan ar hyd yn nod Jeff. Davis ei hun; ac y buasai ambell i *Gymro*, yn ngwres ei ddyngarwch, yn hoff cael cyfle i estyn S. R. er gwasanaeth i achos Rhyddid ac Undeb. Yr wyf yn dymuno Rhyddid ac Undeb, a ffyniant ac enwogrwydd America mor ddiffuant ac mor wresog ag unrhyw Gymro sydd o'i mewn; ac y mae y teimlad hwnw am ddyrchafiad America wedi bod yn *cryfhau* yn fy mynwes am bellach dros ddeugain mlynedd. Gobeithio y bydd i Ragluniaeth, yn ei doethineb a'i thrugaredd, dynu daioni o ddrwg y rhyfel; ond yr wyf yn parhau i feddwl y gallasai dysg a doniau, a chyfoeth a chelfyddyd, a dynoliaeth a chrefydd y Gogledd gref bobleg gael ffordd well nag y mae wedi gymeryd i weithio a dylanwadu er rhyddid, a chyfoeth, a chodiad, eu gwlad.

Y mae y byd yn hoff iawn o addoli y blaid *fuddugol* bob amser ac y mae rhai yn meddwl, gan fod y rhyfel yn troi allan mor 'llwyddianus,' fy mod inau, fel rhai eraill, yn 'newid fy marn' am dano. Nid oes dim newid wedi bod yn fy marn, oddieithr bod fy nheimlad yn myned yn drymach yn erbyn y rhyfel bob dydd ac awr y meddyliaf am ei draul, a'i ddifrod, a'i alanas, a'i ddylanwad ar foesau, a masnach, a holl gysylltiadau y wlad. Y mae wedi troi allan eisus yn un llawer meithach a *drutach* nag y meddyliais. Yr oeddwn wedi dychymygu ar y cyntaf y buasai yr hyn a elwir, y 'Llwyddiant presenol,' wedi dyfod er's yn mhell dros chwe' mis. Fy nghamgymeriad ar y pen hyny oedd—Fy mod yn meddwl y buasai yn waith llawer *byrach* ac *ysgafnach* i gyrhaedd y 'llwyddiant.' Fy nghyfeiliornad oedd meddwl rhy fach am ddrygau y rhyfel, ac nid meddwl gormod. Buasai *cwarter* y nerth, a'r dawn, a'r draul, a ddefnyddiwyd i ddwyn yn mlaen y rhyfel, ond cael eu defnyddio mewn yspryd priodol, i gefnogi gwelliantau, ac i feithrin cydymdeimlad a chydweithrediad yn y wlad, yn effeithio er ei chyfoethogi a'i dedwyddu i raddau uwch nag y gellir byth ddirnad.

Y mae gwaith y Llywydd yn cynyg *tâl* yn awr ar yr unfed

awr ar ddeg, i'r rhai a foddlonant i ryddhau eu caethion, yn gyhoeddiad o'r gadair uchaf, ac o enau un o gyfreithwyr penaf yr oes, ei bod yn deg i'r llywodraeth *gyffredinol* gymeryd ei rhan o'r golled, a ddygwyd ar y wlad drwy '*compromise*' melldithiol y Tadau, i gyfreithloni caethiwed dan ddeddfau cyfansoddiad yr Undeb. Pe buasai cynygiad o'r fath yn cael ei wneud ddeng mlynedd ar hugain yn ol, neu ddeng mlynedd yn ol, mewn yspryd cymodlawn, mae'n debyg y buasai melldith drom hen 'compromise' y Tadau wedi cael ei ddileu cyn hyn; a buasai y cynyg yn gallu gweithio yn *ysgafnach* nag y gall weithio yn awr, pan yr ydys newydd dynu dyled ar y wlad o *fil o filiynau o ddoleri*, neu ddau can' miliwn o bunau, ac wedi ei cholledu mewn ffyrdd eraill i *filoedd o filiynau*, heb son dim am y llygredigaethau a'r dyoddefiadau cysylltiedig â'r rhyfel; ond dichon y bydd y wlad yn *haelach* a *boneddigeiddiach* pan dan ei beichiau a'i chlwyfau, nag y buasai mewn adeg o lwyddiant. O leiaf, y mae cynygiad y Llywydd yn gyffes o'r fath gyhoeddusaf o'i farn *ef* a'i *gynghorwyr*, fod peth pwysig *heb* gael ei wneud ag a ddylesid wneud, er tòri iau y Tadau, a chael y wlad yn wlad rydd. Y mae y cynygiad yn dyfod yn un trwm iawn yn awr, pan y mae yn dyfod fel *ychwanegiad* at y beichiau arswydus presenol. Ond dichon mai 'gwell hwyr na hwyrach.' Os oedd yn deg saith mlynedd ar hugain yn ol i bobl *Lloegr* dalu am gaethion ei thalaethau *pellenig*, er mwyn eu rhyddhau, y mae yn decach i bobl America dalu am gaethion ei thalaethau *cartrefol*, er mwyn cael eu gwlad ardderchog yn wlad rydd; ond buasai yn hawddach iddi wneud hyny ddeng mlynedd ar hugain yn ol, nag ydyw iddi wneud hyny dan feichiau trymion dyledion a difrod y flwyddyn ddiweddaf. Dichon fy mod yn camddeall deddfau yr efengyl; ond yr wyf yn parhau i feddwl y buasai cyfeillion Rhyddid yn y wlad oleu, gynyddfawr, gyfoethog yma, yn medru gweithio caethiwed allan o wynt heb gymhorth cleddyf y rhyfelwr, na chymhorth aur y Trysorlys, pe buasent yn milwrio yn erbyn y drwg yn arfau ac yn yspryd Cristionogaeth. Pe gallwn feddwl

[redacted]



fod Tywysog y tangnefedd, yr hwn sy'n adwaen y ddwy ochr, ac yn gwybod hefyd am yr holl helynt, yn *cyfiawnhau y rhyfel*, ceisiwn ymostwng ac edifarhau am i mi erioed ysgrifenu gair yn ei erbyn."

Yr oedd S. R. yn credu er ei ddyfodiad cyntaf i'r wlad, y buasai mwy o gyfathrach rhwng y Gogledd a'r De yn dylanwadu yn dda er symud eu rhagfarnau, ac er eu lleshâu yn mhob ystyr, fel cymydogion a chyd-ddeiliaid; ac fel gwladwyr a chrefyddwyr: a bu yn rhesymu yn y dull goreu ag y medrai dros *feithriniad yr Undeb* drwy ystod y ddwy flynedd cyn i'r gwrthryfel dori allan. Yr oedd yn credu y buasai gorpheniad y *Reilffordd Ganoldirol* o Lexington, Kentucky, i Knoxville, Tennessee, er cysylltu reilffyrdd Ohio ac Indiana â reilffyrdd y De, yn foddion i fwyhâu cydfasnachaeth y ddwy ochr; ac felly i gryfhâu eu cyfeillgarwch; ac ysgrifenodd amryw lythyrau dros hyny: ac y mae am adgyhoeddi yr *olaf* o honynt, yr hwn a ymddangosodd yn rhai o newyddiaduron y Gogledd a rhai o newyddiaduron y De yn niwedd y flwyddyn 1860, er profi i'w gyfeillion fod ei galon yn curo yn gryf ac yn gynes *o blaid yr Undeb;* a'i fod am rwymyn *newydd* i'w gyfnerthu, yr hwn a fuasai yn werth llawer mwy na deng mil o fagnelau. Yr oedd yn meddwl ar y pryd, ac y mae y meddwl hyny yn cryfhâu o hyd yn ei fynwes, y buasai yn hawdd i dalaethau cryfion y Gogledd drwy eu crefydd a'u cyfeillgarwch, a'u dysg a'u hathrylith, a'u celfyddyd a'u cyfoeth, ddylanwadu er nychu nerth caethiwed yn y De; ac yr oedd ei siomedigaeth yn chwerw, ar enyniad y rhyfel, wrth weled y Gogledd enwog yn taflu oddiar ei llaw y fath gyfleusderau gwerthfawr i wneuthur lles trwy ei dylanwad *moesol;* ac yr oedd yn naturiol iddo, wrth weled nwydau rhyfel yn fflamio drwy Dalaethau y Gogledd, ddefnyddio geiriau cryfion i amlygu ei siomedigaeth a'i syndod: oblegyd yr oedd wedi *hir* feddwl mai Rhydd-dalaethau America oeddynt i fod y rhês flaenaf o Fyddin yr Oen yn yr ymdrech *foesol* i enill buddugoliaethau *heddychol* teyrnasiad Cristionogaeth.

Ysgrifenodd y Llythyr canlynol am agosach ac anwylach Undeb rhwng dwy ochr y wlad, ar y pumed o Ragfyr, 1860, at W. M. Corry, Yswain, o Cincinnati:

"Dear Sir: I have just received your Railroad Speech, delivered September 17th, at the Merchant's Exchange, Cincinnati, in favor of the contemplated 'Midland Route to the Gulf' by way of Knoxville; and have examined its facts and figures, and arguments and conclusions with care and interest; for they corroborate and amplify statements which I had advanced two years back in some Cincinnati and Kentucky and Tennessee papers.

I am well acquainted with the route via Knoxville which you so fully describe, and so strongly recommend; and am persuaded that the following propositions respecting it can be demonstrated:

1. That it would be the Central, or most direct Midland route between Cincinnati and the markets of the South.

2. That it is the line which ought to have had the earliest attention and countenance of the merchants, and manufacturers, and artizans of Cincinnati, and of the agriculturists of Ohio and Indiana and Kentucky, as it would have opened the best markets for their produce and manufactures.

3. That the neglect, for the past twenty-five years of a *midland* opening of such vast commercial value, has been a loss of incalculable extent to the interests of the three fine midland states just mentioned.

4. That the loss occasioned by such suicidal neglect of this direct midland route between the Queen of the West and the railways of the South, is progressively increasing every year.

5. That this long neglect of a midland line of such social and commercial importance is attributable not so much to ignorance of its advantages, as it is to *political prejudices* unworthy the high and wide reputation of this great Union, and injurious to the advancement of its highest interests.

6. That Cincinnati, and the districts surrounding it, have

[redacted]



during the past twenty years, liberally aided railways less advantageous to their progress than would have been this *Central* line of communication with the ports and markets of the South.

7. That the completing of the link of eighty miles from Danville, Kentucky, to the Tennessee line would be but a light and easy undertaking for the combined energies of the rich commonwealths of Ohio and Indiana and Kentucky, led on by the Queen of the West, and aided by the far-seeing Proprietor of the Kentucky Central Railroad.

8. That Tennessee has already graded the heavier half of her portion of the line; and has covenanted to complete her sixty-three miles so as to meet her Ohio neighbors at the Kentucky line by any time they may specify.

9. That the Elk Gap, the highest elevation on the line, is lower than that of the Bristol Station in the valley of the East Tennessee and Virginia Railroad; that the Elk Gap is only 752 feet above the rail at Knoxville; and only 1650 feet above tide-water; and that it can be easily surmounted from Powell's Valley with a grade of only thirty-five feet per mile, —a grade deemed light and easy for the heaviest freight trains.

10. That the completion of this Midland Route from Cincinnati to Knoxville, would directly connect the eight thousand miles of railways that would be linked to its north end, with the eight thousand that would be linked to its South end.

11. That the Iron and Coal of the Elk Gap districts are admitted to be of a better quality than any yet found in any part of the Union.

12. That that superior Coal and Iron could be shipped by such a *midland* rail, not only down to the South, but even to Cincinnati and Louisville, at less cost than any that can be supplied from Alleghany or Pittsburgh.

13. That such a midland rail would prove a saving of great importance to those Cincinnati and Pittsburgh manufacturers who have, and have had for many years, to procure large quantities of East Tennessee Iron by the slow and uncertain navigation of the Tennessee and Ohio rivers.

14. That patriots of master-minds and of the widest experience; looking at the project from its North and South sides, have for years, advocated the doctrine of your speech—That a *direct* southern connection would be worth more to Cincinnati than any of her other railroads; and that the Knoxville route, as being the most direct and central, and tapping a region so rich in Coal and Iron, has all the 'advantages,' and but very few of the 'drawbacks.'

I beg to *repeat* here a few words used by me more than two years ago as advocating the completion of this useful enterprise.

I never think of the country between Knoxville, Tennessee, and Lexington, Kentucky, without astonishment that there is as yet no *midland* connecting link between the Railways of the North and the Railways of the South. Railways have now grown to the days of their strength. They have stood the test of thirty years. They at first, like all other great improvements, encountered difficulties; but their utility has now been long established, and their worth is progressively *increasing*—for of late years improvements of great value have been effected, not only in the construction of roads and rails, and cars and engines, but in the whole economy of working them; and America, nobly rising and marching in her might, is now decidedly ahead of all the countries of the world as to the extent and utility of her railroads. She has in operation over 28,000 miles of railroad, in which more than a thousand millions of dollars have been invested; but even to this day she has no *midland* rail communication between her Northern and Southern States! She has allowed a narrow strip of land to stretch its ugly length for more than five hundred miles along the boundary of two of her *oldest* States, across the very center of the country, between the North and and the South; and she has, as yet, attempted no railway cutting across it! Should the midland population of each side of that idle slip of land attempt to traffic together, or to carry on any description

[redacted]



commerce or intercourse, they must make a circuit of more than a thousand miles, around its Atlantic end, or around its Mississippi end. Whereas, if there had been a *midland* railway across the small of its back, the distance would have been less than two hundred miles. A line from the lowest point of the Northern railways at Nicholasville, Ky., through the Elk Pass, to one of the *chief* stations of the Southern railways at Knoxville, would be less than one hundred and fifty miles. There has been much said and written about opening that line, or filling up that blank, so as to complete this link of connection between the two great sections of the Union; but very little has been done for the past two years. There has been enough of rest, and more than enough of debilitating lethargy. It is time to wake out of sleep, and to gird up the loins to commence anew with redoubted energy and earnestness. The completion of that connecting link would be a new bond of Union, of undying strength, around the very center of the country. It would be a large artery for the transfusion of fresh healthy life-blood from the heart to the extremities. It would be a reinvigoration of the whole body, for it would prove a grand trunk-nerve, for the transmission of full currents of strength and activity from one end to the other. It would be a kind of electric medium for the virtues of the North to flow down to the South, and for the graces of the South to flow up to the North, and both sides would be greatly gainers by such an admixture. It would convey produce from the South that would be of important value to the North, and would convey produce from the North that would be most useful to the South. It would be a central communication for vast varieties of traffic between the great midland markets of the North and all the ports and cities of the South; it would open a large central district of exhaustless mineral wealth, and prove a feeder of rich interest to the railways which it would connect. It would bring into culture extensive midland districts of the healthiest and lovliest character, which have hitherto been almost entirely overlooked and neglected.

It would be a midland communication, of vast commercial and political advantages, and would be of the highest and purest social and religious gain to the whole country ; but as yet there has been no righteous awakening to a comprehensive sense of its importance, and consequently no adequate effort has been made to open such a communication. The North imagines that the greatest gain from it would accrue to the South, and it therefore turns aside unconcerned. The South supposes that the heaviest portion of the gain would go to the North, and it looks away with indifference. The Centre calculates that the two ends would engross the lion's share of the gain, and it heartlessly passes its days in idleness. Thus the parties more directly interested coldly keep aloof from each other under the blighting influence of misgivings, and of jaundiced misapprehensions and miscalculations. The have no full, friendly open consultations for mutual enquiry and explanation and counsel. They forget the first principles of the laws of combination and co-operation and mutuality. If they could have but one or two meetings for deliberation and discussion, they would soon find it clearly demonstrated that the completion of such a direct central link of communication between the North and the South would be a comfort, and a credit and a gain to them all, a gain of incalculable worth—a gain that would acquire growing weight and strength and velocity and volume as rolling onward. And no keenness of foresight, or powers of calculation can now determine to whom the largest share of those ever growing gains would accrue. They would all reap a rich and joyful harvest.

The Legislatures of Kentucky and Tennessee ought to devote more time and thought to the subject; and indeed the Federal government might—on consideration of its general utility, find it more deserving of countenance, than a more distant enterprise. Its various bearings ought to be more fully examined and discussed. And if public meetings, attended by gentlemen of information and experience and influence, were

[redacted]



held at the chief points along the line from the upper corners of Ohio down to the ports of the South, a light would be thrown around the project, and a power would be brought to bear in its favor that would at once guarantee its speedy accomplishment—for it would really be but a *light* and *easy* work for the *combined* energies of the parties that would be most largely benefitted by its completion.

I am very glad that you have recently had in Cincinnati so much deliberation on the subject; for history conclusively proves that in all cases where neighboring States help each other in undertakings of usefulness, they are on the right course to help and to enrich themselves.

Lest it should be supposed that I thus plead for the 'Knoxville Route" from motives of self-interest, I beg to say that the 'Compromise Route' would better serve the little interest which I have in these healthful tablelands of East Tennessee; but I am compelled to record my conviction that the '*Knoxville Route*' is the best for the *general good*. I would respectfully submit to the examination of the promoters of the enterprise a suggestion recently made as to a portion of the line by parties well acquainted with the country. Their suggestion is, that the line by Somerset, and over the Cumberland below the coal works, at Point Isabella, (now called Point Burnside,) and through the Chitwood Settlement to the Elk Gap of Cove Creek should be surveyed, as they believe that it would be materially lighter and shorter than the contemplated line by way of London and Williamsburg.

Pray continue to exert your influence for the accomplishment of this most useful enterprise, for it will greatly help to bind up the now *cracking* Union between the two sides of this great country."

Ysgrifenodd Mr. Corry yn ol fel y canlyn:

"MY DEAR SIR: The *Commercial* printed your letter, and it has been reproduced in the *Rail Road Journal*. I directed six copies of the *Journal* to be forwarded to you; for the

*Commercial* was all taken before ten o'clock the morning your letter appeared.

The city concurs altogether with you that the Knoxville Route is the only true one. A committee of citizens has been sitting for two months. They were appointed by the Mayor, who is for Nashville, because I presume he has not been able to examine the subject. Thank you for your important contribution to our knowledge of Southern Routes; and also for the new suggestion of a survey further west than the generally received line. What you say has great weight; and the surveyors of the Kentucky Union Railroad Company will see to it.

Please keep up the interest in the Union for such a midland link of connection between the North and South, would, as you argue, prove of vast social, as well as commercial importance. Hold on to the Union, for Tennessee and Kentucky and Ohio and Indiana, are a quadrangle of rich central States that must some day wield great power in the Union. East Tennessee has a mighty stake in the Union; and her thinkers should uphold it."

Ysgrifenodd S. R. dro arall, at gâr iddo yn Washington, fel y canlyn:

"The long cold indifference of the great midland powers of the North to open *direct* railway communication with the South has been an old *social crime* that in the end generated very bitter results. If the 'Queen City of the West,' twenty years ago, had opened such a communication, it would have proved of higher name and of greater profit to it than any of its other projects. No thanks are due to the great interests of the North for the Mississippi and Ohio Rivers, and the Atlantic coast, for those noble mediums of social and commercial intercourse had been made and finished long before their time. Nature smilingly pointed them to inviting *midland gaps* which they could have easily opened, but which they have as yet neglected. I hope the present Administration, and especially its noble HEAD will live to open the long-talked of railway between Nicholasville and Knoxville, for that would be of *per-*

[redacted]



*manent* benefit to the whole country; and would be of immortal credit to the Lincoln Government. The President has long been wide awake to its vast importance, but more might have been done to wake up the different departments under him to carry out his proposal. Had that railroad been made at the time he demonstrated its utility and 'necessity,' it would have saved millions to the treasury; and would have prevented untold toil and suffering. Millitary men have a taste for fortifications, not for railways: and Congressmen often pant more for glorious victories than for great social improvements. If the general Government had, in a right spirit, during bygone years, devoted the twentieth part of the costs of the present war to open and to perfect such mediums of social and commercial intercourse between the North and the South, it would have found useful employment for restless minds, which, for want of such employment, bent their energies on *mischief.* The chief aim of a *general* Government, like that of the United States, ought to be steadily fixed on INTERNAL IMPROVEMENTS. It is an old sordid, but very injurious error, to suppose that *such* a Government can be too liberal in promoting such improvements; for they always in the long run, when at all fairly worked, PAY WELL. Pray push on, in every way you can, the important UNION project of a railway between Nicholasville and Knoxville."

Cafodd air yn ol o Washington fel y canlyn:

"I thank you for your last able note in favor of *Mr. Lincoln's Railroad.* I will without delay get it into his hands; and will, I assure you, urge the matter with all the influence which I can bring to bear in its favor."

Yr wyf yn deall fod y Congress yn hollol argyhoeddedig o'r "*angenrheidrwydd*" am y fath reilffordd *ganoldirol*, os ydyw "LOYAL EAST TENNESSEE" i gael bod yn yr Undeb; ond er hyny, y maent wedi methu, er holl gymhelliadau y Llywydd a'i Gad-flaenoriaid, cael ugain munud o amser, drwy holl eisteddiadau y tair blynedd diweddaf, i roddi eu llais dros yr Act er ei gwneuthuriad.

Ymlithrodd yr ysgrifenydd yn gwbl anfwriadol i ddadl ar bwnc mawr *canghenog* y RHYFEL YN AMERICA; a chan i *ddarnau* o'r ddadl hono weithio eu ffordd i lawer cylch pell ac agos, lle na chafwyd cyfle i wybod yr holl amgylchiadau, cymhellwyd ef i roddi y CRYNODEB blaenorol o'i syniadau yn nghyraedd y rhai a ddewisant wybod ei farn yn fwy llawn ar wahanol ganghenau y pwnc. Nid yw yr adgof ei fod wedi codi ei lais egwan yn erbyn y rhyfel yn peri dim poen i'w gydwybod. Yr unig ofid iddo ydyw, na buasai yn medru gwneud hyny mewn modd mwy effeithiol. Y mae am i'r *genedl sydd yn cyfodi* gael cyfle i wybod ei fod wedi gwneud ei *oreu* yn erbyn y rhyfel. Yr oedd ei sefyllfa yn rhy wasgedig iddo allu gwneud mwy: ond y mae yn dra hyderus y caiff ei ymresymiad astudiaeth a beirniadaeth mwy teg a llawn yn yr amser a ddaw nag a gafodd yn yr amser a aeth heibio. Os gwnaeth unrhyw gam ag yspryd gweithgar Talaethau cryfion y Gogledd, y mae yn wir ddrwg ganddo: ond y mae yn barnu yn ddifrifol y gallasent gael ffordd well i dderchafu a dedwyddu eu gwlad na'r ffordd a ddewisasant. Y mae yn credu eu bod, er uched eu rhagorfreintiau, er dysgleiried eu rhinweddau, ac er eanged eu dylanwadau, wedi colli y ffordd yn alaethus yn achos y rhyfel ofnadwy presenol; a'u bod wedi ymgyndynu ac ymgaledu yn arswydus yn eu ffordd ddrwg; a'r hyn sy'n gwneud y peth yn fwy galarus fyth ydyw, mai trwy boethder eu sêl o blaid achos gogoneddus rhyddid yr aethant mor bell ar gyfeiliorn. Y mae yn credu hefyd na chânt byth eu hadsefydlu yn eu hen safle uchel ac anrhydeddus fel BLAEN-RES DIWYGWYR Y BYD, heb idddynt adystyried eu ffordd, ac ymostwng yn edifeiriol am eu hamryfusedd, a meithrin yn eu hyspryd fwy o addfwynder yr efengyl. Gobeithio fod dyddiau tawel dedwydd edifeirwch a diwygiad—dyddiau gogoneddus a gwynfydedig edifeirwch i fywyd—edifeirwch i dangnefedd ac ewyllys da, edifeirwch i gariad a chydweithrediad, i wawrio eto, a hyny ar fyrder, dros *holl* Dalaethau a Thiriogaethau gwlad fawr gyfoethog Washingtoniaid a Frankliniaid y "DECLARATION OF INDEPENDENCE."

---

## RHAG-NODIAD.

Tua phum' mlynedd yn ol, ysgrifenais ychydig re
ysgiad gwahanol genedloedd er eu gwneud " oll yn
lad i'w traddodi fel araeth mewn ambell fan lle y
hyny; ond deallais y byddai fy araeth yn annerbyı
amlaf o'm gwrandawyr, ac y byddai fy egwyddorion
eu camddeall a'u camddarlunio; ac felly cedwais f
yn hollol i mi fy hun gyda theimlad hyderus y bydd
nef fynu ei threfn i ben er pob rhagfarnau a phob
Crybwyllais y pwnc yn *gynil* mewn ychydig fanau,
teimlad yn rhy gryf yn ei erbyn iddo gael ei ystyrie
Yr hyn yn benaf am harweiniodd i feddwl am y pwn
myfyrdodau i chwilio am y cynlluniau tecaf ac effeit
*y caethion* o'u cyflwr gwasgedig, a'u derchafu i dir o
lad, a phurach cysur, a helaethach defnyddioldeb. D
hyny, argyhoeddiad fy nghalon mai un o'r ffyrdd syd
ddoethineb a thrugaredd i godi y gorthrymedig o
caethiwed, ydyw gogwyddo holl bobloedd y byd i n
ydd; a'u gweithio i gydymgaredigo a chydymgymys
gyfathrachu nes eu " crynhoi " i gyd oll i fod yn "
marn bwyllog yw, mai un o'r ffyrdd sydd gan Raglu
ddiddymu hen gyfundrefn caethwasanaeth, a llawer o
gormesol eraill, ydyw cymysgu gwahanol genedloedd
yn un genedl.

Yr wyf newydd weled cyfeiriad mewn newyddiadu
Seisnig a gyhoeddwyd yn ddiweddar yn New York
Achau:" ac yr wyf yn deall fod y llyfryn hwnw yn g
dwfn ar feddyliau rhai o ddyngarwyr blaenaf yr oes.
iawn genyf gael cyfle i weled y llyfryn hwnw. Digor
awdwr yn gallu rhesymu yn fanylach dros y pwnc na
allu wneud; ond carwn i'r darllenydd gofio fod fy
wedi cael ei ysgrifenu ...

byn egwyddor y "cymysgu," tra yr oedd eraill yn fwy parod i ystyried y pwnc. Y mae y Sais wedi cael yr anrhydedd yn awr o "dori y garw," a gwnaf finau fy ngoreu i'w gefnogi yn ei lafur i symud effeithiau galarus rhagfarnau culion y naill genedl yn erbyn y llall, ac i'w derchafu o gulni oer afiach eu sectyddiaeth cenedlaethol i ryddid ac undeb a chariad yr Efengyl. Y mae yn siomedigaeth genyf, ar rai golygiadau, fod y Sais wedi cael y blaen arnaf, oblegyd yr wyf yn gymaint a hyny o *Gymro* beth bynag fel ag yr wyf am i'r Cymry fod yn mysg y rhai blaenaf i astudio a derbyn pob egwyddor ag sydd o dueddiad i leihau drygau a gofidiau y byd, ac i liosogi ei cludoedd a'i gysuron. Ceisio gwawdio y traethawd Seisnig yr oeddid yn y newyddiadur a welais, ond nid dyna y ffordd oreu i atal ei ledaeniad, na'r ffordd oreu ychwaith i geisio nychu ei ddylanwad. Yr oedd gogan-eiriau y gwrthddadleuydd yn argoel eglur o ysgafnder ei ymresymiad. Yr wyf yn ystyried y pwnc yn un pwysfawr; ac yr wyf yn credu fod y byd yn cyflym addfedu i'w ystyried yn ddiragfarn. Yr oedd ei bwysfawredd yn dyfod yn fwyfwy i'm golwg o hyd, fel y penderfynais yn nechreu y flwyddyn yma i gyhoeddi yn swyddfa y *Drych*, fy nodiadau arno fel traethodyn deg cent, a chychwynais yr ysgrif tua'r swyddfa, gyda gair yn ei chylch at ddarllenwyr y *Drych*. Yr oedd wedi ei selio yn ofalus, dichon braidd yn rhy gryno, ac yr oedd digon o *stamps* ar yr amlen i dalu traul y cludiad; ond nid aeth i ben ei thaith: meddyliodd rhyw *leidr* swyddol, neu answyddol, y gallai fod rhyw drysor, gwerth ei gael yn y llythyr mawr cryno seliedig hwnw; ac felly cafodd ei ddal yn garcharor ar ei daith. Yr oedd amryw lythyrau llai yn gymdeithion iddo, ond ni chafodd y lleidr, neu y lladron, ddim ynddynt ond tipyn o Gymraeg cynes at amrai gyfeillion; ond yr oedd y Gymraeg hyny yn rhy ddwfn i'r lladron pendew allu ei ddeongli; ond cawsant, yn un o'r mân-lythyrau, ddwsin o eiriau Saesneg, a twenty-five cents oeddwn yn anfon am gopi o'r traethawd Saesneg ar "Gymysgu Achau;" ac ychydig o *stamps* oeddwn yn anfon i swyddfa y *Drych* at draul yr "hysbysiad."

Yr oeddwn wedi ysgrifenu llythyr byr ar y pwnc at y Parch. Dr. Everett, ar adeg toriad allan y gwrthryfel; a llythyr byr arall ar y drefn oreu i "*ryddhau y caethion*," gyda dymuniad am iddynt gael ymddangos yn y *Cenhadwr;* ond ataliwyd y *mails* y pryd hyny drwy holl Ddwyreinbarth Tennessee, fel nad oedd modd eu cychwyn; ac nid oeddwn am eu hanfon o law i law rhag iddynt golli y ffordd a myned i Richmond yn lle i Remsen; oblegyd buasent yn fwy anmhoblog yn y De nag yn y Gogledd. Meddyliais am eu cyhoeddi fwy nag unwaith ar ol hyny, ond ofnais y buasent yn gwneud mwy o ddrwg nag o dda, am fod y teimlad cyhoeddus ar y pryd yn bur gynhyrfus, ac yn lled dŷn yn erbyn, rhai canghenau o'm hymresymiad. Yr wyf yn gobeithio fod fy nghydwladwyr erbyn heddyw yn fwy parod i roddi i mi glust o wrandawiad; nid wyf yn gofyn ychwaneg oddiwrthynt. Yr wyf am iddynt wrthod fy ngolygiadau, os byddant, ar ol ymchwiliad teg, yn barnu eu bod yn groes i egwyddorion Cristionogaeth. S. R.

*Mai*, 1864.

O un gwaed y gwnaeth Duw ar y cyntaf, bob cenedl o ddynion; a buasent yn byw mewn undeb, fel teulu o'r un gwaed, oni buasai pechod. Enynodd pechod genfigenau a chynenau, a gelyniaeth, a thrais, a dialgarwch rhyngddynt: a chododd hyny lawer math o "ganolfuriau gwahaniaeth," er eu cadw mewn gelyniaeth gwastadol tuag at eu gilydd, ac er eu lluddias i gydweithredu ac i gydfasnachu a chyfathrachu mewn yspryd cymydogol a chyfeillgar. Weithiau byddai eu hachyddiaeth yn ddigon o "ganolfur" i'w cadw ar wahan: nid ymgymysgai y naill genedl â chenedl arall ar un cyfrif. Bryd arall, byddai môr, neu fynydd, neu afon, yn ganolfur, a byddai pobl y ddwy ochr mor ddieithr i'w gilydd a phe buasent yn byw mewn dau fyd gwahanol. Bryd arall byddai gwahanol dafodiaith yn ganolfur effeithiol er eu cadw yn ysgaredig. Canolfur arall fyddai lliw y croen, a llun y pen, a chrychni y gwallt. Bryd arall, byddai gwahanol gredöau, crefyddol neu wladol, yn achosi ysgariadau a rhwygiadau; ac yn dyfod yn ganolfuriau trwchus, tywyll, oerion, afiach, o nerth mawr; a byddai plaid y naill gredo yn gwneud ei goreu i gadw plaid y credo arall dan draed.

Dylid addef i'r Arglwydd ei hun, nid ar y cyntaf, ond pan oedd y byd tua dwy fil o flynyddoedd o oed, drefnu ac awdurdodi un "canolfur gwahaniaeth," nid er cryfhau yr elyniaeth oedd yn y byd, ond er cadw eglwys iddo ei hun heb gael ei cholli yn y cydymlygriad cyffredinol. Ond un o amcanion pwysfawr goruchwyliaeth ogoneddus yr efengyl, ydyw "datod" a thynu i lawr holl ganolfuriau y gwahaniaeth, a "chrynhoi" yn nghyd yn Nghrist, yr holl genedloedd i fod yn un corff, gan wneuthur heddwch. Y mae Duw wedi trefnu i dynu i lawr hyd yn nod y canolfur ag oedd ef ei hun wedi ei osod rhwng Iuddewon a chenedloedd, sef "Deddf y gorchymynion mewn ordinhadau:" ac y mae ei fod ef am "ddatod" hwnw, yn ddigon o brawf ei fod am ddatod y lleill oll, a'u symud o'r ffordd.

Crybwyllwn ychydig o'r seiliau sydd genym i gredu y datodir

yr holl ganolfuriau, ac y daw holl bobloedd y byd i fod yn un pobl, neu y daw holl genedloedd y ddaear i fod yn un genedl.

I. Y mae deddf y priodasau anachaidd dan oruchwyliaeth yr Hen Destament yn sail i ymresymu dros gymysgiad achau. Ceir y ddeddf hono, sef deddf y priodasau anghyfreithlawn yn y ddeunawfed benod o Lefiticus, ac y mae ei geiriad yn gryf, yn fanwl, ac yn ddifrifol. Ei hamcan ydyw gwahardd i rai briodi eu cyfneseifiaid ; a'u rhybuddio i wylio yn erbyn pob cydymlosgach teuluaidd : ond y mae yn gadael y ffordd yn gwbl rydd i rai ymbriodi â rhai o'r achau pellach. Y mae yn erbyn cymysgu gwaed yr achau agosaf, ond y mae yn gadael y ffordd yn rhydd i rai ymgymysgu â'r achau pellaf. Ac y mae yn dysgu yn eglur ac yn bendant fod teuluoedd hen genedloedd tir Canaan, drwy ymgyfathrachu yn llygredig â'u ceraint, neu â'u cyfneseifiaid, wedi ymhalogi ac ymwanychu gymaint, nes oedd y wlad megys yn eu "chwydu" allan o'r ffordd.

II. Y mae egwyddorion ac ordinhadau, ac addewidion a holl ddylanwadau goruchwyliaeth ogoneddus y Testament Newydd wedi cael eu hamcanu i gydweithio er cael cenedloedd y byd i fod "oll yn un," yn un corff, yn un genedl. Ystyriwn mor ardderchog y mae'r apostolion penaf yn ymresymu am "ladd yr elyniaeth" rhwng Iuddewon a chenedloedd, a rhwng y naill genedl a'r llall, er eu toddi yn nghyd mewn cariad i fod yn un corff, yn un genedl, yn un teulu, yn un frawdoliaeth.

Yr oedd awgrym Iesu ei hun ar hyn yn nodedig o eglur, er fod ei ddisgyblion ar y cyntaf yn methu ei ddeall. "A defaid eraill sydd genyf, y rhai nid ynt o'r gorlan hon : y rhai hyny hefyd sydd raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a wrandawant ; a bydd un gorlan ac un bugail." Yr oedd proffwydoliaeth Caiaphas hefyd yn un gref ar y pwnc, er ei fod yn broffwyd o ysbryd gwaeth na Balaam ; ac er nad oedd ddim yn amgyffred ei broffwydoliaeth ei hun. Efe a ddywedodd wrth y cyngor : "Nid ydych chwi yn gwybod dim oll, nac yn ystyried mai buddiol yw i ni, farw o un dyn dros y bobl, ac na ddyfether yr holl genedl. Hyn ni ddywedodd efe o hono ei hun ; eithr, ac

efe yn archoffeiriad y flwyddyn hono, efe a broffwydodd y byddai'r Iesu farw dros y genedl ; ac nid dros y genedl yn unig, eithr fel y casglai efe yn nghyd yn un blant Duw hefyd y rhai a wasgarasid." Yfodd Ioan y Duwinydd yn gynar o athrawiaeth ac yspryd ei Athraw, ac enillodd y cymeriad o fod yn apostol cariad. Gyda bod calon Pedr wedi cael ei goleuo, a'i chynesu, a'i hëangu, dechreuodd egluro y pwnc mawr yma yn ei bregeth gyntaf i'r cenedloedd yn nhŷ Cornelius. Agorodd ei enau, a dywedodd, "Yr wyf yn deall mewn gwirionedd, nad ydyw Duw dderbyniwr wyneb ; ond yn mhob cenedl, y neb sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder, sydd gymeradwy ganddo ef." A phan y cafodd ei alw i gyfrif gan gredinwyr sect yr enwaediad yn Jerusalem, am feiddio myned i bregethu i'r cenedloedd, dywedodd mai Yspryd Duw, mewn gweledigaeth deirplyg o'r nef, ddarfu ei ddysgu i fyned ; a gallodd eu dystewi oll, a boddhau llawer o honynt, fod Duw yn ewyllysio i'r cenedloedd gael "edifeirwch i fywyd," a chael eu derbyn i "gorlan Crist." Dywedai Paul, wrth ysgrifenu at y Rhufeiniaid, "Pwy bynag sydd yn credu ynddo Ef ni chywilyddir : canys nid oes gwahaniaeth rhwng Iuddew a Groegwr : oblegyd yr un Arglwydd ar bawb sydd oludog i bawb sydd yn galw arno." Wrth ysgrifenu at y Corinthiaid, dywedai, "O herwydd trwy un Yspryd y bedyddiwyd ni oll yn un corff, pa un bynag a'i Iuddewon a'i Groegwyr, a'i caethion a'i rhyddion, a ni a ddiodwyd oll i un yspryd." Wrth ysgrifenu at y Galatiaid, dywedai, "Nid oes nac Iuddew na Groegwr, nid oes na chaeth na rhydd, nid oes na gwryw na benyw ; canys chwi oll un ydych yn Nghrist Iesu." Ac ardderchog o rymus ac o gynes yr oedd ei enaid mawr nefol yn ymresymu dros y pwnc pan yr oedd yn ysgrifenu at yr Ephesiaid, "Fel yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, y gallai grynhoi yn nghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd, ac ar y ddaear, ynddo ef. Eithr yr awrhon, yn Nghrist Iesu, chwychwi, y rhai oeddych gynt yn mhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist. Canys efe yw ein

tangnefedd ni, yr hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddatododd ganolfur y gwahaniaeth rhyngom ni; ac a ddirymodd drwy ei gnawd ei hun y gelyniaeth, sef deddf y gorchymynion mewn ordinhadau, fel y creai y ddau ynddo ei hun yn un dyn newydd, gan wneuthur heddwch; ac fel y cymodai y ddau â Duw yn un corff drwy'r groes, wedi lladd y gelyniaeth drwyddi hi."

Y mae yn amlwg fod Duw'r heddwch wedi anfon ei anwyl Fab, Tywysog Tangnefedd, i fod yn Gymodwr, neu yn Dangnefeddwr rhwng Iuddewon a chenedloedd, a rhwng y naill genedl â'r llall: a'i fod am ddirymu y gelyniaeth oedd rhyngddynt drwy "gnawd," neu ymgnawdoliad ei Fab: a bod holl duedd yr efengyl i ddatod canolfur y gwahaniaeth rhyngddynt; a'u cymodi â'u gilydd "yn un corff," drwy eu cymodi â Duw drwy'r groes. Y mae cydmariaethau yr apostol am ddwyn y rhai pell yn agos drwy waed Crist, am grynhoi y pethau a wasgaresid i fod yn un yn Nghrist, am ddirymu yr elyniaeth drwy ymgnawdoliad Crist, am ddatod canolfur y gwahaniaeth drwy Iawn Crist, am adgyfanu y byd rhwygedig a'i adgreu yn undyn newydd, gan wneuthur heddwch, drwy groes Crist, yn gydmariaethau o dlysni, ac eglurder, a symledd anghydmarol: a bydd golwg hyfryd a dedwydd iawn ar y byd terfysglyd ac annedwydd hwn, pan y bydd yr "elyniaeth" fu yn ei hir ddifwyno a'i derfysgu wedi ei "lladd," pan y bydd ei bobl oll yn "un corff," pan y bydd wedi ei greu yn "un dyn newydd," ac wedi ei ddwyn i rwymyn y "cymod," a'i god i iawyr bur "tangnefedd."

III. Y mae *siamplau* aneirif genym fod cymysgiad achau wedi bod o fuddioldeb yn mhob gwlad, a than bob goruchwyliaeth. Priododd Jacob ddwy wraig heb fod o achau teulu ei rieni, a bu y ddwy hyny yn famau i bedwar o'r deuddeg patriarch. Priododd Judah ferch i Sua, gwr o Ganaan. Priododd Joseph un o dywysogesau yr Aipht, sef Asnath, merch i Potipherah, offeiriad a thywysog On, ac o'r Aiphtes hono y ganwyd iddo ei ddau fab enwog Manasseh ac Ephraim, a chafodd y ddau fab hyny, er eu bod o achau cymysg, fendith gyf-

... Ethiopes yn wraig; ond disgyno
glwydd yn ngholofn y cwmwl i amddiffyn ei gyme
geryddu y gynen. Daeth gwaed cenedlig i mewn
o leiaf i linach enwog y Messiah: ganwyd Pharez o
a Boaz o Rahab, ac Obed o Ruth. Priododd Dafyd
Talmai, brenin Gesur. Priododd Abigail, chwaer
Jether yr Ismaeliad. Yr oedd gwr cyntaf yr hawdd
seba, mam Solomon, yn Hethiad. Cymerodd Solom
Pharao yn wraig iddo, ac er fod merched Jerusalem
ei gwarthruddo am ei bod yn ddu, medrai eu hateb yn
igaidd, "Du ydwyf fi, ond hawddgar, merched Jeru
yr oedd yn addef fod yr haul wedi edrych arni, ac wedi
er tywyllu ei lliw, ond er hyny, dadleuai ei bod yn "
gar." Bu mwy o gydymgymysgu rhwng Iuddewon a
oedd nag ydys dichon yn feddwl. Cyfaneddodd lla
Canaaneaid yn mysg llwythau Israel ar ol dyddiau
Denwyd llaweroedd o'r cenedloedd eraill i breswylio
gwlad yn amserau eu llwyddiant a'u henwogrwydd mw
phroselytiwyd miloedd o'r cyfryw i fod yn aelodau o'r
Iuddewig. Mewn un adeg o wrthryfel galarus yn
lladdwyd llwyth Benjamin oll ond chwe' chan' wr, y
ffoisant i'r anialwch i Graig Rimmon. Pan edifarha
rael am golli llwyth cyfan felly o'u mysg, anfonasant i gy
heddwch i'r chwe' chan' wr oeddynt yn Nghraig Rim
threfnasant am fynu gwragedd iddynt, a ...

ac nid oedd neb o feibion Israel yn lanach nag ef. Diameu hefyd i laweroedd o'r Iuddewon ymbriodi â rhai o'r cenedloedd, yn amserau eu caethgludiadau, ac yn ystod oesau cyntaf Cristionogaeth. Yr oedd mam Timotheus yn Iuddewes, ond yr oedd ei dad yn Roegwr. Bu llawer iawn o gyniwair ac o gyfathrach ac o gydymgymysgu yn mysg yr Assyriaid a'r Babyloniaid, a'r Mediaid a'r Persiaid, a'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn amseroedd penaf eu nerth, a'u cyfoeth, a'u llwyddiant. Yr oedd Cyrus enwog yn un o waed cymysg, ei dad o achau breninoedd Persia, a'i fam o achau breninoedd Media. Daeth gwaed coch iach *Cymraes* enwog i linach ymerawdwyr Rhufain yn amser Cystenyn Fawr, a gwnaeth hyny argraff llydan er lles y byd. Daeth gwaed coch cyfa *Cymreig* o Benmynydd Môn i linach breninoedd Lloegr yn amser Harri y Seithfed, ac effeithiodd hyny er daioni mawr: cymysgiad yr achau y pryd hyny effeithiodd i derfynu rhyfel gwaedlyd y Rhosynau. Dylid cofio mai nid pobl o'r un achau, nac o'r un genedl, sydd yn awr yn preswylio yn Lloegr a Scotland, ond pobl o achau cymysg, Brythoniaid, Rhufeiniaid, Saxoniaid, Daniaid, a Normandiaid; ac y mae mwy o enwogrwydd—o enwogrwydd esgyrn a gewynau, ac yn enwedig o enwogrwydd meddwl—yn perthynu i'r genedl ar ol ei chymysgu felly nag oedd yn perthynu i'r un o'r cenedloedd a enwyd cyn y cymysgiad. Gellir dywedyd yr un peth i raddau am breswylwyr holl hen wledydd Europe. Y mae hyn yn rheswm cryf dros gymysgu yr achau, ac yn argoel eglur y daw y byd yn well yn mhob ystyr ar ol y cymysgiad.

Cyd-ymfudodd nifer mawr o deuluoedd o Loegr a Chymru, ac o Scotland a'r Iwerddon, ac Holland a Germany i America yn amser William Penn; ac y mae dinaswyr Philadelphia, a phreswylwyr holl gylchoedd Pennsylvania, yn rhai o achau cymysg; a gwnaeth gwaed iach y CYMRY ei lawn ran tuag at dderchafu Talaeth gyfoethog William Penn.

Hysbysir fod dau ar bymtheg o *Signers Declaration Independence* yr Unol Dalaethau yn rhai o waedoliaeth Cymreig;

cynydd, a lliosocach gwelliantau, mewn cylch ca
nag a wnaeth yr Unol Dalaethau: a dichon na ch
gwlad erioed gan bobl mwy cymysg; ac ond i e
cymysgu gael ei gweithio yn mlaen, mewn yspryd
daw pobl America y bobl enwocaf am bob celfydd
bodaeth a gwelliant fu erioed ar wyneb y ddaear
iant yn ardderchog ond cael yspryd pur cariadlaw
ogaeth i reoleiddio galluoedd eu cyrff, i awchlymu
eu heneidiau, a i hwylysu gweithrediad eu galluoedd
asol. "Helaethwyd ar Japheth" yn ol yr hen
Ymfudodd minteioedd lliosog o hiliogaeth Japheth
ac ynysoedd Europe, yn yr oesoedd diweddaraf, ac
breswylio i bebyll Sem yn Asia. Ymgyfathrachasa
aeth Sem, a bu yr ymgymysgiad o les i'r ddwy oc
wedig i ochr Sem: a buasai yn effeithio er daioni ll
aethach pe buasent yn ymgymysgu yn fwy rhydd a
Y mae seiliau i obeithio yr ymgymysgant mewn ysp
ac yn ol rheolau gwell, yn yr amser a ddaw, ac y d
lawer iawn o ddaioni.

Clod anfarwol fyddo i enw ac i goffadwriaeth Jon
y boneddwr ieuanc gwyn, gwrol, golygus o Loegr, a
y dywysoges *Indiaidd* ieuanc, brydferth, garuaidd, d
Pocahontas. Er i'r dywysoges ieuanc farw, pan ar
yn Lloegr, cyn bod yn ddwy ar hugain oed, a chyn
ond un plentyn, deilliodd o'r briodas hono rhyw...

mewn gwirionedd, oedd *First President* yr Unol Dalaethau, yn hanu o'r dywysoges Indiaidd Pocahontas: ac yr oedd Edmund Randolph, yr hwn a fu yn un o Lywyddion enwocaf Virginia, ac yn Attorney General cyntaf Washington, ac yn ddilynydd Jefferson fel Ysgrifenydd y Llywodraeth, yn ddisgynydd o Pocahontas; ac yr oedd y Seneddwr hyawdl John Randolph, y cenadwr i Russia yn amser Arlywiaeth Jackson, yn ymffrostio drwy bob man, ei fod yn un o hiliogaeth y Dywysoges Indiaidd. Darfu i'w thad, yr Ymerawdwr Powhatan, roddi ei gydsyniad iddi briodi John Rolfe o Loegr, a rhoddi caniatad hefyd iddi gael ei bedyddio i'r ffydd Gristionogol.

Y mae yn drueni mawr na buasai rhai o fechgyn y "*Mayflower*" yn syrthio mewn cariad â rhai o ferched yr Indiaid, ac yn eu priodi, yn lle ymgreuloni, yn eu Phariseaeth, i'w diraddio a'u herlid, nes o radd i radd eu diwreiddio allan o fodolaeth. Buasai merched y Penaethiaid Indiaidd Massassoit a King Philip, a Canonicus, ac Uncas, a Miantonomoh a llawer o'r penaethiaid eraill, yn gwneud gwragedd digon da i fechgyn goreu y Governors Endicoff, a Winthrop, a Winslaw, a'r capteniaid ymladdgar Church a Standish, ac eraill o swyddwyr y tadau Puritanaidd; a buasent yn eu curo hyd yn nod wrth ymladd, oni buasai fod y dulliau Europeaidd o ryfela yn drech na'r dulliau Indiaidd. Buasai coffadwriaeth y tadau Puritanaidd yn llawer mwy peraroglaidd heddyw pe buasent wedi "ymgaredigo" mwy â'r Indiaid; a buasai cymeriad eu disgynyddion heddyw yn llawer mwy enwog, ac yn llawer iawn mwy bendigedig nag ydyw, pe buasai mwy o'r gwaed Indiaidd, neu o waed cyn-frodorion a *gwir berchenogion* America wedi dyfod i'w hachau.

Pobl gymysg, neu ddisgynyddion o wahanol genedloedd, ydyw pobl mwyaf gweithgar ac anturiaethus ymerodraethau llydain cyfandir mawr Deheubarth America; a buasai yr ymerodraethau eang hyny, mewn gwlad mor ffrwythlawn, ac mor hyfryd, yn llawer iawn mwy poblog a blodeuog yn awr nag ydynt, pe buasai y Spaeniaid, ac eraill o'r ymfudwyr o Europe,

yn hen arferiad yn llawer o wledydd y byd bach
rymus hwn i ranu y preswylwyr i wahanol ddosl
weithiau i dri, ac weithiau i bedwar neu bump
deddfau caethion er gwahardd i'r gwahanol d
ymgymysgu â'u gilydd. Yr oedd trefniadau fell
loniaid a'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid, a llawer
oedd eraill. Yr oedd trefn felly yn Lloegr drwy
ac yr oedd y deddfau ar brydiau mor gaethion, f
rhyw un o'r dosbarth isaf briodi un o'r dosbarth
y cyfryw â marwolaeth. Yr oedd deddfau tryn
felly i wahardd i'r deiliaid gydymgymysgu yn ol e
effeithio er niwed i'r boblogaeth. Yr oedd y t
defigaidd, er eu holl fyd da, a'u holl ragorfreinti
briodi o hyd i'w gilydd, yn gwanychu o genedla
aeth, a llawer o honynt yn gweithio eu hunain all
yn awr wedi diddymu y *deddfau sectaidd* hyny
llawer o'u hyspryd a'u heffeithiolaeth yn aros hy
mhlith pendefigion Lloegr. Pe buasent yn c
at eu hegwyddor anwyl o gadw pob gwaed c
o'u hachau, ac o gadw eu holl waed uchel yn
iddynt eu hunain, buasai Tŷ eu Harglwyddi
a darfod er ys llawer dydd. Er bod mab hy
defig, neu Peer, yn etifedd eisteddle yn Nhŷ

fig neu bendefiges yn disgyn i lawr, trwy ryw lwybr cefn, i
lewis cydmar o gylch is, eto prin y mae Tŷ yr Arglwyddi yn
edru cadw i fynu ei nifer: a gellir dweyd yn benderfynol y
uasai eu Tŷ wedi myned yn Dŷ bach iawn, os na buasai wedi
rfod er ys llawer dydd, oni buasai y gwaed newydd y mae
edi gael drwy y ddwy ffordd a enwyd. Wrth feddwl am
suron pendefigion Lloegr, gallasid disgwyl y buasent yn
wytho ac yn amlhau, y buasent nid yn unig yn dal eu ffordd
ı nifer, ond yn ychwanegu cryfder a harddwch ac amlder;
hr y maent yn gwanychu yn barhaus wrth geisio cadw eu
raed pur pendefigaidd yn hollol iddynt eu hunain.

Y mae cyfrifion diweddar Registrar General Lloegr yn dysgu
l yno rai teuluoedd yn meddwl mor fawr am eu gwaed eu
nain, fel y maent yn hoff o ymbriodi i'w hachau eu hunain;
ı bod o herwydd hyny, yn wanach o lawer, o ran corff a
ddwl, na'r bobl ydynt yn cymysgu y gwaed drwy fyned i
ıau eraill i ddewis eu cydmeiriaid bywyd.

Parhaodd y deddfau Caethion *Feudalaidd* yn Russia yn
wer hŵy nag yn Lloegr; ond y mae yn anrhydedd mawr, a
ld yn glod oesol i Ymerawdwr a llywodraeth Russia eu bod
ddiweddar, o'u gwirfodd, wedi derchafu eu *Serfs*, neu y dos-
th isaf, o gyflwr eu caethwasanaeth i dir Rhyddid ac anni-
ıiaeth; a'u bod wedi gwneud hyny heb drais, na therfysg, na
rthryfel. Ac y mae y cyfnewidiad eisus yn dechreu effeithio
dda ar eu gwladwriaeth fawr yn ei holl gysylltiadau.

Y mae athrawiaeth y "*Castes*," neu drefn y gwahanol ddos-
thiadau, wedi bod am hir oesoedd mewn bri mawr drwy
vysogaethau India. Y mae yno bum' dosparth. Yr uchaf
y Brahminiaid, sef eu Hoffeiriaid a'u Dysgawdwyr a'u Cyf-
hwyr a'u Barnwyr. Yr ail ydyw eu Milwyr. Y trydydd
eu Hamaethwyr a'u Marsiandwyr. Y pedwerydd yw eu
furwyr; a'r isaf ydyw y rhai a ddiarddelwyd o'r dosparth-
ıu eraill, ac a gedwir gyda'r gorchwylion iselaf; ond y mae
olfur y gwahaniaeth rhwng y gwahanol ddosparthiadau yn
ei fylchu yn gyflym, yr hyn sydd yn argoel er daioni am

darostwng a gwanychu ac annedwyddu y presw

Y mae ragfarn cyndyn yr Iuddewon yn erby
â'r cenedloedd wedi bod yn dra niweidiol iddynt
bod yn golled drom i'r byd ; ond gobeithio fod
londeb annynol y cenedloedd tu ag atynt hwy
yr effeithia hyny er lladd eu rhagfarn hwythau,
i ymgymysgu â Christionogion, ac i gofleidio
Yr oedd hyd yn diweddar, ddeddf neu gyfamod
gangheuau teulu cyfoethog y Rothschilds i brio
eu hachau eu hunain, er mwyn cadw eu cyfoeth
cylch eu llwyth eu hunain ; ond y maent wedi e
yn awr fod y ddeddf anachaidd hono yn effeithi
cyfansoddiad ; ac y maent wedi penderfynu ei
gosod o'r neilldu, a throi allan i chwilio a
bywyd o achau pellach, er mwyn cael nerth a
newydd yn eu teulu.

Cyhoeddwyd yn ddiweddar fod rhai o frodo
Môr y De yn gwanychu, yn enwedig o ran eu
ac felly eu bod yn cyflym leihau o ran eu nifer.
un o'r prif achosion o hyny ydyw eu hir ddilyni
edig eu priodasau anachaidd ; a'u bod heb gyfle
edd i ymgymysgu â chenedloedd eraill ; oblegy

eu nerth a'u hiechyd, er adfywiad i'w meddyliau, er adloniad i'w hysprydoedd, er estyniad eu dyddiau, ac er eu cysur a'u llwyddiant yn mhob ystyr.

Cadwodd gwahanol lwythau Indiaid, neu Gynfrodorion America, yn dýn iawn dros lawer o oesau, at yr hen ddefod o beidio ymgyfathrachu a'u gilydd. Nid ymgymysgai y naill lwyth â llwyth arall er dim, nac ar un cyfrif. Cadwent ar wahan dan eu gwahanol enwadau sectyddol, yn lle cydymgyfathrachu a chydymgysylltu yn gariadlawn fel cyd-ddynion a chymydogion; a bu y sectyddiaeth *llwythol* hyny yn niweidiol iddynt yn mhob ystyr. 'Bu yn niweidiol i gyfansoddiad eu cyrff, ac i alluoedd eu heneidiau, i goethiad eu harchwaeth, ac i ddiwylliad eu moesau; dygodd gulni i'w henaid; mygodd anadliadau eu dyngarwch; gwanychodd eu cysuron cymdeithasol; bu yn rhwystr ar ffordd eu cynydd mewn gwybodaeth a chelfyddyd a phob rhinwedd; sychodd ffrydiau pob cydfasnach rhyngddynt; ataliodd y cynniwair sy'n amlhau gwybodaeth a bywiogrwydd; enynodd genfigenau ac ymladdau rhyngddynt; porthodd nwydau eu dialgarwch, a lliosgodd y cyfleusderau a'r profedigaethau i'w rhoddi mewn gweithrediad; gwenwynodd eu hysprydoedd; darostyngodd eu cymeriad; lleihaodd eu nifer; gwanhaodd eu nerth; a gwnaeth eu gwlad ëang a ffrwythlawn yn fwy fwy anial a diffaeth. Dichon fod y niweidiau hyn wedi ymdaenu ar y cyntaf yn araf ac yn hynod o raddol; ond wrth ymdreiglo yn mlaen, yr oeddynt o hyd yn ymledu ac yn cyflymu ac yn chwyddo ac yn cryfhau, nes yr oedd eu dylanwad afiach a gwenwynig a nychawl wedi cyrhaedd dros yr holl gyfandir.

V. Y mae deddf bwysfawr y cymysgu yn rhedeg dros holl faesydd, a thrwy holl gylchoedd anian. Nid oes yr un bugail defaid na ŵyr yn dda am y pwys mawr er iechyd, a nerth, a harddwch, ac epiledd ei ddeadell, iddo ei chymysgu a deadelloedd eraill. Nid oes yr un porthwr gwartheg na ŵyr yn dda am y pwys o gymysgu neu "groesi" y gwahanol rywiogaethau, ac am y lles a ddeillia o hyny. Y mae y Cymdeithasau Am-

ac iachau a thosogi a rhywiogi eu deadelloedd g
maent yn cyrchu eu teirw o bob Basan a glywant a
gwella eu rhywogaethau gwartheg. Y mae yr un d
yn cyrhaedd y meirch a'r mulod, y Dromedariaid a'r
a'r ceirw a'r geifr; a holl anifeiliaid y maes, a holl
y coed, a'r pysg a'r ymlusgiaid, a'r holl ednod maw
dofion a gwylltion; a dichon y coed a'r llysiau; a
fod yn arwydd ac yn argoel i'r teulu *dynol* fod cy
chydfasnach i fod rhwng holl genedloedd y ddaea
(ond nid wyf yn sicr o hyny) mai cangen o'r un d
sy'n achosi mai nid da *hau* yr un hâd o hyd yn yr
ond fod newidiad hadau, a newidiad cnydau yn dd
tir a'i gynyrch.

Câf yn awr ateb rhai *Gwrth-ddadleuon* cyffredin
yn erbyn y drefn gariadlawn o gymysgu y cenedlo
gwneud oll yn un genedl. Gwrth-ddadleua rhai:

1. Os cymysgir y cenedloedd felly, nes eu cael
y daw y byd i gyd oll o'r un iaith; hyny yw, os da
fod i gyd o'r un gwaed, y daw hefyd oll o'r un iaith
yn addef fod grym yn y fath ymresymiad, neu fod
y fath ddadl; ond y pwnc yw, Pa un ai da ai d
hyny? Pa un ai bendith ai melldith fyddai cael y
oll i fod o'r un iaith? Un iaith oedd ar y cyntaf

oedd. Bu y cymysgiad galarus hwnw yn felldith drom arnynt; ac achosodd iddynt ofidiau a siomedigaethau, a myrdd o anghysuron. Un o amcanion grasol goruchwyliaethau gogoneddus yr efengyl ydyw symud melldithion pechod, a dwyn y byd yn ol eto i drefn ac unoliaeth yn ngwlwm tangnefedd; ac y mae lle i feddwl mai un o gynlluniau Rhagluniaeth er cael y byd eto i'w le, ydyw cael y byd i gyd oll i fod o'r *un iaith.* Y mae rhai o ieithoedd y byd yn cael eu coethi a'u cyfoethogi yn barhaus; y mae rhai eraill o honynt yn cael eu hesgeuluso; y mae dylanwad rhai o honynt yn culhâu o hyd, a dylanwad eraill yn ymledaenu. Y mae yr iaith *Saesneg,* yn enwedig, yn trymhâu ei dylanwad, ac yn helaethu ei chylch yn feunyddiol. Y mae yn cael ei deall a'i harferyd yn awr drwy lawer o brif lysoedd y ddaear, a thrwy bron holl gylchoedd masnach y byd. Y mae wedi dyfod yn iaith flaenaf y celfyddydau a'r gwybodaethau. Y mae wedi dyfod yn brif iaith, nid yn unig yn Ynysoedd Prydeinig yn Europe, ond yn brif iaith y ddwy Ganada, a holl Dalaethau America; ac y mae ganddi safleoedd enwog yn awr ar Gyfandir eang, ac yn Ynysoedd hyfryd Australasia, a thrwy bob cwr o India, ac ar ororau Affrica, ac yn llawer o Ynysoedd y Gorllewin, a Moreodd y Dê. Y mae wedi cael ei chyfoethogi yn ddirfawr; ac y mae ynddi y llyfrau goreu ar bob gwybodaeth ac ar bob celfyddyd, ac ar bob cangen o athrawiaeth fawr yn ol duwioldeb. Y mae eisioes yn mhell yn mlaen ar y ffordd i ddyfod yn "*iaith gyffredinol.*" Ac y mae yr wrthddadl yn nghylch yr "un iaith," yn lle milwrio yn *erbyn* pwnc cymysgiad y cenedloedd, yn ddadl gref iawn *drosto;* o blegyd byddai cael y byd i gyd oll i fod o'r un iaith yn fendith iddo o'r fath werthfawrocaf.

2. Os daw y byd oll i fod yn un pobl, ac felly i fod o'r un iaith, y mae lle i ofni y bydd i'r hen iaith Gymraeg enwog, ac anwyl, gael ei gosod o'r neilldu. Yr wyf yn ofni mai felly y bydd: ac os hyny ydyw trefn fawr Rhagluniaeth, nid oes ond plygu i'w threfn gyda gwylder, ac ymfoddloni heb rwgnach.

losophi uchaf y byd, a'r esboniadau llawnaf ar l
phob celfyddyd; a phe buasai rhyw obaith a
*blaen*, yn iaith gyffredinol, buaswn yn gweithio
hyny hyd fy medd. Gwnaethum fy rhan, gyda
eraill, drwy holl ddyddiau fy mebyd; ond yr
ofni y bydd ein llafur yn ofer. Y mae yn deg
un pryd, gofnodi ein cŵyn fod Dysgedigion Ll
igion ei Senedd-dai a'i Llysoedd, a dysgedigi
wasgau a'i hathrofäau, naill ai yn eu rhagfarnu
wybodaeth, wedi esgeuluso a difrio yr hen iaith y
gyfoethog Gymraeg, mewn dull hollol annheilw
ac o'u dysg, mewn dull hollol annheilwng o'
boneddigion ac fel ysgolheigion, a hollol annhei
rwydd eu gwlad, ac o yspryd eu hoes. Y mae
ieithwyr penaf Ffrainc a Germany wedi cyhoedd
au cryfaf ac anrhydeddusaf am hynafiaeth ac
rwydd yr iaith Gymraeg: ac os ydyw i gael
neilldu, caiff hun[illegible]dan ei choron; ac astudir ei
iaethol, a'i nerth darluniadol gan ysgolheigion d
a ddaw; a dichon y bydd y rhai a sugnasant
cysur a'u lles ysprydol o'r Beibl anwyl yma ar
ei chofio, ac yn gallu ei siarad a'i chanu byth b
nefoedd: oblegyd bydd nerth *cof* teulu perffeitl
purdeb yn llawer mwy nag ydym ni yn awr yn

wedi ymchwyddo lawer tro i lefaru geiriau o ymffrost anfuddiol ac anweddaidd. Y mae wedi ymwylltio lawer tro i enyn cynhenau a rhyfeloedd. Y mae wedi dallu ei berchenog lawer gwaith i esgeuluso ei rwymedigaethau pwysicaf. Y mae wedi mygu lawer gwaith anadliadau cariadlawn yr yspryd gwell oedd am ymweithio yn fwy haelfrydig ac anrhydeddus. Y mae wedi milwrio yn greulawn lawer tro yn erbyn dyngarwch a Christionogaeth. Yspryd cul, cenfigenllyd, ymffrostgar, cynhengar, rhyfelgar, a llofruddiog ydyw wedi bod; a goreu pa gyntaf iddo drengu o'r ffordd, a gadael i yspryd gwell ddyfod i orsedd y galon i lywodraethu yn ei le. Yr wyf, gan hyny, am droi gwrthddadl yr "Yspryd Cenedlgarol" i fod yn rheswm cryf dros bwnc mawr y Cymysgu, Balchder ac Ymffrost; culni a chenfigen, ac athrod a dialgarwch yr hen "yspryd cenedlgarol" ydyw un o brif ddrygau y byd; ac un o'r prif ddrygau sydd gan Dalaethau America i'w ofni, ac i wylio yn ei erbyn yn y dyddiau presenol: ac os gall Unol Dalaethau America reoleiddio a gorchfygu yr "yspryd cenedlgarol" sydd yn ymferwi o'u mewn, ni raid iddynt ofni unrhyw elyn allanol. Y mae yr yspryd drwg cenedlgarol yma wedi achosi drygau arswydus yn mhob oes, ac yn mhob gwlad, i bob cenedl ac i holl bobloedd y byd. Y mae yn llawn bryd i bob Cristion, ac i bob dyngarwr ymroddi i geisio magu yspryd gwell yn ei le. Y mae yn gyfreithlawn i ddyn ei garu ei hun, a dymuno ei lwyddiant a'i ddedwyddwch ei hun; ond os bydd ei gariad ato ei hun yn ei luddias i garu ei gymydog, y mae ei hunan-gariad yn groes i gyfraith Crist, yn bechod yn ei fynwes, a thrŷ yn ddamnedigaeth i'w enaid. Y mae yn gyfreithlawn i ddyn garu ei wlad a'i genedl, ond os bydd ei gariad at ei wlad a'i genedl yn ei luddias i garu cenedloedd eraill, ac yn ei atal i weithredu er lles y byd, os bydd ei gariad at ei wlad yn ei rwystro i geisio "llesâd llaweroedd" y mae ei wladgarwch yn groes i egwyddorion Cristionogaeth, yn felldith i'w wlad, ac yn dramgwydd ar ffordd achos dynoliaeth. Darfydded—a goreu pa gyntaf y darfyddo—pob cenedlgarwch ag sydd yn

rhaid i hyny fod. Na y pery ...
a gofal a chywreinrwydd, a threfn, a phob rhinw
deithasol a phersonol i ddylanwadu, dylanwadant pa
y byd oll yn un pobl mor gryf ; o leiaf, ag y maent
wadu yn awr pan y maent yn wahanol genedloedd.
cydymanog i ragori yn mysg deiliaid yr un genedl ;
bydd dylanwadau da o'i mewn ei hun, nid ellir disg
oddiwrth ddylanwadau allanol. Gan hyny, yn lle
ymgymysgiad yr holl genedloedd yn ataliol iddynt g
i ragori, bydd yn gymorth iddynt ; oblegyd i'r g
bydd eu cyfathrach yn agosach, ac yn gynesach, a
ach, bydd dylanwad eu cyfeillgarwch, a'u rhinw
dysg, a'u cywreinrwydd yn fwy grymus, ac yn fwy
yn fwy effeithiol. Y mae mewn llawer cylch bych
y cydymanog cryfaf i ragori er fod pawb ynddo o'r
ac o'r un llwyth. Byddai yn hollol anghyson i fed
i'r cydymanog i gariad a gweithredoedd da leihau
trwy gynydd ei gyfathrach a'i gyfeillgarwch. Ofer
ydyw dywedyd na meddwl y derfydd y cyd-ymano
pan y daw y byd oll i agosach ac anwylach undeb
pa lawnaf fydd y byd o gariad yr efengyl, mwyaf o
ddo o gydymanog i weithredoedd da.

5. Os cymysgir y cenedloedd felly, collir llawer

wyf yn meddwl y gellir cael teimladau gwell na'r teimladau oeddynt yn eu cynhyrfu ; ac os gellir eu cael, dylid eu cael ; ac os ceir teimladau gwell, gellir cael geiriau gwell i'w defnyddio mewn pob cyfarfodydd o gyfeillgarwch. Ni byddai ond ofer i mi ddweyd o hyd "Cymry fydd," neu "Cymro for ever;" oblegyd nid dyna ydyw trefn fawr Rhagluniaeth : ac yn wir, nid yw yr hyn sydd ddyngarol a Christionogol ynwyf am i'r Cymry fod yn Gymry dros byth, nac am i'r Iuddewon fod yn Iuddewon dros byth, nac am i'r Ellmyn fod yn Ellmyn dros byth, nac am i'r Gwyddelod fod yn Wyddelod dros byth, nac am i'r Indiaid fod yn Indiaid dros byth, nac am i'r Negroaid fod yn Negroaid dros byth ; ond yr wyf am iddynt gael eu toddi gan wres dwyfol gariad i ffurf fawr ogoneddus yr efengyl, fel y byddont "oll yn un ;" ac yr wyf am iddynt gael eu galw, nid ar unrhyw enw cenedlaethol, ond yn hil Adda, neu blant Noah, neu y teulu dynol, neu breswylwyr y ddaear, neu bobl y byd, neu ryw enw cyffredinol i arwyddo eu hunoliaeth, eu bod yn bobl o'r un dechreuad, o'r un gwreiddyn, o'r un gwaed, o'r un gyfansoddiad, o'r un cyflwr syrthiedig, o'r un gobaith am iachawdwriaeth, o'r un cyfrifoldeb, ac o'r un anfarwoldeb. Yr wyf felly am eu cael oll i fod yn "gyd-ddinasyddion," i fod yn un "frawdoliaeth," yn ddisgyblion i'r un Athraw mawr, yn un eglwys Gatholig, yn deulu Duw, yn gymundeb santaidd, yn un ddeadell ar yr un borfa, yn un "gorlan" dan yr un Bugail.

6. Barna rhai y dylid cadw "America i'r Americaniaid ;" a dadleuant, os daw holl genedloedd y byd yn un genedl, y derfydd eu hathrawiaeth. Darfydded hi, y mae yn sicr o ddarfod, a goreu pa gyntaf y darfyddo. Athrawiaeth hunanoldeb ac anwybodaeth ydyw. Athrawiaeth gwladgarwch cul, cibddall ydyw. Gwladgarwr dall, "heb weled yn mhell," nac yn mhell o'i flaen, nac yn mhell o'i ôl, nac yn mhell o'i amgylch, ydyw y dyn sydd am gadw "America i'r Americaniaid." Os oedd neb i gael dweyd "America i'r Americaniaid," y cynfrodorion fuont yn ei thrigfanellu am oesoedd lawer cyn ym-

edig felly yn "*Know Nothings;*" oblegyd, mewn
ni wyddant ddim am wladgarwch na dyngarwch,
ddim am philosophi na chrefydd, ni wyddant dd
eu hunain nac o hanes eu tadau, chwaethach o h
hanes troion Rhagluniaeth, a hanes dylanwadau
edigaeth fawr drwy waed yr Oen. Darfydded y
ysg y "Know Nothings" o holl Dalaethau a holl
America; a darfydded yn hollol ac am byth o b
o bob cenedl. Yn lle dweyd Lloegr i'r Saeson,
Cymry, a'r Iwerddon i'r Gwyddelod, a China i'r
America i'r Americaniaid; dylid dweyd, fod h
Cymro, a phob Sais, a phob Gwyddel, a phob
phob dyn byw, o bob gwlad a chenedl, i enill
onest, ac i gael cartref diogel yn mha wlad bynag
ynddi gartrefle trwy bryniad, neu unrhyw fodd
lawn, a dylai gael rhyddid a llonyddwch i ddilyn
a ddewiso, unrhyw alwedigaeth fuddiol, er cynali
ac er lles y byd.

7. Os cymysgir yr holl genedloedd felly, nychi
iad, a llethir pob cynllun am "wladychfa," i'r Cy
rhyw genedl arall. Yr wyf yn addef y gwneir
ydyw yr amcan o geisio sefydlu "gwladychfa" yn

meddwl y daw i ben. Yr wyf yn credu fod yr holl broffwydo fu am hyny yn groes i yspryd, ac i amcan, ac i holl broffwydoliaethau Cristionogaeth ; ac os felly, y mae yn beth analluadwy. Bum lawer tro cyn hyn yn meddwl mai y cynllun hawddaf i gael gwladychfa Iuddewig, fuasai i deulu galluog y Rothschilds, a phrif deuluoedd eraill yr Iuddewon, gyduno i adbrynu gwlad Canaan i fod yn gartref i'w cyd-genedl ; er iddynt gael ail-gyfaneddu yn hen wlad ymdaith ac etifeddiaeth eu tadau. Bu unwaith gryn lawer o son am hyny, ond nid wyf yn gwybod i ddim gael ei wneud tuag at hyny. Y mae prif deuluoedd yr Iuddewon yn awr yn dringo i fyny i sefyllfaoedd o ddylanwad, ac i swyddau o ddefnyddioldeb yn Europe ac yn America ; ac nid wyf yn gallu meddwl y gadawant y cylchoedd ëang hyny, er disgyn i lenwi cylchoedd is a llai mewn unrhyw barth o'r byd : ac yr wyf yn credu y gall yr Iuddewon fod yn fwy dedwydd a defnyddiol yn y gwledydd lle y maent yn awr, na phe ceisid eu crynhoi i gyd oll at eu gilydd i fod yn un wladychfa. Y maent wedi byw gyhyd ar wasgar, ac wedi arfer cyd-fasnachu â gwahanol genedloedd, fel nad ydynt yn gymwys, heb hir hyfforddiant, i ymgymeryd a gwahanol alwedigaethau "gwladychfa" iddynt eu hunain fel un pobl. Ac yr wyf yn ofni fod sefydlu yr hyn a elwir yn "WLADYCHFA GYMREIG," yn beth analluadwy. Nid ces genyf ddim yn erbyn i fintai o Gymry gydymfudo i ryw wlad, neu i ryw Dalaeth, lle y bydd digon o le rhydd iddynt drigianu ; ac yr wyf yn credu y gall eu hyspryd, a'u hegwyddorion, a'u harferion fod o les mawr mewn unrhyw gylch lle y preswyliant ; ond os eu hamcan wrth gydymfudo i ryw le felly fydd bod yn "*Gymry dros byth*," ac i gadw at yr hen iaith Gymraeg am "oes y byd ;" yr wyf yn ofni yr â pob amcan felly yn gwbl ofer : ac anogwn hwy, yn lle meddwl am ymgadw yn genedl bur, o waed coch cyfa digymysg Cymreig ; ac yn lle meddwl am ymgadw at yr hen Gymraeg "tra mor, a thra mynydd," a thra pery "oes y byd," i gymeryd llyfrau Saesneg gyda hwy, ac i gymeryd merched a meibion ieuainc glandeg a glanwaith

[redacted]



gyda hwy o Loegr, ac o Scotland, ac o Germany, ac ymgymysgu â'r cyfryw, ac ymgyfathrachu â'u holl gymydogion, yn enwedig os byddant am fyned yn mlaen gyda'r oes, ac am lwyddo yn y byd.

Cychwynwyd "Gwladychfa Gymreig" yn nhiroedd pell y Gorllewin, yn amser Madog ab Owain Gwynedd, ond y mae hono wedi myned ar goll er ys llawer dydd. Cychwynwyd gwladychfa Gymreig, dan lawer o fanteision, mewn Talaeth hyfryd a ffrwythlawn ar oror gorllewinol Ffrainc, ond y mae hono yn awr yn llawn o bob cymysg. Cychwynwyd gwladychfa Gymreig yn y "Dyffryn Mawr" gerllaw Philadelphia, tuag amser William Penn, ond deallodd y gwladychwyr yn fuan mai yr enill mwyaf iddynt fyddai ymgymysgu a'u cymydogion. Cychwynwyd wedi hyny lawer gwladychfa Gymreig lai mewn gwahanol Dalaethau ar gyfandir America, ond dechreuasant oll gydymgymysgu a'u cymydogion bron yn union ar ol eu dechreuad. Y wladychfa Gymreig hynaf yn awr yn y byd, a'r un sydd debyg o fyw hwyaf, ydyw yr un sydd yn nhywysogaeth Cymru; ond y mae cryn lawer o "gymysg" yn ymwthio yn mlaen y dyddiau hyn i galon Cymru. Yr wyf yn caru fy nghenedl gymaint fel y carwn iddynt gael lleoedd da, iachus a hyfryd i ymsefydlu ac i breswylio ynddynt; ac yr wyf yn llawenychu fod ynddynt gymaint o yspryd i chwilio am leoedd felly; ond yr wyf hefyd yn eu caru gymaint fel na hoffwn iddynt fod yn "bobl neillduedig" ar eu pen eu hunain, pan y bydd holl genedloedd y byd, yn ngwres eu dyngarwch a'u Cristionogaeth, wedi ymdoddi i'w gilydd i fod yn "un pobl."

8. Trefnwyd y byd wrth ei *ddosranu* yn gyfandiroedd, ac yn ynysoedd, yn ddyffrynoedd ac yn fynydd-diroedd, i fod yn gartref i wahanol genedloedd, ac nid i fod yn rhyw un cartref llydan i un genedl. Na, y mae yn gamgymeriad i dybied felly; oblegyd nis gall ei raniadau daearyddol fod yn ataliol i'w breswylwyr gydfasnachu, a chyfathrachu, a dyfod yn un iaith ac yn un genedl. Nid yw *agerdd*-deithio mil o filldiroedd yn awr ddim yn agos yn gymaint llafur ag oedd teithio can' milldir yn

y dyddiau gynt. Gellir croesi o Loegr i Ffrainc mewn teirawr; ac nid yw croesi yr "English Channel" yn ddim mwy o rwystr i bobl Ffrainc a phobl Lloegr fod yn un pobl, nag ydyw y teithio ar y tir o Cornwall i Durham yn rhwystr i bobl y ddwy sir hyny o Loegr i fod yn un pobl; neu i bobl Ulster a phobl Munster yn yr Iwerddon i fod yn un bobl; neu i bobl goror yr English Channel a phobl cyrau y Pyrenees yn Ffrainc i fod yn un pobl. Y mae hyd yr Unol Dalaethau o'r Dwyrain i'r Gorllewin bron yn dair mil o filldiroedd, ar draws afonydd a mynyddoedd, ond nid ystyrir hyny yn unrhyw rwystr i'r preswylwyr fod yn gyd-ddinasyddion, ac yn gyd-genedl. Y mae hyd y Mississippi yn dros dair mil o filldiroedd, a hyd y Missouri yn dros bedair mil, ond nid oes dim anhawsdra i'r rhai sydd yn byw i fyny oddeutu eu tarddiad, ar rhai sydd yn byw i lawr oddeutu New Orleans i fod yn un pobl. Y mae chwe' mil o filldiroedd rhwng pobl gorllewin-barthau Canada a phobl Lloegr, ac y mae môr mawr yn treiglo rhyngddyt, eto y maent yn gyd-ddeiliaid, ac yn gyd-genedl. Y mae holl led y ddaear rhwng y Saeson sydd yn India a'r Saeson sydd yn Canada; eto y maent yn gyd-ddeiliaid ac yn gyd-genedl. Na ddyweder gan hyny fod rhaniadau y ddaear yn ataliol i ddynion i fyw yn gariadlawn mewn undeb a chyfathrach fel un pobl.

9. Dichon y dadleuir fod gwahanol *hinsoddau* y byd yn ataliol i'w breswylwyr ddyfod yn un genedl: ond nis gall fod grym yn yr wrthddadl; oblegyd y mae dynion yn medru eu hinsoddi eu hunain at bob lledred, yn ol eu hewyllys. Y mae pobl o Loegr ac o America yn awr yn byw yn mhob hinsadd ar wyneb yr holl ddaear. Y mae llaweroedd o honynt yn byw yn India y Dwyrain, a llaweroedd yn India y Gorllewin, llaweroedd yn ynysoedd y Gogledd, a llaweroedd yn ynysoedd y De. Dywedwyd yn fynych na fedrai Negroaid o Affrica ddim byw yn ngwledydd y Gogledd, ac na fedrai pobl gwledydd y Gogledd ddim byw yn Affrica; ond y mae Negroaid o Affrica yn byw yn Ngogledd-diroedd America; ac y mae Americaniaid o'r cyrau gogleddol yn byw yn Affrica. Gallai dyn, mewn

ddeifiol pan y bydd y gwresfesurydd ddeg gradd a
law zero ; nac ymdroi ac ymorwedd yn llygad yr
bydd yn gan' gradd uwchlaw zero. Y mae dynic
eu cyfaddasu eu hunain at unrhyw hinsawdd pan
yn tybied y try hyny er unrhyw elw iddynt ; o g
teg ydyw dweyd fod gwahanol hinsoddau y byd
i'w breswylwyr ymgyfathrachu mewn cariad er m
un pobl.

10. Dadleuir weithiau fod rhai cenedloedd w
darostwng mor isel, ac wedi ymlygru mor fawr fe
yn gymwys i ymgyfathrachu â chenedloedd o uwc
iad, o goethach chwaeth, o ddyfnach dysg, ac o b
au. Y mae pob cenedl wrth natur wedi syrthio, 
llygredig. Gŵyrasant oll, aethant i gyd yn anf
ameu fod rhai wedi ymlithro yn îs nag eraill ; eto
i godi y rhai isaf, a duaf, ac aflanaf, i fod yn gyd-d
â'r saint ac yn deulu Duw. Y mae yr Athraw m
og ac yn ewyllysgar i'w dysgu. Y mae llewyrcl
efengyl ei ras ef yn ddigon i'w goleuo. Y mae gwa
ef yn ddigon i'w glanhau. Y mae balm ei iachaw
yn ddigon i'w meddyginiaethu. Y mae golud a
ei ras ef yn ddigon i'w cyfoethogi ; ac ordinhada
gyfaddas i'w hadgyweirio, a'u hymgeleddu, a'u gw
eddigion y nefoedd ; a rhaid i'r rhai sydd am eu
iddynt ar y ddaear ...

lawni er cael y byd i fod oll yn un. Nid ydwyf am orfodi Cymro i briodi Gwyddeles, nac am orfodi Sais i briodi Negroes, nac am orfodi Groegwr i briodi Iuddewes, na Ffrancwr i briodi Japanes, na Spaenwr i briodi Indianes, nac Ysgotyn i briodi Hindwes. Fy amcan yw ceisio dangos y byddai yn dda ar les holl genedloedd y byd iddynt gyd ymgyfathrachu mewn cariad, nes dyfod oll yn bobl o'r un gwaed, ac o'r un iaith, o'r un gân ac o'r un weddi. Fy nymuniad yw gwneud fy rhan, er lleied ydyw, i symud y rhagfarnau sydd gan y naill genedl yn erbyn y llall, a nychu y genfigen a lladd yr elyniaeth sydd rhyngddynt; a chodi pwnc mawr y cydymgyfathrachu a'r cydymgymysgu a'r cydymgaredigo i fod yn un mwy poblog, a mwy "*fashionable;*" oblegyd pe medrid unwaith argyhoeddi cenedloedd y byd fod eu rhagfarnau, a'u cenfigenau, a'u anghydfyddiaethau cenedlaethol yn niweidiol i'w cysur, ac yn ataliol i'w ffyniant, ac y byddai dilyn egwyddorion heddychgar haelfrydig yr efengyl yn llesol iddynt yn dymhorol, yn gystal ag yn ysprydol, gorchfygid ar unwaith y prif anhawsderau i gael y byd oll i fod yn un genedl.

12. Na ddyweder fy mod mewn un modd am ranu goludoedd y byd i fod yn eiddo "cyffredin" i'w holl breswylwyr. Na, yr wyf yn selog iawn am i'r diwyd a'r ymdrechgar, a'r gofalus, a'r cynil gael pob tegwch ac amddiffyniad i fwynhau o ffrwyth ei ddiwydrwydd, a'i lafur, a'i ofal. Y wyf yn barnu mai teg ydyw i'r diog a'r afradlon gael ei adael i brofi o ffrwyth ei fusgrellni, a'i segurdod, a'i wastraff. Yr wyf am i bawb gael yr un chwareu teg. Nid wyf am i'r tlawd diofal a diog gael pwyso ar y cyfoethog darbodus a diwyd, nac am i'r cryf cyfoethog ddirwasgu y tlawd gwan; ond yr wyf am iddynt gydweithio mewn cariad, gan fod yn hyderus yr effeithia hyny er eu cyd-lesad. Nis gall fod o ddim derchafiad na dim enill i unrhyw wlad i'w chyfoethogion wasgu ei thylodion; ac ni ddylai segurwyr tlodion gwlad gael pwyso mewn un modd, nac ar unrhyw gyfrif, ar y diwyd, na chael anrheithio y cyfoethogion. Nid oes ar gariad ddim eisiau tynu cyfiawnder i

der, ac y mae cyfiawnder yn gorfoleddu yn holl g
holl fuddugoliaethau cariad. Amcan mawr hc
goruchwyliaeth yr efengyl ydyw cael trugaredd a
gydymgyfarfod, a chyfiawnder a heddwch i
wrth dangnefeddu, a chyfoethogi, a dedwyddu
ddaear.

Cydnabyddir gan rai fod yr egwyddor fawr o
holl genedloedd, nes eu cael "oll yn un," yn egw
ylaidd. Cydnabyddant fod yr egwyddor fawr
gydymgyfathrachu nes eu cael oll i fod o'r un gw
iaith, o'r un gân ac o'r un gred, nes eu cael oll
ddeadell, berthynol i'r "un gorlan," i adnabod ac
yr "un Bugail," yn un o egwyddorion mawrion l
ionogaeth ; ei bod yn egwyddor êang, gariadlaw
ac y daw i lawn weithrediad tua chanol y mil b
ond "na ddaeth yr amser eto" i'w phregethu
"rhy gynar eto" i'w chynyg i sylw, ac i geisio y
phlaid. Y mae yn galondid ac yn gysur nid b
glywed y cyfryw yn cydnabod fod y fath uchel e
egwyddor ; ac yn addef y daw i fuddugoliaeth, a
un o egwyddorion gogoneddus y mil blynyddoe
hyny yn gydnabyddiaeth effeithiol ei bod yn egwy
egwyddor ddeil ei chwilio yn y goleuni, ddeil ei
linynau cariad, ddeil ei phwyso yn nghlorian yr

i'r galon hono ag sydd yn awr yn ei gwrthod, ar y dybiaeth ffol ei bod yn "rhy gynar" i'w derbyn, gael ei hagor i'w chroesawu, teimlai ei hun ar unwaith yn cynesu ac yn ymeangu, yn ymoleuo ac yn ymddedwyddu. Dechreuai y mil blynyddoedd ar unwaith yn y fynwes lle y cai yr yspryd efengylaidd yma ddylanwadu. Llewyrchai i'r galon hono wawr dawel gynes y mil blynyddoedd: fflamiai ynddi gariad tyner a gwresog tymor y cariad mawr; profai o dangnefedd amser yr heddwch mawr; a gwnai y galon hono ei rhan er dwyn yspryd dedwydd y mil blynyddoedd i'r teulu, ac i'r eglwys, ac i'r ardal, ac i bob cylch lle y byddo ei dylanwad yn cyrhaedd; a gwnai ei llawn ran er cyflymu lledaeniad cysuron y mil blynyddoedd dros wyneb yr holl ddaear.

Y mae llaweroedd o'r bobl sy'n dadleu "na ddaeth yr amser eto" yn bobl foneddigaidd, ac yn proffesu ffydd yn egwyddorion Cristionogaeth, a pharch i'w hordinhadau: ac y maent yn arwyddo eu bod yn tosturio wrthyf fi am fy mod mor rhyfygus a "gwirion" a thynu gwg arnaf fy hun, a gwrthwynebiad i'm herbyn wrth ymwthio mor anystyriol o "flaen fy oes." Y maent yn canmol rhai o nodweddau fy yspryd, ond y maent yn gofidio am fy mod mor anghall a rhuthro mor afreidiol i diroedd mor anmhoblog: ac y maent am i mi arafu, ac ymaros er cael bod yn nghanol y llu mawr sydd yn "dilyn yr oes." Yr wyf yn ddiolchgar iawn iddynt am gyngor eu tosturi; ac yr wyf wedi cael fy llawn ran o'u tosturiaethau ar lawer amgylchiad; ond rhaid i mi gael dywedyd wrthynt, Fod yn well genyf o lawer iawn fod "yn mlaen" gyda'r ychydig gyfeillion sydd ar ben heulog bryn yr efengyl, wrth draed yr Athraw mawr, dan ddyferynau geiriau ei gariad, yn yfed o yspryd addysg ei Bregeth ar y Mynydd, ac yn "ymwthio" i'w deyrnas, na bod "ar ol," i lawr draw yn nglynoedd tywyll oerion afiachus culni a chenfigen gwladwriaethol, er cael bod yno yn nghanol y lliaws, os bydd y lliaws yn gwrthod agor eu llygaid i weled dydd goleu yr efengyl, ac yn rhy ddiog i ddringo i fynu i uchelfanau hyfryd Cristionogaeth. Yr wyf

mae ar yr un pryd fymryn o sŵn gogan yn
wyf o bryd i bryd wedi gwrando llawer ar eu
yr wyf yn argyhoeddedig mai cyngorion bydc
ynt : a bod rhyw gau-ddeniadau hudawl yn e
ol : ac yr wyf am waeddi arnynt, Pa ham yr
gyngodion afiach sectyddiaeth gwladwriaeth
ymddyryswch yn rhwydau phariseaeth yr ach
cloffwch yn y llaid ar waelodion y rhiwiau ?
au sydd wedi tynhau am eich traed. Ymdda
rwymau eich gwddf. Y mae yr haul wec
ffurfafen Cristionogaeth. Y mae yn hen bry
wyd, ac agor eich llygaid. Dringwch i fynu
ryd heulwen gynes yr efengyl. Na freuddwy
rhy foreu i chwi ddeffro. Nid y bobl sydd o
i droi yn ol atoch chwi, ond y chwi raid ddri
hwy. Nid credinwyr y Bregeth ar y Mynydc
lawr i'ch glynoedd culion, oerion, anial, afia
chwi raid ddringo i fyny atynt hwy i awyr a
ionogaeth. Pa ham y byddwch chwi fel pwy
odreu yr oes i luddias ei derchafiad a'i chynyd
arafwch olwynion pob gwelliantau ? Pa ham
drefniadau ag ydynt wedi bod yn dramgwydc
cariad a heddwch ? Yn lle tosturio wrth eic
wedi "ymwthio" o flaen yr oes, tosturiwch w
ain am eich bod yn cadw eich oes ar ol

dal chwi i lawr dan gysgodion y glyn, a gellwch golli am byth y fraint fawr o broffesu ac o bleidio rhai o egwyddorion pwysicaf yr efengyl. Byddai yn drwm i'ch tymor ddarfod heb i chwi arddel egwyddorion gogoneddus y Bregeth ar y Mynydd. Collech felly am byth eich cyfle a'ch braint i gynyg cynllun Iesu i sefydlu tangnefedd ar y ddaear. Byddai hyny yn fwlch mawr yn eich coron yn nydd y cyfrif ac am yr oes ddiddarfod.

Yr oedd, hyd yn nod yn nyddiau yr apostolion, ac yn yr oesau boreuaf ar ol hyny, laweroedd o ddisgyblion Cristionogogaeth yn llefaru yn uchel, ac yn gweithio yn selog yn erbyn yspryd ac amcan Cristionogaeth; trwy geisio cryfhau a lliosogi hen "ganolfuriau gwahaniaeth," a chadw i fynu hen ordinhadau y genfigen a'r anghydfod. Yr oedd Iuddewaeth a Groegaeth a Rhufeinaeth, a llawer "*aeth*" arall, yn gryf ac yn boeth iawn yn amser Paul; ac yr oedd Paul yn gwybod yn dda iawn, drwy hanes, a thrwy brofiad, a thrwy addysg Yspryd Crist, am ogwydd calon lygredig dyn at Phariseaeth erlidgar sectyddiaeth yr "achau," ac at gulni gwenwynawl yspryd plaid: ac o blegyd hyny yr oedd yn dwys rybuddio yr esgobion ieuainc, Timothy a Titus, i ochel "Cwestiynau ffol, ac ACHAU;" ac yr oedd yn eu cyfarwyddo i ofalu cyngori yr eglwysi, a'u holl wrandawyr, i beidio dal ar "ACHAU ANORPHEN." Ond buwyd yn dal yr "Achau anorphen" yn hir iawn ar ol dyddiau Paul. Y mae yn alarus i feddwl fod llaweroedd o Gristionogion yr oesau canol, a'r oesau ar ol hyny, wedi bod yn dyfal ategu hen ganol-furiau rhagfarn a llygredd, a hen ordinhadau Phariseaeth a choelgrefydd; a'u bod, drwy hyny, wedi magu cenfigen ac anghydfod rhwng y naill genedl a'r llall, a rhwng y naill eglwys a'r llall, yn lle ceisio "gwneuthur heddwch" rhyngddynt; a'u cymodi oll â'u gilydd yn un corff drwy'r Groes." Ymddygodd yr hen Buritaniaid o Loegr bron mor Phariseaidd tu ag at gyn-frodorion, a chyn-*berchenogion* America, ag yr ymddygodd y Pabyddion gwaethaf o Spain a Portugal. Yn lle ceisio enill yr Indiaid i fod yn "un corff" â

yr Indiaid i fod yn wragedd iddynt, a rhoddi
thau i fod yn wragedd i'r Indiaid, nac ymfydc
fel y gwnaethant. Pe buasent wedi *cydymgy*
asai eu gwaed heddyw mor goch ac mor iach,
bur ac mor grefyddol ag ydyw: oblegyd yr
hyny, nid yn *Ham*-iaid (pe buasai rhyw wrth
ond yr oeddynt yn *Sem*-iaid o waed coch cy
ganddynt gystal titl i fendith Proffwydoliaeth
gan eu cefnderoedd y *Japhet*-iaid Puritanaidd
oedd gwaed goreu yr hen Batriarch Noah y
gwythienau. Ac y mae Naturiaethwyr yn gc
mysg y bobloedd *gwynaf* y ceir y cyrff iachaf a
lluniaidd a mwyaf heinif, ac agosaf i berffeithr
ferthwch cyrff y ddau *gyntaf* yn Eden; ond y
llwythau croen-dywyll yn Arabia, a dichon r
India ac America, ac felly, ni buasai ddim yn
wch, na nerth, na iechyd, na *doniau* na *duwi*
iaid *gwynion* iddynt ymgymysgu â'r Indiaid
buasai eu hiliogaeth, drwy y fath gymysgiad,
o ran eu lliw a'u llun corfforol i'n rhieni cynta
lem ystyried y *gall* ein bod ni yn camgymeryd
mai y croen *gwynaf* ydyw y tebycaf i berffeitl
ddau ddiniwed a gyd-ymrodient gynt dan gys
lan afon Eden. Ac os gau-archwaeth ydy

l,—o wlad eu-genedigaeth, a gwlad eu hir lafur, a cheisio lanu mewn gwlad newydd,—gwlad o lafur newydd, o anld newydd, ac o brofedigaethau newyddion, i fyw yno o'r lu, ar eu penau eu hunain, allan o gyrhaedd pob cyfathrach obl wynion, yn gynllun llawn mor anefengylaidd, ac bron mor greulawn, ag ydyw ymddygiadau Awdurdodau y De ı cadw mewn caethiwed: ac yr wyf yn meddwl ei bod yn ldach i ddwyfol drugaredd a doethineb oruwch-lywodrn llygredigaethau a gormes caethfeistri y De i ddwyn i ben ın mawr Cristionogaeth o gael y byd yn "un pobl," yn un ı, yn "un dyn newydd," yn "un corff," nag ydyw i oruwchdraethu *Rhagfarnau Iuddewaidd* y Gogledd, er cael d rydd i gyflawniad amcanion gogoneddus yr efengyl. edir fod llawer o gyfathrach wedi bod, ac yn bod rhwng o'r Negröaid â rhai o'u harglwyddi. Buasai yn werthpe buasai y cyfathrach hyny wedi bod yn gyfreithlawn ı anrhydeddus: ond er eu holl lygredd, y mae llai o greu:b ynddo nag sydd yn y Phariseaeth sydd am *alltudio* y ·öaid o'r ffordd. Yr oedd yn tynu i lawr yn lled gyflym ıai parthau o'r De, *un* canolfur o wahaniaeth, sef canolfur *y croen*, ac os unwaith y datodir canolfur y lliw, datodir l cyn hir hen drefn orthrymus caeth-wasanaeth: a daw y :d Negröaidd i feddiant o'r etifeddiaethau cynhes ag ydynt hir lafurio. Hoffwn yn fawr i ganolfur y lliwiau gael ei od, ac i ragfarn y lliwiau ddarfod drwy yr holl fyd. Cawn wiau gael eu *cymysgu*, ond iddynt gael eu cymysgu trwy iadau cyfraith cariad ac anrhydedd a phurdeb. Yr wyf :edu y gweithia cariad a chyfraith yr Efengyl holl genedly byd i'r unoliaeth hyny bob yn ronyn; ac yr wyf yn ı y daw gwaed meibion Ham, ond iddo unwaith gael ei eiddio trwy rinweddau gwaed yr Oen, mor goch ac mor mor lawn o elfenau awen ac athrylith, a chywreinrwydd, rioldeb, a gwaed neb o feibiom Sem, neu o feibion Japh· Amser gogoneddus a dedwydd fydd hwnw pan y daw ith hen gyfamod cyfoethog Abraham ar y [illegible]

a'r saint ac yn deulu Duw: wedi eich go
sail yr apostolion a'r proffwydi, ac Iesu Grist
gongl, yn yr hwn y mae yr holl adeilad
*gyd-gysylltu*, yn cynyddu yn deml sanctaidd
yn yr hwn y'ch cyd-adeiladwyd chwithau yn
drwy yr Yspryd."

Gwn yr haerir gan rai fy mod, wrth ddyw
iawnhau trais, a llygredigaeth. Nac ydwy
wir, mewn un modd. Byddwn mor barod a
wyr i ddywedyd wrth ormeswyr anllad
thwyller chwi, ni chaiff na godinebwyr, na t
masweddwyr, na lladron, na chybyddion, na
feddu teyrnas Dduw." Ond y mae weithiau
rhai *felly* i ffydd yr efengyl, nag ydyw enill
ac y maent, ar ol cael eu henill, yn ymollw
drefn eang rasol yr efengyl nag y gwna pol
ac oblegyd hyny, gellir dywedyd wrthynt:
honoch chwi; eithr chwi a olchwyd, eithr
iwyd, eithr chwi a gyfiawnhawyd yn enw y
a thrwy Yspryd ein Duw ni."

Peth croes i Yspryd Cristionogaeth ydyw
mewn Caethwasanaeth; a byddai eu halltud
gyrhaedd pob cyfeillach a phob cyfathrach
gwynion, yn beth hollol groes i yspryd a de
Gobeithio y goddefir iddynt gael mwynhau

Dichon y meddylir ac y dywedir gan rai fy mod yn rhy lym ar goffadwriaeth yr Hen Bererinion enwog, Tadau Puritanaidd Talaethau goludog Lloegr Newydd. Yr wyf yn addef fy mod yn teimlo yn ddolurus, yn ddolurus iawn, wrth feddwl am eu hyspryd a'u hymddygiad tu ag at yr Indiaid, cyn-frodorion America. Y mae yn fwy o ofid genyf feddwl am greulonderau yr hen Buritaniaid, am fod cymaint o rinweddau o wir fawredd yn perthynu i'w cymeriad. Yr oeddynt mor Phariseaidd eu rhagfarnau, mor gul eu hyspryd, ac mor farbaraidd eu dialgarwch fel yr oeddynt yn *haeddol* o gael eu trin, ac yr oeddynt mor enwog o ran rhai o'u rhinweddau fel yr oeddynt yn *werth* eu trin. Yr oedd hen ysgolfeistr enwog yn Lloegr ag oedd yn arfer fflangellu ei ddysgyblion yn llym iawn am eu holl feiau. Yr oedd yr athraw hwnw unwaith yn nghymdeithas cryn nifer o bendefigion ag oeddynt wedi bod lawer tro dan ei fflangell pan oeddynt yn ddisgyblion iddo. Dechreuodd un o honynt ymffrostio nad oedd ef erioed wedi cael ei fflangellu gan y Doctor drwy'r holl amser y bu yn ei ysgol. "O," meddai'r Doctor, wrth esbonio hyny, "I never threw a *flogging* away," gan awgrymu yn bwysleisiol iawn nad oedd y pendefig hwnw ddim yn werth ei floggio. Y mae llawer o bobl wedi bod yn y byd ag nad oeddynt yn werth eu floggio; ac y mae rhai eto yn y byd ag nad ydynt yn werth y drafferth o'u floggio; ond nid rhai felly oeddynt yr hen Buritaniaid. Yr oedd y mawrfrydigrwydd a berthynai i'w cymeriad yn gwneud eu beiau yn waeth eu dylanwad, ac yn fwy haeddol o gondemniad.

Gellir dweyd yr un peth a'm deimladau culion llaweroedd o bobl dda y Gogledd tu ag at y Negröaid. Y mae y rhinweddau uchel a berthynant i'w cymeriad, ac yn enwedig eu sêl o blaid achos gogoneddus rhyddid, yn gwneud eu rhagfarnau yn erbyn y Negröaid yn fwy haeddol o gondemniad.

Yr oedd yr Unol Dalaethau fel pe buasent wedi cael eu lledu a'u trefnu a'u cyfoethogi gan Ragluniaeth drugarog a doeth y nefoedd i fod yn faes teg rhydd, er dwyn i weithrediad yr egwyddor fawr o "gymysgu" gwahanol genedloedd, er eu gwneud

y Tadau, a bod llaweroedd o'u plant yn ein
gryf ac mor boeth eu rhagfarn yn erbyn egw
ag sydd mor lawn o gariad a gras yr Efengy

---

## SEFYDLIADAU GORMI

Y mae y byd, er adeg y cwymp, wedi boc
ydliadau gormes. Ystyrir y rhai canlynol fe
o honynt :

I. Caethfasnach a chaethwasanaeth.

II. Arfogi byddinoedd i ymosod ar gene
anwaraidd, a diamddiffyn, er dwyn eu tiriog
ianau oddiarnynt.

III. Crefyddau sefydledig, neu rwymo dei
i dderbyn ei chredo sefydledig, ac i gynal ei
addoliad.

IV. Cyfreithiau pleidiol, a deddfau anwas

V. Tenantiaeth "at will," neu ddyfais ar

I. Y *gaethfasnach a chaethwasanaeth*, am mai dyna un o'r rhai hynaf, ac eangaf, a gwaethaf. Y mae caethwasanaeth wedi bod yn y byd er yr oesau boreuaf. Yr oedd mewn arferiad yn hir cyn dyddiau Abraham. Y "trawsedd" hwn oedd un o brif achosion dygiad y diluw dros y ddaear. Yr oedd caethwasanaeth yn un o sefydliadau yr Aiphtiaid a'r Pheniciaid, a'r Assyriaid, a'r Babyloniaid, a'r Mediaid, a'r Persiaid, a'r Groegiaid, a'r Rhufeiniaid: ac nid oes dim hanes fod neb o'u dynion goreu, neb o'u diwygwyr penaf yn dweyd dim yn erbyn yr arferiad. Yr oeddynt mor anwybodus, neu mor anystyriol o iawnderau dyn, fel yr oeddynt oll yn cydymfoddloni i gynal yr anghyfiawnder.

Yr oedd gwahanol ffyrdd ganddynt i wneud dynion yn gaethion. Byddid yn gwerthu rhai i gaethiwed am droseddau gwladol. Byddai dyledwyr yn cael eu gwerthu weithiau er clirio eu dyledion. Byddai afradloniaid, trwy ddilyn eu melus-chwantau yn suddo i dlodi, ac yn eu gwerthu eu hunain, fel yr unig ffordd i gael cynaliaeth. Byddai rhieni weithiau, dan wasgfeuon newyn, yn gwerthu rhai o'u plant er cael lluniaeth iddynt eu hunain, ac i'w plant eraill. Byddai minteioedd arfog o grwydriaid llofruddiog ar brydiau yn gwibio ar draws y gwledydd, ac yn lladrata dynion i'w gwerthu i'r sawl a'u prynent; ond y ffordd benaf, greulonaf, oedd ffordd rhyfel. Defod y gorchfygwyr bob amser oedd arwain eu carcharorion i gaethiwed.

Yn yr hen oesoedd hyny, nid pobl o ryw un lliw, neu un genedl fyddent yn cael eu caethiwo; ond byddai dynion o bob lliw a llun, o bob gwlad ac iaith, ac o bob oed a gradd, yn cael eu cadw yn gaethion. Pan oedd Rhufain yn uchder ei nerth a'i "gogoniant," yr oedd yno gaethion o'r holl wledydd a oresgynasai: caethion duon o Abyssinia ac Ethiopia, a chaethion gwynion o Judea ac o Gymru. Yr oedd yno gaethion dysgedig, ac awenyddol, ac athrylithfawr, o'r Aipht ac o diroedd Groeg i ddysgu y celfyddydau a'r gwybodaethau i'w harglwyddi; a chaethion boneddigaidd o gyrau Itali i goginio

uuogaeth Negroaid, o ganolbarth Affi
o gaethion yr oes bresenol. Tybiwy
hawddach eu lladrata o'u cartref, ac
dan yr iau, na dynion eraill; a'u bod
dyoddefgar na dynion eraill: ac felly
edd yn ol, trefnodd awdurdodau Port
llongau i ororau Affrica, i brynu neu
gwerthu i gaethiwed yn Nhalaethau
mhen rhai blynyddoedd ar ol hyny, dil
lawn gan Loegr a Ffrainc, a rhai o wle
dygwyd y fasnach felldigedig yn mlaen
oedd yn y modd mwyaf barbaraidd a
wyd amddiffynfeydd, neu farchnad-le
caerog, a elwid "*Slave Factories*," ar o
ca. Anfonwyd gwehilion y dosparthia
hiraf Europe, ysgum y meddwon a'r p
morwyr, i fod yn arolygwyr a swydd
uffernol hyny; ac astudiwyd y cynllun
Negroaid iddynt o ganol y wlad, fel y g
gyrhaeddai yno, gael ei llwyth yn hawd
Yr oedd gan ladron cythreulig y "slave
ffordd i gael y trueiniaid i'w gafael. Y
yn anfon goruchwylwyr o filwyr

aidd yn fywiog gyda'r gwaith o hela a dal eu cyd-genedl, i'w gyru i ororau y Gorllewin, i'w gwerthu i'r prynwyr gwynion o Europe, oblegyd yr oedd eu teidiau wedi bod am lawer o oesoedd yn arfer hela eu cydwladwyr tua'r dwyrain i'w gwerthu i brynwyr o'r Aipht ac o Asia. Teg ydyw addef fod caethfasnach a chaethwasanaeth wedi bod yn Affrica am lawer o oesoedd cyn i farsiandwyr Europe ac America ddechreu ar eu creulonderau yno; ond perthyna iddynt hwy y gwarth oesol o helaethu y fasnach i raddau nad ellir yn hawdd eu dirnad. Yr oedd y gaethfasnach Negroaidd yn ddwy gangen, hen gangen y Dwyrain, a changen ieuangach y Gorllewin; ac y mae yn alarus i orfod addef fod y caethion a ddygid gan y Cristionogion i Dalaethau newyddion y Gorllewin, yn cael eu trin yn llawer creulonach na'r caethion a ddygid gan y Mahometaniaid i hen wledydd Asia. Yr oedd caethlongau y marsiandwyr o Loegr yn dwyn yn mlaen eu cyflawn ran o'r fasnach, oblegyd yr oeddynt yn hyf-hwylio dan nawdd eu llywodraeth, yn ol deddf a seliasid gan y Frenines Elizabeth. Ni wyddir yn awr pa nifer fyddid yn gaethgludo bob blwyddyn o ganolbarth Affrica tua'r Dwyrain, ond buwyd ar amserau yn caethgludo i'r Gorllewin oddeutu can' mil yn flynyddol; ac yr oeddid yn cyfrif fod tua deunaw mil ar hugain o'r cyfryw yn perthynu i Loegr. Heblaw y miloedd fyddid yn ladd wrth "hela" y can' mil hyny, byddai bron eu haner yn meirw gan ddychryn, a hiraeth, a lludded, a newyn wrth gael eu gyru, mewn rhwymau, o'u bro enedigol yn nghanol y wlad, i'r slave factories ar lan y môr; a byddai bron haner y gweddill yn meirw ar eu mordaith, ac wrth gael eu cynefino â'r iau: ac felly nid oedd, nemawr dros bum' mil ar hugain o'r can' mil a gychwynid o Affrica, yn byw i fod o ddim gwasanaeth i'w caethfeistri yn Nhalaethau America.

Buwyd yn dwyn y fasnach yn mlaen dan nawdd prif lywodraethau Cristionogol Europe am bron dri chan' mlynedd. Byddai ambell un, yma ac acw, yn enwedig o'r Crynwyr, yn ceisio codi ei lais, o bryd i bryd, yn erbyn anghyfiawnder a

mlynedd: ac o'r diwedd seliwyd ded
Brydeinig i ddarfod ar y dydd cyntaf
fuan ar ol hyny, darfu i Lywodraethau
odraethau yr Unol Dalaethau a Brazil,
a diddymu y gaethfasnach, neu mewn g
caethgludiad ychwaneg o Negroaid o A
alarus i adrodd i'r fasnach felldigedig,
cryfion a enwyd ei chondemnio i farw,
meithion ar ol hyny; a'i bod yn cael ei
mwy o greulondeb nag erioed; a hyny
gwaedlyd, os oedd modd, yn ei dwyn yn
demnio, nag oedd yn ei dwyn yn mlaen
drwyddedig. Yr oedd caethlongau a mo
yn llawer mwy llofruddiog i'r caethion na
iau y masnachwyr "rheolaidd," awdurdo

Dylid cofio nad oedd y Llywodraethau
ddymu y gaeth-*fasnach* ddim yn diddymu
eu tiriogaethau. Er eu bod yn gwahard
waneg o Negroaid o Affrica, yr oeddynt
oeddynt wedi cael eu dwyn—hwy a'u bilio
mewn caethiwed. Bu gan Loegr gaethio
gorllewinol am lawer o flynyddoedd ar
gaeth-*fasnach*; ...

angau y fasnach fyddai egluro a phrofi fod llafur rhydd cyflogedig yn rhatach na llafur caethwasanaeth ; ac y mae yn ddiamheuol y gellid profi hyny yn hawdd ped ymgymerid â'r gorchwyl mewn dull ac mewn yspryd priodol. Nid wyf yn meddwl fod cadw Negroaid o oes i oes mewn caethiwed yn llai drwg, neu yn fwy cyfreithlawn, nag oedd eu lladrata ar y cyntaf o'u gwlad ; ac y mae yr hwn a ddadleua dros gaeth-*wasanaeth*, yn ddigon rhydd a chaled i ddadlu hefyd dros gaeth-*fasnachu.*

Y mae y gipolwg fyraf ar hanes y gaethfasnach a chaethwasanaeth yn ddigon i achosi i'r galon lesmeirio. Nid ein hamcan y tro hwn ydyw helaethu na manylu ar y mater, ond yn unig gosod i lawr ein barn, fod y fasnach drwyddi oll, o'i dechreu i'w diwedd, yn un o sefydliadau creulonaf anwybodaeth a chybydd-dod ; a'i bod yn groes i holl egwyddorion dynoliaeth a chrefydd, a phob cyfiawnder cymdeithasol ; ac felly yn niweidiol yn mhob ystyr i dangnefedd a dedwyddwch y byd. Crybwyllasom yn

II. Fod arfogi byddinoedd anrheithgar a llofruddiog i ymosod ar genedloedd gweiniaid ac anwaraidd, er dwyn eu tiriogaethau oddi arnynt, yn un arall o sefydliadau creulonaf ysprydion gormes. Gwnaed llawer iawn o hyn gan ymerodraethau cryfaf yr hen oesoedd ; a hyny yn y diwedd, brofodd yn un o brif achosion eu nychdod a'u darfodedigaeth, a'u dymchweliad a'u dinystr. Yr oedd Aiphtiaid ac Assyriaid, Persiaid a Mediaid, Babyloniaid a Macedoniaid, Atheniaid a Lacedemoniaid, Thebaniaid a Spartaniaid, Carthaginiaid a Rhufeiniaid yr hen oesoedd, Tartariaid a Saraceniaid, Pictiaid a Saxoniaid oesoedd diweddarach ; ac mewn gair, yr oedd holl gâd-lywyddion yr hen oesoedd, a'r oesau canol, yn meddwl ac yn ffrostio, mai eu prif "ogoniant" oedd gallu gorchfygu eu cymydogion, a goresgyn eu tiriogaethau, a chymeryd meddiant o honynt ; heb ystyried fod eu holl ryfeloedd ynfyd am "goncwest," a'u holl fuddugoliaethau gwaedlyd, yn golled i'r byd mawr cyfan ; ac felly yn golled yn y pen draw i'r gorchfygwyr,

nac unrhyw rinwedd cymdeithasol. Mabwysi un yspryd barbaraidd mewn oesoedd diwedda: eiddiach." Y mae holl hanes ymddygiadau hy ogion a byddinoedd Lloegr tu ag at wahanol orion India, er dwyn eu talaethau oddiarnynt, fawr o'r anghyfiawnderau creulonaf. Arferasa thrais yn eu gallu er dwyn i ben amcanion a crib-ddeiliaeth a'u gormes. Enynasant eiddige au, a rhyfeloedd rhwng gwahanol lwythau o In hwy gael anrhaith oddiwrth eu rhyfeloedd. filoedd o'r brodorion, er enill eu hymerodraeth a miloedd drachefn er gallu ei dàl yn eu gafa gan Loegr ond un ffordd i ddystewi llef gwacc edig, sef drwy ymdrechu mewn tymer edifeiriol, haelfrydig cariad yr efengyl, i ledaenu cysuron drwy holl dywysogaethau India.

Ond dichon mai y siampl greulonaf o'r gorm waith y cryf a'r cyfrwys yn gwasgu y gwan a'r dwyn eu heiddo oddiarnynt, ydoedd ymddygia Spaeniaid tu·ag at gyn-frodorion Ynysoedd I Gorllewin, a thalaethau ëang Deheubarth Am ar ol eu darganfyddiad gan Columbus a'i ddilyn modd i ni yn awr allu gwybod nifer y brodorio hyny ; ond y mae tystiolaethau y Spaeniaid eu eu bod, nid yn unig yn lliosog iawn ond eu hw

Yr oedd yn St. Domingo, neu Hayti, driugain mil o'r brodorion pan aeth y Spaeniaid yno, ond cyn pen saith mlynedd, nid oedd yno ond pedair mil ar ddeg. Yr oedd felly dair rhan o bedair o honynt wedi cael eu dyfetha yn ystod y saith mlynedd cyntaf o rwysg y Spaeniaid yno; a dichon y gellir edrych ar hyny fel engraifft o'u creulonderau yn mhob man lle yr oedd eu gallu yn cyrhaedd. Yr oedd y dull dichellgar a gymerasant i oresgyn hen Ymerodraethau Peru a Mexico yn fwy barbaraidd a gwaedlyd na'u creulonderau yn Hayti. Erys gwarth a melldith tragywyddol ar enwau Pizarro a Cortez a'u cyd-anrheithwyr llofruddiog. Ac yn wir, go *Yspaenaidd* yr ymddygodd y Puritaniaid, hen ymfudwyr gorthrymedig y "May Flower," tu ag at yr Indiaid oeddynt y pryd hyny yn perchenogi tiriogaethau New England. Nid hawdd penderfynu pa un ai creulondeb Eglwys Loegr tu ag at y Puritaniaid, ai creulondeb y Puritaniaid tu ag at yr Indiaid oedd y mwyaf barbaraidd. Yr oedd yn drueni i feddwl am rai wedi cael eu herlid mor greulawn yn eu *hen* wlad, yn troi ac yn ymwylltio i erlid mor greulawn yn eu gwlad *newydd*. Nid oedd modd i Whitgift a Laud a Jeffreys ymddwyn yn greulonach tu ag at y Puritaniaid, nag yr ymddygodd y Capteniaid poethwyllt Puritanaidd Miles Standish a Benjamin Church a John Mason tu ag at yr Indiaid. Ac yr ydym yn ystyried rhai o'r rhyfeloedd *diweddaraf* â'r Indiaid, yn nghôf rhai sydd yn awr yn fyw, yn anheilwng o gymeriad Llywodraeth fawr, gref, gyfoethog, oleuedig, ac enwog yr Unol Dalaethau.

Ni helaethwn y tro hwn ar y pen yma, ond yn unig i ardystio fod pob dyfais, neu gynllun, o'r eiddo unrhyw genedl, neu lywodraeth gref, gyfrwys, wareiddiedig i ddwyn, trwy darais neu ddichell, eu tiriogaethau, neu ryw feddianau eraill, oddiar unrhyw genedl wan, anwaraidd, ddibrofiad, a diamddiffyn yn llawn o elfenau y gormes duaf, iselaf a chreulonaf.

III. Yr wyf yn ystyried pob *Crefydd Sefydledig*, neu waith llywodraeth yn rhwymo ei deiliaid i dderbyn ei chredo, ac i gynal ei dull sefydledig o addoliad, yn sefydliad o ormes o'r

caei ei seiydiu ; ac y mae wedi gweithio yn orn
am oesoedd meithion drwy bron holl hen wledy
Dichon ei bod drwy yr oesau diweddaf wedi boc
yn dynerach a boneddigeiddiach yn Lloegr nag
erioed mewn un wlad arall; eto y mae hyd yn r
bod yn gorthrymu cydwybodau mwyafrif y deilia
eu pethau anwylaf a mwyaf cysegredig.

1. Y mae pob eglwys wladol, neu grefydd s
sefydliad gwladol o grefydd, neu gysylltu crefydc
raeth, yn gwadu hawl y deiliaid i farnu drostynt
bethau crefydd, ac yn gwadu eu hawl i addoli
hoeddiad eu cydwybodau: oblegyd pe cydnabyc
farnu drostynt eu hunain, ac i gyffesu eu barn, a
yn ol eu barn, ni byddai raid i'r Llywodraeth yn
credo iddynt: ac ni rwymid hwy i dalu at gyna
aeniad egwyddorion a defodau crefyddol nad all
wyo. Nis gall y gydwybod hono fod yn rhydd p
orfodaeth i aberthu ar allor a ystyria yn anghri
mae caethiwo cydwybodau felly yn anmharch
Duw, yn ddirmyg ar addysg ei Air, yn drosedd
enaid anfarwol, yn nychdod i yspryd ymofyngar,
gynydd gwybodaeth, yn gwrthdaro seiliau cyfrifo
yn gefnogiad i honiadau Phariseaidd hunanol o'u

2. Y mae pob sefydliad gwladol o grefydd yn ataliol i ddynion egluro ac amddiffyn eu golygiadau crefyddol mewn modd hynaws, a chydag yspryd diragfarn. Dylai pob dyn gael perffaith ryddid i egluro ac amddiffyn barn ei gydwybod. Y mae cyfeiliornwr gorthrymedig yn fwy i'w ofni na chyfeiliornwr rhydd. Gall wneud mwy o ddrwg pan mewn carchar, na phan yn ei lawn arfogaeth ar faes rhydd-ddadleuaeth. Caffed pob ffydd yr un rhyddid i chwareu am ei bywyd a'i bywioliaeth, ac ni raid i'r Cristion byth ofni am fywyd ffydd fywiol yr efengyl.

3. Y mae pob eglwys wladol, neu grefydd sefydledig yn rhwymo y deiliaid i dalu at gynaliaeth a lledaeniad egwyddorion a defodau crefyddol a anghymeradwyant; ac y mae holl hanes pob trethiadau gorfodol at gynal Cristionogaeth yn dangos eu bod yn hollol anghristaidd, ac anghyfiawn, a gormesol; eu bod yn niweidiol i gariad a chydweithrediad, yn ddinystr i haelioni gwirfoddol, yn ataliol i lwyddiant y gwirionedd, yn ateg i gyfeiliornadau, yn wenwynawl i nerth a bywyd crefydd, yn caledu anghredinwyr, ac yn cymylu gogoniant cymeriad y Gwaredwr. Dichon fod trefn degwm yn Lloegr yn un o'r rhai cyfrwysaf allasid byth ddychymygu er cynal unrhyw eglwys sefydledig; ond y mae holl hanes trefn y degwm yn dangos fod ei sylfaen ar goelgrefydd, a'i tharddiad o Babyddiaeth; fod ei gweithrediad yn anghyson a dyrus, fod ei phleidwyr yn cydymgowlio yn warthus wrth geisio ei hesbonio a'i hamddiffyn, fod codiad y degwm yn anwastad ac yn anhawdd, a'r rhaniad yn annheg, a'r cynyrch yn annigonol at gyfreidiau yr eglwys; a bod y drefn yn ataliol i amaethyddiaeth, yn gaethiwol i fasnach, yn ddianrhydedd i eglwyswyr, yn othrwm ar ymneillduwyr, yn wendid i'r Llywodraeth, ac yn warth i grefydd; a bod gwladgarwch a chyfiawnder yn galw am ei diddymiad.

4. Y mae eglwysi sefydledig yn arfer hudoliaethau ac yn defnyddio cymelliadau ydynt gnawdol er denu yr anwyliadwrus a'r dibroffad i gofleidio hen ffurfiau sefydledig o egwyddorion

wybod, ie, y mae llygru y galon â gwobr
fwy niweidiol i grefydd bur nag ydyw ei l
thyrdod. Y mae y drwg lleiaf, sef mert
crefydd, wedi darfod o Brydain ; ond y r
sef hud-ddenu dynion i aberthu cydwybod
iaeth, yn ei llenwi o gwr bwy gilydd. Y
gar a hudol yr anghrist pan wedi ymdrw
llawer mwy niweidiol i grefydd nag ydyw
londerau pan yn ei waedlyd wisg goch
gwledydd. Y mae Eglwys Loegr wedi
oedd gynt yn ei deheulaw, ac wedi cuddio
ysgydwai, ond y mae yn estyn gwobrau
meibion a'i merched yn awr mor wynebuc

5. Y mae eglwysi gwladol, ar ol denu'
cydwybod am anrhydedd neu elw, yn eu
durdod anghristaidd, i wrthod na diwygi
cydwybod yn dystio sy'n gyfeiliornus a
canoedd o gynygiadau yn Lloegr i ddiwyg
yn wallus yn nghyfansoddiad ei heglwys se
y cynygion hyny gan laweroedd o'i phrif
oll yn aneffeithiol.

6. Y mae crefydd sefydledig mewn gwl
gan y Llywodraeth, un sect o'i chrefydd

ol. Heb i'r holl sectau crefyddol gael yr un nodded, a'r un rhyddid, a'r un iawnder, ofer fydd hiraethu a gweddio am iddynt fod "oll yn un," wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd. Ni cheir byth frawdgarwch mewn gwlad tra byddo ynddi "sect sefydledig." Dyfais fawr ddofn crefyddau sefydledig fu un o sefydliadau trymaf gormes y byd er cychwyniad Cristionogaeth; ac y mae nid yn unig wedi bod yn ormesol ynddi ei hun, ac yn achosi yr erlidiau creulonaf, ond y mae wedi bod yn fam i bron bob math o drefniadau o ormes.

IV. Un arall o sefydliadau gormes y byd ydyw—deddfau pleidiol, a threthiadau anwastad. Y mae wedi bod yn brofedigaeth gref i ddilynwyr ac amddiffynwyr crefyddau sefydledig yn mhob oes ddefnyddio eu dylanwad a'u cyfrwysdra i gynllunio deddfau gwladol *unochrog*, heblaw cyfreithiau gormesol eu llysoedd eglwysig. Y maent wedi bod yn dýn iawn dros eu "*Test Laws*," er cadw pob anghydffurfiwr cydwybodol allan o bob swydd o elw, ac o bob cylch o ymddiried ac anrhydedd. Ystyrir fod cymaint o degwch i'w gael yn Lloegr mewn llysoedd cyfraith ag a geir mewn unrhyw barth o'r byd; ond y mae hyd yn nod yn Lloegr laweroedd o ddeddfau plaid, o gyfreithiau unochrog, ac o weinyddiadau anwastad ac annheg. Y mae yno gymdeithas gref wedi cael ei sefydlu er ys llawer o flynyddoedd er ceisio gwella y cyfreithiau, a'r dull o'u gweinyddu; ac y mae niferoedd mawrion o arglwyddi ac o gyfreithwyr penaf y deyrnas yn aelodau o'r gymdeithas hono; yr hyn sydd yn brawf o'r fath gryfaf fod yno angen gwaeddfawr am lawnach iawnder yn ei llysoedd gwladol.

Y mae cyfraith y bleidlais yno yn warthus o gul ac o annheg. Y mae dros saith miliwn o'r deiliaid yn wrywaid yn eu hoed, ac yn dwyn eu rhan o feichiau y deyrnas; ond y mae dros chwe' miliwn o honynt, sef chwech o bob saith, heb yr un bleidlais yn etholiad Seneddwr. Ychydig amser yn ol, nid oedd ond 272 o bleidleiswyr yn Harwich, ond yr oeddynt yn cael ethol dau gynrychiolydd i'r Senedd, ac nid oedd ond dau Seneddwr tros y Tower Hamlets yn cynrychioli 21,131 o eth-

wybod, ie, y mae llygru y galon â gwobra
fwy niweidiol i grefydd bur nag ydyw ei ll
thyrdod. Y mae y drwg lleiaf, sef mert
crefydd, wedi darfod o Brydain ; ond y m
sef hud-ddenu dynion i aberthu cydwybod
iaeth, yn ei llenwi o gwr bwy gilydd. Y
gar a hudol yr anghrist pan wedi ymdrwsi
llawer mwy niweidiol i grefydd nag ydyw
londerau pan yn ei waedlyd wisg goch y
gwledydd. Y mae Eglwys Loegr wedi
oedd gynt yn ei deheulaw, ac wedi cuddio
ysgydwai, ond y mae yn estyn gwobrau
meibion a'i merched yn awr mor wynebuch

5. Y mae eglwysi gwladol, ar ol denu d
cydwybod am anrhydedd neu elw, yn eu r
durdod anghristaidd, i wrthod na diwygio
cydwybod yn dystio sy'n gyfeiliornus a
canoedd o gynygiadau yn Lloegr i ddiwygi
yn wallus yn nghyfansoddiad ei heglwys sef
y cynygion hyny gan laweroedd o'i phrif a
oll yn aneffeithiol.

6. Y mae crefydd sefydledig mewn gwla
gan y Llywodraeth, un sect o'i chrefyddw

ol. Heb i'r holl sectau crefyddol gael yr un nodded, a'r un rhyddid, a'r un iawnder, ofer fydd hiraethu a gweddio am iddynt fod "oll yn un," wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd. Ni cheir byth frawdgarwch mewn gwlad tra byddo ynddi "sect sefydledig." Dyfais fawr ddofn crefyddau sefydledig fu un o sefydliadau trymaf gormes y byd er cychwyniad Cristionogaeth ; ac y mae nid yn unig wedi bod yn ormesol ynddi ei hun, ac yn achosi yr erlidiau creulonaf, ond y mae wedi bod yn fam i bron bob math o drefniadau o ormes.

IV. Un arall o sefydliadau gormes y byd ydyw—deddfau pleidiol, a threthiadau anwastad. Y mae wedi bod yn brofedigaeth gref i ddilynwyr ac amddiffynwyr crefyddau sefydledig yn mhob oes ddefnyddio eu dylanwad a'u cyfrwysdra i gynllunio deddfau gwladol *unochrog*, heblaw cyfreithiau gormesol eu llysoedd eglwysig. Y maent wedi bod yn dŷn iawn dros eu "*Test Laws*," er cadw pob anghydffurfiwr cydwybodol allan o bob swydd o elw, ac o bob cylch o ymddiried ac anrhydedd. Ystyrir fod cymaint o degwch i'w gael yn Lloegr mewn llysoedd cyfraith ag a geir mewn unrhyw barth o'r byd; ond y mae hyd yn nod yn Lloegr laweroedd o ddeddfau plaid, o gyfreithiau unochrog, ac o weinyddiadau anwastad ac annheg. Y mae yno gymdeithas gref wedi cael ei sefydlu er ys llawer o flynyddoedd er ceisio gwella y cyfreithiau, a'r dull o'u gweinyddu ; ac y mae niferoedd mawrion o arglwyddi ac o gyfreithwyr penaf y deyrnas yn aelodau o'r gymdeithas hono ; yr hyn sydd yn brawf o'r fath gryfaf fod yno angen gwaeddfawr am lawnach iawnder yn ei llysoedd gwladol.

Y mae cyfraith y bleidlais yno yn warthus o gul ac o annheg. Y mae dros saith miliwn o'r deiliaid yn wrywaid yn eu hoed, ac yn dwyn eu rhan o feichiau y deyrnas ; ond y mae dros chwe' miliwn o honynt, sef chwech o bob saith, heb yr un bleidlais yn etholiad Seneddwr. Ychydig amser yn ol, nid oedd ond 272 o bleidleiswyr yn Harwich, ond yr oeddynt yn cael ethol dau gynrychiolydd i'r Senedd, ac nid oedd ond dau Seneddwr tros y Tower Hamlets yn cynrychioli 21,131 o eth-

olwyr. Yr oedd etholwyr tref Wells, er nad oeddynt ond 281, yn cael anfon dau, pan nad oedd etholwyr dinas Llundain yn cael anfon ond dau er eu bod dros ugain mil o nifer. Yr oedd Bwrdeisdref boblog Salford yn cynwys mwy o breswylwyr na phymtheg o'r bwrdeisdrefi lleiaf, y rhai oeddynt bob un yn anfon dau aelod i'r Senedd, tra nad oedd Salford yn cael anfon ond un. Yr oedd yno lawer o drefydd bychain, distadl, difasnach, a difywyd yn cael ethol dau gynrychiolydd, tra yr oedd trefydd mawrion poblog yn eu hymyl, mwy ddeng waith eu masnach, heb yr un cynrychiolydd. Nid teg ydyw i gan' mil o bobl farwaidd y mân-drefydd gael anfon deg ar hugain o gynrychiolwyr i'r Senedd tra na chaiff can' mil y dref fawr fywiog anfon ond un. Yr oedd cant a haner yn Thetford yn cael ethol dau, tra na chai ugeiniau o filoedd rhai trefydd mawrion anfon dim un. Yr oedd swydd fach Rutland yn cael ethol Seneddwr dros bob naw mil o'i phreswylwyr, tra nad oedd gan sir bwysig Lancaster ond un dros bob haner can' mil. Yr oedd gan sir Buckingham unarddeg o gynrychiolwyr tra nad oedd gan Manchester, ag oedd yn cynwys cymaint arall o bobl, ond tri. Y rheswm am bethau felly ydyw fod y gwŷr mawrion yn gallu cadw y trefydd bychain dan eu dyrnau: ond y maent yn methu mygu na phrynu pleidlais y trefydd mawrion. Tuag un o bob ugain o bobl Prydain oedd yn meddu pleidlais, ac nid oedd ond twyll i alw llaweroedd o'r pleidleiswyr hyny yn "etholwyr," pan oeddynt dan orfodaeth i bleidleisio yn ol archiad eu harglwyddi. Yr oedd anghyfiawnderau fel hyn, ac ymroad y gwŷr mawrion i sefyll drostynt, a'u hamddiffyn, a'u dal i fynu, yn ddigon i yru gwlad oleu fel Lloegr yn gynddeiriog. Nid ellid disgwyl ond cyfreithiau unochrog oddiwrth amddiffynwyr y fath anghyfiawnderau.

Y mae hen gyfreithiau y Manoriaid yn Lloegr yn rhai hynod o Feudalaidd: ac y mae cyfreithiau helwriaeth yno wedi bod yn rhai tra gormesol, yn arwain i ddrwgnwydau, a throseddau, a dialeddau, a llawer o dreuliau cyfreithiol trymion ac afreidiol. Bu cyfreithiau y *post office* yn rhai trymion, annheg a

gormesol. Bu tollau y ffyrdd hefyd yn rhai hynod o anwastad.

Buasai yn hawdd cyfeirio hefyd at anwastadrwydd y *trethiadau* mewn llawer iawn o gysylltiadau. Cryn anwastadrwydd ydoedd gosod trethoedd trymion ar gyfryngau addysg, pan yr oeddid ar yr un pryd yn codi trethoedd (meddent hwy) at ledaeniad addysg. Bu treth yr ŷd yno yn costio i'r wlad o leiaf bymtheng miliwn o bunau bob blwyddyn, a hyny yn unig er mwyn dal i fynu renti yr arglwyddi tiroedd. Bu treth y siwgr yn mynu aberth o dros ddwy filiwn a haner yn flynyddol. Cyfrifid fod y llafurwr tlawd ag oedd yn enill pedair punt ar hugain y flwyddyn at gynaliaeth ei deulu, yn gorfod talu wyth bunt, neu y drydedd ran o'i enill caled at fasnachdrethoedd; ond yr oedd yno reolau ysgafnach na hyny i drethu y cyfoethogion. Yr oedd treth tŷ rhad y dyn tlawd yn gymaint a threth tŷ drud y gwr cyfoethog. Pan fyddai y dyn tlawd yn prynu gwerth ugain punt o dir, costiai stamp gweithred y pryniad iddo yn ol pum, punt y cant, ond pan fyddai y gwr goludog yn prynu gwerth ugain mil, ni byddai pris y stamp ond un bunt y cant. Nid oedd dim treth ar gymun-roddion o dai a thiroedd fel ag yr oedd ar bob peth arall; ac yr oedd hyny yn arbed arglwyddi tiroedd oddiwrth dalion o dros ddwy filiwn a haner yn flynyddol. Os oedd treth i fod ar ryw gymunroddion, dylasai fod ar bob math fel eu gilydd. Yr oedd treuliau y fyddin ar llynges, a hyny ar ol hir dymor o heddwch, yn mhell dros bymtheng miliwn o bunau; ac yr oeddynt yn codi bob blwyddyn; yr amcan mawr o hyny oedd cael lleoedd esmwyth a difyr i segur-swyddwyr ar draul y diwyd a'r llafurus. Yr oedd un darn helaeth o'r deyrnas, sef yr Iwerddon, yn rhydd oddiwrth y dreth eglwys, yr income tax, a threthoedd ffenestri, cerbydau, ceffylau, cŵn, gweision, sebon, a phriddfeini; ond ffafr i ryw blaid, neu bleidiau, oedd hyny. Yr oedd y trethoedd ar goed a meini a ddefnyddid i adeiladu "eglwysydd" yn cael eu "maddeu," ond yr oedd raid i adeiladwyr capeli dalu. Yr oedd y coed a ddefnyddid at weithiau

tin, copr, a mwnau eraill yn ddidreth, ond yr oedd treth ar y coed a ddefnyddid at adeiladu gweithfaoedd llîn, a gwlan, a sidan, a phob masnachdai. Nid hawdd dirnad pa gysondeb oedd mewn pethau felly. Yr oedd y drefn o gasglu rhai o'r trethoedd, ac yn enwedig yr income tax, yn orthrymus, yn ddrudfawr, ac yn farbaraidd o gowliog.

Ni chawn fanylu yn mhellach ar y pen hwn ond yn unig dweyd fod yr hen ddyfais i gynllunio deddfau unochrog, ac i arosod trethoedd anwastad yn un o hen drefniadau gormesol y rhan fwyaf o wledydd y ddaear.

V. Y sefydliad gormesol nesaf a enwn ydyw "*Tenantiaeth at will,*" neu ddyfais arglwyddi tiroedd i rwydo cydwybod a llafur ac eiddo eu tenantiaid i'w gafael, a than eu hawdurdod. Mewn hen wledydd poblog (trwy fod y tai a'r tiroedd wedi myned i feddiant ychydig o berchenogion) y mae niferoedd mawrion o'r deiliaid yn rhwym o fod yn denantiaid, neu rhai yn dal tai neu diroedd drwy dalu rhent i'w perchenogion. Fel engraifft o hyn, gellir crybwyll fod poblogrwydd yr Iwerddon wedi bod yn saith miliwn, ac nad oedd o'r cyfryw ond deg mil, neu un o bob saith gant, yn perchenogi tir ; ac felly yr oedd corff y bobl yn denantiaid. Y mae y berthynas sydd rhwng arglwyddi tiroedd a'u tenantiaid yn un wir bwysfawr ; a byddai yn elw, ac yn enw, ac yn gysur, i'r ddwy blaid pe cyflawnid eu rhwymedigaethau mewn yspryd ffyddlawn a boneddigaidd yn ol egwyddorion uniondeb a thegwch. Y mae yn bosibl i denant dienaid a diog, drwy ei anwybodaeth a'i aflerwch, wneud cam, nid yn unig a'i deulu, ond a'i arglwydd tir, trwy gam, driniaeth o'i dir ; ond y mae y ffordd yn rhydd i'r arglwydd tir fynu ymwared ar unwaith oddiwrth y cam y mae ei denant yn wneud â'r eiddo sydd dan ei ofal. Yr ydys wedi trefnu yn ofalus am i'r cyfreithiau fod o'i du, ac am bob hwylusdod iddo eu gweinyddu mewn hunan-amddiffyniad ; ond nid oes gan y tenant-at-will, druan, ddim un man i droi am amddiffyniad oddiwrth grib-ddeiliaeth gormes a chybydd-dod. Y mae rhai arglwyddi tiroedd yn ymddwyn yn wir anrhydeddus

tuag at eu tenantiaid; ond y mae holl ogwydd eraill o honynt wedi bod i gribddeilio a gorthrymu. Y mae gormod o yspryd Barwniaid yr "oesau canol" yn y rhan fwyaf o honynt. Y maent cystal a meddwl fod eu tenantiaid i fod yn *serfs*, neu yn gaethion tir iddynt hwy; neu o leiaf y dylent fod yn blygedig i'w gair a'u hewyllys hwy yn mhob dim; a phe meiddiai tenant roddi ei bleidlais mewn *vestry* plwyf, neu ar ddydd etholiad, yn ol ei feddwl ei hun, yn lle yn ol archiad ei arglwydd tir a'i oruchwylwyr, byddai hyny yn ddigon o drosedd i'w droi o'i ffarm ar unwaith. Ac y mae llawer tenant da wedi cael ei anmharchu a'i ddiraddio a'i droi ymaith am feiddio addoli gyda phlaid wahanol i blaid ei feistr tir.

Cynllun creulawn arall sydd gan arglwyddi tiroedd i orthrymu ydyw cymell, a denu, a thwyllo tenant diwyd ac ymdrechgar, gofalus a diddichell i wario arian ac amser lawer yn niwylliant ei dyddyn, yn arloesiad ei anial-leoedd, a'sychiad ei gors-leoedd, a gwrteithiad ei ddiffrwyth-leoedd, ac yn nosparthiad ei feusydd, a gwneuthuriad ei amgaeau, a'i ffyrdd, a'i ffosydd, ac yn adgyweiriad ei adeiladau; ac yna, ar ol i'r tenant drwy lawer o lafur a thraul, ac amser a gofal, gael y tyddyn i drefn dda, rhoddi "*notice to quit*" iddo, er codi y rhent iddo, i lawn werth y tyddyn yn ei gyflwr diwylliedig; a thrw hyny dwyn oddiar y tenant y llog am ei arian, a'r tâl am ei lafur ag oedd yn gyfiawn iddo gael. Gwelodd yr ysgrifenydd, cyn ymadael o Gymru, nid ychydig o anghyfiawnderau o'r natur a nodwyd; a hyny ar etifeddiaeth arglwydd tir a ystyrid fel un o'r rhai boneddigeiddiaf ac anrhydeddusaf yn yr holl dywysogaeth. Colledwyd ef ei hun, ar *scale* fechan, ond yn drwm iawn i un o'i sefyllfa; ac yn greulawn iawn tuag at un o'i alwedigaeth ef. Anturiodd resymu yn gynil ac yn ddistaw ac yn wylaidd yn erbyn rhai cangenau o'r cam ag oedd wedi cael ei wneud, ond yr oedd hyny yn ddigon i gynhyrfu enaid cul uchel y goruchwyliwr i grynhoi holl ddylanwad ei gyd-oruchwylwyr, a holl deulu uchel ei arglwydd tir i weithio yn ei erbyn; ac ofer oedd iddo geisio sefyll y fath wasgu cyfrwys a

gorthrymus oedd i'w erbyn o bob cwr. Hudwyd ei rieni diddichell a llafurus, boneddigaidd a ffyddlawn i wario canoedd lawer i wella ffarm fechan, oer, lechweddog; ond dygwyd oddiarnynt gan briswyr a goruchwylwyr anwybodus a hunanol, a sectol ac enllibgar, eu harian a'u henill yn y dull bryntaf a mwyaf anghyfiawn. Nid yw yr ysgrifenydd yn crybwyll peth fel hyn yn fyrbwyll, heb ei chwilio a'i ystyried yn faith ac yn fanol. Gŵyr yn dda yr holl hanes. Y mae yn cofio ffigyrau a dyddiadau gwelliantau y tenant, ac yn cofio hefyd y ffigyrau a'r dyddiadau yn nghodiadau y rhent. Nodir yr engraifft yma nid am ei bod yn fwy pwysfawr na chanoedd o engreifftiau eraill allasid enwi; ond am fod gan yr ysgrifenydd fwy o hawl i gyfeirio ati, nag at unrhyw siampl arall o ormes y fath oruchwylwyr anghyfiawn ac annynol. Y mae rhai parthau o Dywysogaeth Cymru, er amled eu breintiau, yn lled lawn o'r fath anghyfiawnderau, a chyflawnwyd troion gan rai arglwyddi ac arglwyddesau tiroedd â'u goruchwylwyr, a fuasent yn warth i gymeriad Barwniaid a Barwnesau mwyaf barbaraidd dyddiau tywyllaf y "canol oesau."

Y mae tenantiaid-at-will wedi bod gan rai Llywodraethau, ac yn eu mysg gan Lywodraeth fawr yr Unol Dalaethau. Ymddygodd Llywodraeth America yn deg ac yn anrhydeddus tuag at y rhan fwyaf fu'n ceisio lle i fyw ar ei thiroedd, ond y mae wedi gwneud cam â rhai o'i thenantiaid-at-will, trwy roddi anogaeth iddynt sefydlu ar ei thiroedd pan nad oeddynt yn werth ond rhyw ddolar a chwarter yr erw; ac yna, ar ol i'r tenant, trwy ei ofal a'i ddiwydrwydd, yn wyneb anhawsderau a digalondid, godi gwerth y tir i bum' waith neu ddengwaith ei werth dechreuol, dwyn y tir hwnw i'r farchnad gyhoeddus, i'w arwerthu i'r cynygiwr uchaf ei geiniog am dano; a thrwy hyny, gorfodi y tenant druan, neu yr un oedd wedi sefydlu arno, a'r un oedd wedi ei ddiwyllio drwy lafur a rhwystrau, i dalu dichon yn ddrud iawn am ei eiddo ei hun, neu ynte i golli ei gartref; a chynyg am faes arall o ryw brofedigaethau newyddion. Gormes digywilydd a chreulawn, o ddyfais cyfrwys-

dra lladronig, ydyw gormes y "tenant-at-will system," pa un bynag ai Llywodraeth, ai corfforiaeth, ai barwnig fydd yn ei gyflawni.

VI. Y sefydliad gormesol arall a grybwyllwn ydyw, traha a thrais sefydliadau milwraidd. Y mae galluoedd mawrion Cristionogol Europe yn cyfeillachu llawer â'u gilydd. Y mae eu cenadon boneddigaidd ac urddasol yn tramwy o'r naill lŷs i'r llall yn feunyddiol. Y maent yn cynal llawer cyngor, ac yn tynu llawer cynllun, ac yn selio llawer cytundeb. Yr wyf yn credu y gallent yn hawdd, pe dewisent, gytuno i ddiarfu eu byddinoedd, i ddadfyddino eu llengoedd milwraidd, ac i ollwng eu milwyr yn rhyddion i ymroddi at ryw wasanaeth a fyddai o enill i'w teuluoedd, ac o olud a derchafiad i'w gwlad. Y mae pob un o'r Llywodraethau cryfion goleuedig hyny yn tystio ger bron y byd eu bod am "dangnefedd," ei bod yn ystyriol o ddrygau anrheithiol rhyfel, ac o werth anmhrisiadwy bendithion "heddwch;" ac y mae pob un o honynt, pan y cwynir wrthynt am feichiau gorthrymus ei sefydliadau milwraidd, yn rhoddi y bai oll ar ei chymydogion. Y mae pob un o honynt yn ardystio ei bod yn onest, yn gyfeillgar, yn cadw ei gair bob amser, yn ffyddlawn i'w holl gyfamodau, ac yn bryderus am deyrnasiad heddwch a dedwyddwch dros yr holl ddaear; ond arwydda fod ei chymydogion yn rhai cenfigenllyd, cynenus, diymddiried, a dichellgar; ac na wyddir yn y byd pa bryd y gwnant ryw ymosodiad ar ei hiawnderau; ac o ganlyniad fod yn rhaid cynal sefydliadau milwraidd cryfion er bod yn barod i sefyll ar yr "amddiffyniad," os daw rhyw ruthr ymosodol felly. Dyna reswm pob un o honynt dros gyfnerthu ei byddin a'i llynges y naill flwyddyn ar ol y llall. Gellid ymddiried pob peth i'w gair hi, ond nid ellir ymddiried dim i air na chyfamod ei chymydogion.

Ond y gwirionedd syml, eglur yw fod teuluoedd y pendefigion a'r mawrion am gynal i fyny eu sefydliadau milwraidd er mwyn cael sefyllfaoedd esmwyth, difyr, enillfawr; a gwasanaeth anrhydeddus, rhwysgfawr i'w meibion, yn ol defodau

"gogoneddus" ymerodraethau yr hen oesoedd. Nid yw yr holl fwrw y bai ar y "cymydogion" ond dichell fâs er cael rhyw esgus dros y gorthrwm. Ac yn awr gan y gallent yn hawdd, pe dewisent, ysgafnhau eu sefydliadau rhyfel; a chan eu bod yn cyndyn omedd cynyg at hyny, ond yn eu trymhau o flwyddyn i flwyddyn, yr wyf yn galw y fath sefydliadau drudfawr ac afreidiol a llygredig, yn sefydliadau o orthrymder, a hwnw yn orthrymder creulawn, o'r natur mwyaf barbaraidd.

Ond dadleuir weithiau fod y fath beth yn bod a rhyfel "amddifynol," a bod pob rhyfel amddiffynol yn beth amddiffynadwy. Os bu rhyfeloedd amddiffynol yn Europe yn ystod y dau can' mlynedd diweddaf, nis gwn pa rai oeddynt; ond gwn fod pob ochr yn tystio yn gryf mai hwy oedd ar yr ochr amddiffynol; ac mai eu gelynion oeddynt yr ymosodwyr. Ond pe tybiem, er mwyn ymresymu, fod y fath beth yn bod ambell dro a rhyfel amddiffynol, a bod y bai i gyd oll ar ryw un ochr, ac felly y rhaid cynal byddinoedd sefydlog er bod yn "barod i ryfel," nid wyf yn meddwl y rhaid i sefydliadau rhyfel fod mor orthrymus ac mor lygredig ag ydynt. Yr wyf yn credu yn drwyadl eu bod yn sefydliadau afreidiol, am y gallai llywodraethau cryfion dylanwadol Cristionogol gytuno i'w lleihau, neu eu diddymu: ond pe cydnabyddem eu bod yn sefydliadau angenrheidiol, yr wyf yn credu y gallent fod yn llai gorthrymus, heb fod dim yn llai effeithiol. Od oes raid cael sefydliadau cryfion i "ddysgu rhyfel," er bod yn "barod" at ryfel pan y daw ymosodiad, yr wyf yn credu y gallai y milwyr heblaw dysgu gwersi eu hen grefft enwog, gysegru deuddydd o bob tri, neu ddeufis o bob tri, o'u hamser gwerthfawr, at ryw waith, neu alwedigaeth fuddiol; ac na byddai hyny ddim yn niweidiol i'w cyrff na'u hysprydoedd, i nerth eu gewynau, na nerth eu myfyrdodau; ac y gallent felly enill llawer, naill ai at gynhaliaeth eu teuluoedd, neu er cyfoethogi eu gwlad. Nid oes eisiau iddynt dreulio eu holl ddyddiau fel *prentisiaid* crefft rhyfel.

Yr wyf yn meddwl hefyd, os ydyw y gwasanaeth yn angen-

rheidiol y dylid ei wneud mor boblog fel na byddai eisiau "*conscriptio,*" na "*drafftio*" iddo. Os ydyw yn wasanaeth mor deg ac anrhydeddus, mor wladgar ac mor gyfiawn, mor angenrheidiol ac mor bwysfawr, dylid codi talion y milwyr cyffredin fel yr ymroddont iddo yn "ewyllysgar." Yr wyf yn ystyried y drefn o "drafftio" i'r fyddin yn orthrymder dyblyg: y mae yn difadu dyn o'i ryddid personol, gan ei wneud yn gaethwas pan y dylid gwneud y gwasanaeth yn ddigon anrhydeddus, ac enillfawr, a deniadol i gael digon o "ewyllysgaryddion" iddo; ac heblaw difadu y caethwas o'i ryddid, y mae trefn y drafftio yn ei ddiffadu ef a'i deulu o dâl, neu gyflog teg am ei lafur. Yr ydys wrth dalu tri dolar ar ddeg y mis i ddyn allai enill gartref dri dolar ar ddeg ar hugain, yn yspeilio y dyn hwnw a'i deulu o ugain dolar y mis; ac y mae hyny, heblaw bod yn gaethiwed personol, yn *lladrad arianol*, o'r fath fwyaf cywilyddus. Os rhwymir dyn i filwriaeth yn groes i'w ewyllys, dylid, yn ol pob tegwch, dalu iddo yn ol ei enill blaenorol. Y mae yn ddigon i'r llywodraeth gael cyfyngu ei ryddid, a thrymhau ei berygl er mwyn cael ei wasanaeth, heb iddo hefyd ddifadu ei deulu o'u moddion cynhaliaeth.

Yr wyf yn credu yn benderfynol, ac yr wyf yn credu hyny erys llawer o flynyddoedd, y gallai llywodraethau cryfion gwledydd crêd ysgafnhau beichiau eu deiliaid gweithgar, trwy leihau eu byddinoedd, pe dewisent gytuno i wneud hyny; a chan mai er mwyn porthi "melus chwantau" y mawrion a'u teuluoedd yr ydys yn gorfod eu cynal, nis gallaf lai nag edrych arnynt fel sefydliadau o'r gormes trymaf a chreulonaf. Ond pe byddai raid i ni gredu eu bod yn sefydliadau angenrheidiol, ac y bydd raid eu cynal dros holl oesau y ddaear, ac mai ofer disgwyl am amser pan "na ddysgant ryfel mwyach;" yr wyf yn meddwl y gellid eu gwneud yn sefydliadau llai gormesol, a hyny heb eu gwneud yn ddim llai effeithiol, os daw galw am eu gwasanaeth.

Crybwyllwn cyn terfynu ychydig o'r gwersi ymarferol a ddysgir i ni oddiwrth hanes effeithiolaeth y sefydliadau gormesol a enwyd.

1. Mai *hunan-elw* ydyw gwreiddyn eu holl ddrygau. Darfyddai rhwysg a difrod crefft rhyfel yn bur fuan oni bai yr elw y mae rhai yn fedru sugno oddiwrthi. Gwell gan yr "East India Company" andwyo parthau teg o India, ac enyn y rhyfeloedd barbareiddiaf drwy China, na gollwng eu gafael o elw llofruddiog eu masnach Opium. Yr oedd Smugglers y Slave Trade yn foddlon i anturio eu bywydau i ladrata Negroaid er mwyn yr elw oedd i'w gael yn y fasnach. Yr elw oedd yn hudo ac yn caledu y Spaeniaid i anrheithio a llofruddio Indiaid y Gorllewin; a'r elw oedd yn ysparduno Capteniaid Lloegr i gyflawni eu holl ormes yn India y Dwyrain. Yr elw sydd yn dallu arglwyddi tiroedd i anghofio eu hurddas a'u bonedd wrth orthrymu eu tenantiaid. Yr elw sydd yn hudo deddfwyr anystyriol i arosod trethiadau anghyfiawn, heb gofio fod llygaid nef a daear ar eu ffyrdd. Mewn gair y mae holl hanes holl drefniadau gormes yn profi gwirionedd geiriau y Beibl, mai "gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch."

2. Fod tuedd a gogwydd pob gormes i dyfu, a chryfhau, a thrymhau, ac ymledu, ac ymganghenu ar bob llaw. Mae'n lled debyg mai plygu ychydig o droseddwyr dan iau caethwasanaeth, neu orfodi ychydig o ddyledwyr i weithio er talu eu dyledion, neu rwymo ambell afradlon dirëol i lafurio er enill ei fara, oedd dechreuadau bychain hen gyfundrefn fawr ganghenog othrymus y gaethfasnach a chaethwasanaeth. Wrth gynefino i ladrata ychydig o fân-bethau oddiar yr Indiaid yn y Byd Newydd, yr ymgaledodd y Spaeniaid nes gallu o'r diwedd ddwyn eu heinioes a'u cyfan oddiarnynt. Cynllwyn am leoedd i gyfodi ychydig fasnachdai ar ororau India y Dwyrain, fagodd wanc cybyddlyd byddinoedd Lloegr fel na fedrent orphwys heb gael bron holl Dalaethau yr Ymerodraeth fawr hono iddynt eu hunain. Wedi dechreu cael blâs i orthrymu ei denant, nid hawdd gan y meistr tir crib-ddeiliog atal ei law nes dwyn y cyfan oddi arno; ac wrth gael ffordd led hawdd i ormesu mewn un man, y mae y gorthrymydd am ormesu yn mhob man lle y cyrhaedda ei ddylanwad.

3. Fod ymdrechiadau cyfrwys diwyd ac egniol wedi cael eu gwneud, o oes i oes, i amddiffyn a chyfiawnhau pob sefydliad o ormes. Defnyddiodd Eglwys Rhufain ei doniau uchaf a'i dylanwad ëangaf i amddiffyn a chyfiawnhau holl lymder ei herledigaethau. Defnyddiwyd y dysg a'r doniau a'r dylanwad penaf yn Lloegr i amddiffyn Puseyaeth, neu Babyddiaeth Protestanaidd Eglwys Loegr. Buwyd yn dadlu yn wresog drwy holl lysoedd a thrwy holl eglwysi llywodraethol Europe, fod Indiaid y Dwyrain ac Indiaid y Gorllewin i gael eu "dyfetha o'r ffordd," er mwyn cael eu tiroedd i feddiant cenedloedd mwy gwaraidd, mwy celfyddgar, a mwy defnyddiol. Buwyd yn dadlu yn hyf yn nyddiau Wilberforce, yn gystal a chyn hyny ac wedi hyny, fod Negroaid Affrica, yn ol arfaethau a geiriau y nef, i gael eu dal a'u gyru a'u cadw a'u gweithio mewn caethiwed tragywyddol. Ac y mae llawer arglwydd tir yn Lloegr ac yn Nghymru yn coelio ac yn dweyd ei bod yn fraint i'r tenant gael bod yn *serf*, neu yn gaethwas-tir iddo ef, mai ganddo ef, a thano ef, y mae yn cael cartref, ac mai efe bia nerth ei fraich fel llafurwr, a'i bleidlais fel dinesydd, a'i gydwybod fel crefyddwr ; a'i bod felly yn deg iddo gael oddi arno holl ffrwyth neu enill ei nerth a'i fedr, ei ofal a'i ddiwydrwydd.

4. Fod dynion o lawer o rinweddau wedi bod yn glynu yn dýn wrth drefniadau gormesol. Y mae dynion hynaws a boneddigaidd, dynion duwiol a defnyddiol wedi bod yn pleidio crefyddau sefydledig, ac yn ymbesgi ar eu moethau, ac yn cyfiawnhau eu holl anghyfiawnderau, ac yn amddiffyn eu holl ormes. Y mae dynion hynaws a boneddigaidd, a chrefyddol, wedi bod yn cadw caethion, ac wedi bod yn chwilio am resymau o'r oraclau paganaidd, ac o'r oraclau dwyfol, ac o bob man arall, er cyfiawnhau ac amddiffyn trefniadau, creulawn caethwasanaeth. Ac y mae dynion hynaws a boneddigaidd, crefyddol a gwir anrhydeddus, wedi bod yn amddiffyn ac yn cyfiawnhau y rhyfeloedd mwyaf ynfyd a barbaraidd. Wrth hir arfer meddwl a siarad yn ysgafn am y fath ddrygau, a chael peth enw, neu elw tybiedig oddiwrthynt, dallwyd eu meddyliau, a chal-

edwyd eu calonau fel nad oeddynt yn gallu gweled dim drwg na niwed yn y gormes gwaethaf.

5. Fod drygau a chreulonderau wedi cael eu cyflawni yn enw trefn, a than aden cyfraith, na buasid byth yn eu cyflawni oni buasai eu bod wedi cael eu cyfreithloni, a'u sefydlu, a'u *system-eiddio*, a'u hanrhydeddu gan benaethiaid a llywodraethwyr yn rhyw fath o lysoedd cyfraith ac awdurdod. Ni buasai y gaethfasnach byth yn tyfu ac yn cryfhau, ac yn ymganghenu ac yn ymledu fel y gwnaeth, oni buasai iddi gael ei magu a'i meithrin dan nawdd a gwên llywodraethau cryfaf Asia, ac Europe, ac America. Ni buasai milwyr Spaen byth yn anrheithio yn y Gorllewin, na milwyr Lloegr byth yn anrheithio yn y Dwyrain fel y gwnaethant, oni buasai eu bod wedi cael eu harfogi a'u cyfarwyddo i fyned allan yn enw a than awdurdod eu llywodraethau. Ni buasai llawer arglwydd tir byth yn diraddio ac yn anrhaethio ei denant fel y gwnaeth, oni buasai ei fod wedi cael ei ddysgu o'i febyd i feddwl fod ganddo hawl, yn ol hen gyfraith ei dadau, i drin ei "*Denant at will*" fel y gwelai yn dda. Ni buasai y degymwr byth yn meddwl am ddegymu cynyrch tir ac anifeiliaid ei gymydogion, at gynal defodau crefyddol ei sect ei hun, oni buasai fod llywodraeth ei wlad wedi sefydlu deddf i awdurdodi y fath ormes.

6. Fod dynion weithiau mor anghyson a bod yn boeth iawn yn erbyn rhyw un sefydliad, neu un gangen o ormes, tra ar yr un pryd yn dŷn iawn dros sefydliadau, neu ganghenau eraill llawn mor ormesol. Yr oedd rhai, yn oes Columbus, yn dadlu yn selog ac yn ffyddlawn dros ryddid a iawnderau Indiaid addfwyn y Gorllewin, tra yr oeddynt ar yr un pryd am gaethgludo Negroaid o Affrica i gaethweithio yn y Gorllewin. Bu llaweroedd o flaenoriaid Eglwys Rhufain ac Eglwys Loegr yn selog yn erbyn caethwasaeth Negroaidd ac Indiaidd tra yr oeddynt, ar yr un pryd, yn arfer eu holl gyfrwysdra a'u holl awdurdod i rwydo eneidiau Europeaidd i Gaethiwed ; ac i dynhau am danynt gadwynau cryfaf a garwaf anwybodaeth, a rhagfarn, a choelgrefydd. Gweithiodd Lloegr yn dda er rhydd-

hau ei chaethion yn y *West* Indies, tra yr oedd ar yr un pryd yn cynllwyn ac yn ymorchestu i rwydo a darostwng brodorion yr *East* Indies i gaethiwed cyfreithiau a threfniadau o'r natur greulonaf ac anghyfiawnaf. Yr oedd Protestaniaid Eglwys Elizabeth yn condemnio esgobion Eglwys Mari fel erlidwyr gwaedlyd am eu bod yn llosgi hereticiaid; ond yr oedd yr un Protestaniaid yn ymffrostio eu bod yn gwneud gwasanaeth i Dduw, ac i grefydd, ac i'w gwlad wrth *grogi* Puritaniaid. Y mae dyngarwch dynion felly yn gibddall, neu yn rhagrithiol; ac y mae genym sail i gasglu y byddent dros bob gormes a chaethiwed ag a fyddai o ryw enw, neu o ryw enill iddynt hwy eu hunain. Y mae llaweroedd o ddynion da Lloegr yn dadlu yn dŷn ei bod yn gyfiawn iddynt hwy ladd *Sikhs* y Dwyrain, ond ei bod yn greulawn i'r Americaniaid ladd *Sacs* y Gorllewin; tra y mae dynion da America o'r tu arall yn dadlu yn dŷn yn hollol groes i hyny, ei bod yn gyfiawn i'w milwyr hwy ladd y *Sacs*, ond ei bod yn greulawn i filwyr Lloegr ladd y *Sikhs*. Y mae America yn cyfiawnhau lladdiad y Pequods a'r Mohawks, a'r Mohegans, a'r Narragansets; ond yn condemnio lladdiad y Nepaulese, a'r Pindarees, a'r Burmese, a'r Affghans; y mae Lloegr o'r tu arall yn cyfiawnhau ei llofruddiaethau ei hun, ond yn condemnio llofruddiaethau America; ond y mae pob dyngarwr didwyll a diduedd yn meddwl fod y ddwy blaid yn gywir yn eu barn am eu gilydd, ond yn anghywir yn eu barn am danynt eu hunain. Y mae yn ddrwg genyf orfod ychwanegu yn y fan yma, fod llaweroedd yn awr o bobl dda am i'r Negroaid caethion gael holl ryddfreiniau gweision cyflog, neu rydd-lafurwyr, yn mhob gwlad a thalaeth, *ond*, ie, OND yn eu talaeth hwy. Y mae yn drueni fod y fath "ond" i'w chlywed yn nghyffes y rhai sydd mor selog dros achos rhyddid.

7. Mai *araf* iawn y mae y diwygiadau gwerthfawrocaf yn gallu gweithio eu ffordd yn mlaen yn y byd cawliog, a hunangar, a llygredig hwn. Bu Wilberforce enwog yn ymresymu am dros ugain mlynedd yn Senedd Lloegr cyn gallu enill pleidlais y mwyafrif o'l gyd-Seneddwyr yn erbyn y Gaethfasnach; a

rhyw *gwarter* gwaith a wnaethant yn y diwedd, ar ol yr holl draul a'r holl lafur. Bu diwygwyr Cymru, a Lloegr, a Scotland yn gweithio yn selog, drwy beryglon a phrofedigaethau, am lawer o oesau er gallu enill y gradd o ryddid crefyddol ydys yn fwynhau yno yn y dyddiau presenol; a bu diwygwyr Cyfandir Europe yn llafurio yn yr un modd am ganoedd o flynyddoedd; ac y mae yno lawer iawn o waith i'w wneud *eto*, cyn y ceir yr amcan gogoneddus i ben. Buwyd yn gweithio am flynyddoedd lawer cyn gallu diddymu y "*Test Act*" yn Lloegr; ac yn hŵy na hyny cyn gallu enill rhyddfreiniad y Pabyddion; ac yn hŵy na hyny eilwaith cyn gallu enill rhyddfreiniad yr Iuddewon. Y mae Arglwyddi a Gweinidogion Eglwys Loegr yn dal eu gafael yn gyndyn drwy bob peth yn anghyfiawnder y Dreth Eglwys, er fod llais bron yr holl deyrnas yn eu herbyn; ac y mae gwŷr y Senedd yn gyndyn dros ben yn erbyn pob diwygiad Seneddol, er mai prin un o bob saith o ddynion mewn oed sy'n cael pleidleisio wrth eu hethol; a bod dosbarth lliosog o'r cyfryw heb ryddid i bleidleisio yn ol argyhoeddiad eu cydwybodau.

8. Mai y ffordd sicraf ac effeithiolaf i wella gwahanol sefydliadau o ormes ydyw drwy *foddion moesol*, ac nid trwy nerth *trais:* am fod moddion treisiol i gael diwygiadau gwladol, neu grefyddol o amgylch, wedi bod yn achlysuron lawer tro i gryfhau a helaethu sefydliadau gormes. Yr wyf yn credu y buasai achos rhyddid, gwladol, a chrefyddol, yn llawer pellach yn mlaen yn Europe, a thrwy'r byd oll, nag ydyw yn awr, pe buasai ynddo fwy o Gromweliaid, a Kossuthiaid, a Garibaldiaid yr ysgrif-bin, a llai o Gromweliaid, a Kossuthiaid, a Garibaldiaid y cleddyf. Yr wyf yn credu mai camgymeriad penaf Diwygwyr yr oesau a aethant heibio oedd cynllunio trefniadau i geisio enill buddugoliaethau rhyddid a rhinwedd drwy nerth arfau cnawdol, yn lle gwylio beunydd am ymgadw at arfau nerthol milwriaeth yr efengyl. Yr wrthddadl benaf yn erbyn hyn ydyw, na cheir dim defnyddio arfau yr efengyl, neu na oddefir rhydd-ymresymiad, mewn llawer gwlad, na than lawer

amgylchiad. Yr wyf yn cydnabod hyny; ac yr wyf yn meddwl fy mod yn gwybod y prif achos o hyny. Y prif achos ydyw, fod cyfeillion rhyddid wedi bod yn rhy dueddol i ymwylltio i dymherau trais, ac i wisgo arfau trais, er cael eu cynlluniau i ben, yn lle ymddiried yn dawel hyderus i nerth anorchfygol arfau gwirionedd, a doethineb, a boneddigeiddrwydd, ac addfwynder yr efengyl. Y mae yn wir y buasai ambell i rydd-resymydd yn cael ei ferthyru, ond buasai pob dyferyn o'i waed yn hâd i achos rhyddid; tra yr oedd afonydd o waed gwerthfawr diwygwyr y cleddyf yn hâd tew i deyrnas gormes.

Wrth adolygu hanes Europe am y can' mlynedd diweddaf, ceir fod bron holl chwyldröadau cryfaf y cleddyf wedi methu yn eu hamcan, ac wedi profi yn niweidiol i achos rhyddid; a cheir hefyd fod y buddugoliaethau a enillwyd, wedi cael eu henill, nid mewn trwst, a dillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed, ond yn ddistaw a dirodres, heb lef, na thrais, na therfysg, yn yr heol nac ar y maes, drwy foddion pwyll ac addfwynder a chariad yr efengyl. Y diwygiwr addfwyn, gostyngedig, dirwysg, didrwst, a didrais yw yr un a ddŵg allan farn at wirionedd. Er na ddryllia gorsen ysig, ac na ddiffydd lîn yn mygu, ni phalla efe, ac ni ddigalona hyd oni osodo farn ar y ddaear.

Y siampl fawr benaf a ddygir yn ein herbyn ar y pen hwn, ydyw y Chwyldröad mawr yn America, pan enillodd yr Unol Dalaethau eu Hannibyniaeth trwy ddewrder eu byddinoedd. Yr wyf yn cydnabod i hen wroniaid annibyniaeth America sefyll eu tir yn ddiysgog ar faes y frwydr, ond yr wyf ar yr un pryd yn dal iddynt enill eu hannibyniaeth yn fwy drwy ddylanwad moesol eu hymresymiadau nag y gwnaethant drwy rym eu cleddyfau. Ar faes Europe, ac nid yn gymaint ar dir America, yr enillwyd y goncwest fawr enwog hono; a rhesymeg, a philosophi, a dianwadalwch, a boneddigeiddrwydd, a thegwch Franklin a Washington a'u cydymdrechwyr drodd lif anwrthwynebol y teimlad yn Lloegr, o'u tu. Yr oedd Lord North yn colli y dydd mewn *dadl* yn Senedd Lloegr yn llawer cyflymach nag yr oedd Clin-

ton a Cornwallis yn colli ar faes y *rhyfel*. Y mae yn ffaith addefedig fod Cornwallis wedi plygu i nerth *rhesymeg* enwogion America yn hir cyn iddo blygu i nerth eu harfau. Ni anturiaf wrthryfela mor hŷf yn erbyn y llais cyffredin a dywedyd, nad oedd eu buddugoliaethau ar faes y gwaed yn rhai "gogoneddus"; ond beiddiaf ddywedyd y buasai buddugoliaethau, eu doniau, a'u tegwch yn llysoedd a chynadleddau y rhydd-resymu, ac wrth fyrddau masnach, a thrwy yr argraffwasg, a thrwy ohebiaeth cyfeillgarwch, yn rhai rhatach, a gwell eu dylanwad yn mhob ystyr, ac yn mhob cysylltiad. Dichon fy mod yn camgymeryd, ond yr wyf weithiau yn ofni fod y *cof* ar cof am eu "buddugoliaethau enwog ar y gwaedlyd faes" wedi bod yn fwy o gyfnerthiad i achos trais nag o enill i achos rhyddid: ond ceir goleuni gwell a gwastadach ar hyn fel y treigla oesoedd yn mlaen, ac fel y gwawria dyddiau heddwch ar y ddaear.

9. Mai dylanwad *siampl* ydyw un o'r rhai cryfaf i effeithio ar y meddwl dynol, pa un bynag ai er drwg, ai er da. Pan y mae rhyw un wlad yn ymroi, mewn yspryd tirion a chyfiawn, i fabwysiadu unrhyw gynlluniau o ddiwygiad, y mae y gwledydd cymydogaethol, wrth graffu ar ei hymddygiad, yn teimlo gradd o'r un yspryd yn ymweithio ynddynt, ac y maent o gam i gam yn efelychu ei siampl: a phan y mae rhyw un wlad yn trymhau ei threfniadau o ormes, y mae hyny yn cyfnerthu gormes mewn gwledydd eraill. Pan y darfu i un lywodraeth fynu eglwys sefydledig dan ei nodded, ac awdurdodi hono i erlid anghydffurfwyr o herwydd eu crefydd, darfu i lu o lywodraethau eraill gytuno i wneud yr un peth, a llanwyd y gwledydd o yspryd erlid. Pan y dechreuodd Portugal gaethgludo Negroaid o Affrica i farchnadoedd y Gorllewin, rhyfedd mor gyflym y darfu i Spaen, a Lloegr, a Ffrainc, a Holland, ddilyn y siampl; a rhyfedd mor barod hefyd oedd holl lywodraethau Europe i ddilyn ffordd greulon Spaen i orthrymu yr Indiaid. Pan y byddai rhai o Alluoedd cryfaf Europe yn ymwthio i orthrymu tywysogaethau gweiniaid o'u deutu, byddai blŷs yn

nion ar y galluoedd eraill i ddilyn eu siampl. Nid allai Russia ddim gorthrymu heb gynhyrfu Austria i orthrymu; ac nid allai Ffrainc wrth eu gweled ddim bod yn llonydd yn hir heb ddilyn eu siampl. Ac yn yr un modd, o'r tu arall, y mae siamplau da yn effeithio er daioni. Dylanwadodd penderfyniad Senedd Lloegr i ddiddymu y gaethfasnach, nid yn unig ar lywodraethau Europe, a Chydgyngorfa yr Unol Dalaethau, ond cyrhaeddodd cyn belled a Cuba a Brazil. Pan gychwynwyd Sefydliadau Cenhadol, a Chymdeithas Biblau, a Chynhadleddau Heddwch yn Lloegr, dilynwyd y siamplau hyny gan ddynion da dyngarol o wledydd eraill. Pan y mae rhyw un wlad yn cori rhai o lyffetheiriau masnach, y mae gwledydd eraill, o un i un, yn cael eu gogwyddo i ddilyn ei siampl. Pan y mae rhyw un wlad yn ymroddi i ddiwyllio amaethyddiaeth, ac i gefnogi gwybodaeth a chelfyddyd, sefydlir cymdeithasau i'r un dyben mewn gwledydd eraill.

10. Fod priodoli drygau gormes y byd i Dduw yn gyfeiliornad o'r natur erchyllaf. Y mae priodoli cybydd-dod a thrais a chreulonderau dynion syrthiedig i oruchwyliaethau cyfiawn a daionus Duw'r Cariad yn hen gyfeiliornad; ond y mae yn gyfeiliornad o'r natur fwyaf damniol. Y mae yn gabledd yn erbyn arfaethau a threfniadau gras Duw, ac yn fagwraeth i anffyddiaeth a rhyfyg calon dyn. Y mae yn warthrudd ar lywodraeth y Goruchaf, ac yn wenwyn i bob rhinwedd yn yr enaid. Y mae yn taflu camweddau y byd at orsedd y nef; a thrwy hyny y mae yn serio cydwybod y troseddwr i ddideimladrwydd o'i gyfrifoldeb ac o'i euogrwydd; ac felly y mae yn selio ei ddamnedigaeth. Y mae rhai wedi bod yn dadlu, a llawer wedi bod yn tybio, fod creulonderau y gaethfasnach yn Affrica, a llofruddiad brodorion y ddwy India, wedi cael eu cyflawni yn ol arfaethau grasol Duw; ond ceir esboniad gwahanol ar y pwnc yn y dydd mawr goleu pan y bernir pawb yn ol eu gweithredoedd. Y mae o bwys anrhaethol i geisio gweithio y fath gyfeiliornad ofnadwy ac enbyd o'r byd, os ydys am gael y byd i drefn, ac i degwch, ac i dangnefedd.

11. Fod sefydliadau o ormes nid yn unig yn gam â'r gorthrymedig, ond yn niweidiol hefyd i'r *gorthrymydd.* Y maent yn llygru ac yn bydoli ac yn caledu ac yn creuloni ei galon. Y maent wedi hyny o radd i radd, yn llenwi ei fynwes o euogrwydd ac o ofnau yn gymysg â'r nwydau gwylltaf ac annedwyddaf; ac felly y maent yn y diwedd yn difadu yr enaid o bob teimlad gwerth ei alw yn gysur sylweddol. Nid wyf yn amheu, ac nid ellir gwadu na ddaeth llawer un yn oludog, ac na ddringodd llawer un yn uchel wrth gribddeilio a gorthrymu; ond dygodd felldith i'w dŷ, a damnedigaeth i'w enaid. Enynynodd uffern yn ei brofiad cyn iddo gael ei alw i ymadael â'i fawredd ac â'i fwyniant ar y ddaear. Dyma ddarluniad y Beibl o'i draha, ac o'i ddiwedd; "Wele, efe a ymddŵg anwiredd, ac a feichiogodd ar gamwedd, ac a esgorodd ar gelwydd. Torodd bwll, cloddiodd ef, syrthiodd hefyd yn y clawdd a wnaeth. Ei anwiredd a ymchwel ar ei ben ei hun, a'i draha a ddisgyn ar ei gopa ei hun. Duw sydd Farnydd cyfiawn, a Duw sydd ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol. Oni ddychwel yr annuwiol, Efe a hoga ei gleddyf: efe a annelodd ei fwa, ac a'i paratodd. Paratodd hefyd iddo arfau angeuol, efe a drefnodd ei saethau yn erbyn yr erlidwyr. Adweinir yr Arglwydd wrth y farn a wna; yr annuwiol a faglwyd yn ngweithredoedd ei ddwylaw ei hun."

12. Fod sefydliadau gormes yn gam mawr â chymdeithas yn *gyffredinol.* Ni thrymhaodd yn un ardal, na thalaeth, na theyrnas erioed ei sefydliadau o ormes heb i hyny fod yn warth ac yn wendid, yn nychdod ac yn ddarostyngiad iddi ei hun yn y diwedd. Gyda bod hen ymerodraethau y cyn-oesoedd wedi tyfu i fyny i ymchwyddo ac ymfawrygu a gloddesta yn holl rwysg eu gormes, dechreuasant wywo a nychu, a siglo ac adfeilio nes iddynt o'r diwedd gael eu dileu oddiar wyneb y ddaear. Ni ddeilliodd erioed ddim gwir olud, na nerth, nac enwogrwydd i Spaen oddiwrth ei gormes gwaedlyd yn ynysoedd a thiriogaethau Indiaid y Gorllewin. Y mae Spaen a'i thalaethau, er maint eu hadnoddau, ac er hyfryded eu sefyllfa,

wedi bod yn llwydo ac yn gwaelu, yn gwargrymu ac yn nychu o'r dyddiau hyny hyd y dyddiau hyn. Ac ni chafodd Lloegr ddim enill erioed oddiwrth ei threfedigaethau tramor lle yr oedd mwyaf o orthrymder. Buasai yn llawer gwell iddi fod hebddynt. Yr oeddynt bob amser yn fwy o golled nag o enill i'w thrysorlys. Nid hir y llwydda unrhyw arglwydd tir wrth orthrymu ei denantiaid; ond y mae wedi myned yn ddiareb drwy'r gwledydd. Os bydd gwerth rhyw etifeddiaeth yn cynyddu, os bydd ei threfn a'i thlysni yn dyfod yn fwy prydferth a godidog yn barhaus, fod arglwydd tir yr etifeddiaeth hono, yn deg ac yn dyner ac yn foneddigaidd wrth ei denantiaid.

13. Y bydd golwg ddymunol iawn ar wledydd y byd pan y bydd eu holl sefydliadau gormesol wedi cael eu dileu. Fel hyn y darlunia Yspryd proffwydoliaeth fendithion a llwyddiant teyrnasiad Tywysog Tangnefedd: "Yn ei ddyddiau ef y blodeua'r cyfiawn; ac amlder o heddwch fydd tra fyddo lleuad. Canys efe a wared yr anghenog pan waeddo, y truan hefyd, a'r hwn ni byddo cynorthwywr iddo. Efe a wared eu henaid oddiwrth dwyll a thrawsder; a gwerthfawr fydd eu gwaed yn ei olwg ef. Bydd dyrnaid o ŷd ar y ddaear yn mhen y mynyddoedd: ei ffrwyth a ysgwyd fel Libanus; a phobl y ddinas a flodeuant fel gwellt y ddaear. Ei enw fydd yn dragywydd; ei enw a bery tra fyddo haul; ac ymfendithiant ynddo: yr holl genedloedd a'i galwant yn wynfydedig."

Y mae gweledigaethau Daniel hefyd yn dysgu i ni y torir danedd haiarn, ac y dryllir ewinedd pres y bwystfilod ofnadwy sy'n bwyta, ac yn dryllio, ac yn mathru y gweddill dan eu traed, ac y llwyr ddyfethir eu llywodraeth, ac y rhoddir y freniniaeth i bobl saint y Goruchaf, ac y coronir Mab y dyn yn Frenin breninoedd, ac y bydd ei lywodraeth yn llywodraeth dragywyddol. Ac y mae hen Lyfr Ysprydoliaeth yn darlunio dedwyddwch a ffyniant gwlad pan y bydd cyfiawnder yn cartrefu o'i mewn yn yr iaith ganlynol.

"Lle y buost yn wrthodedig ac yn gâs, ac heb gyniweirydd trwot, gwnaf di yn ardderchowgrwydd tragywyddol, ac yn

llawenydd i'r holl genedlaethau. Sugni hefyd laeth y cenedloedd, ïe, bronau breninoedd a sugni; a chei wybod mai myfi yr Arglwydd yw dy Achubydd, a'th waredydd yw Cadarn Dduw Jacob. Yn lle pres y dygaf aur, ac yn lle haiarn y dygaf arian, ac yn lle coed, bres, ac yn lle ceryg, haiarn; a gwnaf dy swyddogion yn heddychol, a'th drethwyr yn gyfiawn. Ni chlywir mwy son am drais yn dy wlad, na distryw na dinystr yn dy derfynau: eith ti a elwi dy fagwrydd yn Iachawdwriaeth, a'th byrth yn Foliant. Ni fachluda dy haul mwyach, a'th leuad ni phalla: o herwydd yr Arglwydd fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a dyddiau dy alar a ddarfyddant."

---

## Y FRENINES ELIZABETH A'R PURITANIAID.

---

**Ganwyd Elizabeth yn y flwyddyn 1533. Dechreuodd deyrnasu yn 1558, ychydig dros 300 mlynedd yn ol, pan oedd yn bump ar hugain oed, a bu farw yn 1603, yn ddeg a thriugain oed, ar ol teyrnasu bron bum' mlynedd a deugain.**

**Wrth daflu golwg dros ei hanes, yr ydym am ddweyd ychydig eiriau am ei *Theulu*, am ei *Rhinweddau*, ac am ei *Beiau;* ac yna crybwyll rhai gwersi ymarferol oddiwrth yr hanes.**

**Yr oedd Elizabeth yn ferch i Harri yr Wythfed, o'i ail wraig Anne Boleyn. O'r holl bobl ryfedd fu yn gwisgo coron Lloegr, un o'r rhai rhyfeddaf oedd Harri yr Wythfed. Dechreuodd deyrnasu pan yn ddeunaw oed. Yr oedd y pryd hyny yn llanc go hardd o ran ei gorff, a go hawddgar o ran ei feddwl; ond gwaethygodd—gwaethygodd yn gyflym—gwaethygodd yn mhob ystyr, a pharhaodd i waethygu hyd derfyn ei oes; fel y gellid dweyd am dano yn y diwedd, yn ngeiriau Llyfr Job, "Efe a dôdd ei wyneb â'i frasder, ac a wnaeth dyrch o floneg am ei denewynau." Ac yr oedd torchau o lygredd o**

gylch ei galon tewach na'r torchau o floneg oedd am ei denewynau. Yr oedd wedi ymbesgi cyn ei farw nes oedd wedi myned yn fwy na haner anghenfil. Yr oedd ei gorff tew tagellog yn wrthun i edrych arno; ond yr oedd ei enaid yn wrthunach na'i gorff. Nid efe ydoedd mab hynaf Harri y Seithfed, ac felly cafodd ei ddwyn i fynu a'i olwg, nid ar orsedd y freniniaeth, ond ar un o brif gadeiriau yr eglwys. Eithr pan y bu farw ei frawd hynaf, Arthur, daeth Harri yn etifedd y goron. Syrthiodd mewn cariad â gweddw ei frawd, sef Catherine o Spaen; a mynodd lythyr awdurdod, neu *license*, o lŷs y Pab i'w phriodi. Mynodd briodi gwraig ei frawd, nid i gyflawni deddf yr Hen Destament, er codi hâd i'w frawd, ond i borthi ei chwant ei hun. Gan ei fod wedi cael ei ddwyn i fynu i'r eglwys, yr oedd ynddo, hyd yn nod ar ol ei goroni yn frenin, dipyn o archwaeth at ddadleuon duwinyddol; ac ysgrifenodd lyfr yn erbyn athrawiaethau newyddion Luther: ac yr oedd y Pab mor falch fod y fath lyfr wedi cael ei ysgrifenu gan frenin, fel ag yr anrhydeddodd Harri â'r titl duwinyddol— "Amddiffynydd y Ffydd:" ac y mae breninoedd Lloegr yn gwisgo y titl cableddus hwnw hyd y dydd hwn. Yr oedd Harri mor falch o'i ditl newydd, fel yr oedd ei "ffŵl" yn rhyfeddu at ei ffolineb, ac yn ei gyngori i adael y "ffydd" i'w hamddiffyn ei hun. Bu'n edifar iawn gan y Pab roddi y fath ditl i'r fath ddyn; a diameu na buasai byth yn ei roddi pe buasai yn meddwl y buasai Harri yn troi allan yn fab mor wythnysig. Yr oedd Harri am fod yn Bab, ac yn Ben, ac yn bob peth, yn mhob cylch lle byddai.

Ar ol yr holl drafferth i gael license arbenig o Rufain i briodi ei chwaer yn-nghyfraith, syrthiodd mewn cariad ag un o'i llawforwynion, sef Anne Boleyn; ac fel effaith o hyny, blinodd ar ei wraig, a rhoddodd ei fryd ar gael llythyr oddiwth y Pab i dori y briodas â Catherine, er cael y ffordd yn rhydd i briodi Anne Boleyn. Yr oedd yn rhy anhawdd gan y Pab roddi llythyr felly iddo, o herwydd y buasai hyny yn tori anffaeledigrwydd y llythyr cyntaf, ac ar yr un pryd yn digio y cyfaill

c iraf a feddai, sef Ymerawdwr Germany, brawd Catherine ; ac felly buasai yn gwanychu ei eglwys mewn mwy nag un ffordd ; ac yn ei gwneud yn fwy o nod dirmyg nag erioed i Luther a'i gefnogwyr. Yr oedd y Pab, ar yr un pryd, yn awyddus i beidio digio Harri, os byddai modd ; ac felly cadwodd ef mewn anmheuaeth am gryn amser, mewn gobaith y buasai ei gariad gwyllt at Anne Boleyn yn oeri ; ond yn lle oeri poethi fwyfwy yr oedd ei chwant. A phenderfynodd wasgu ar ei brif-weinidog, y Cardinal Wolsey, i ddefnyddio ei ddylanwad i gael gan y Pab anfon iddo lythyr cenad i droi ymaith ei wraig Catherine. Taflodd hyny Wolsey i gyfyng-gyngor o'r fath gyfyngaf. Yr oedd Wolsey, er ei fod o ddechreuad isel, wedi dringo i fod yn un o'r dynion mwyaf ei gyfoeth a'i rwysg yn Europe ; ond er ei holl gyfrwysder a'i ddylanwad nis gwyddai pa fodd i weithio rhwng Harri a'r Pab yn achos y Llythyr ysgar i Catherine. Yr oedd am wasanaethu ei ddau Arglwydd, y Pab a Harri, pe medrasai ; ond nis gwyddai pa fodd i wneud hyny ; a chan ei fod yn gogwyddo i lynu wrth ei arglwydd hynaf, y Pab, sorodd Harri wrtho, a thorodd ef allan o bob swydd ac o bob awdurdod ac urddas yn Lloegr ; a thorodd Wolsey uchelfrydig ei galon mewn canlyniad i hyny, a bu farw yn annedwydd, gan ddywedyd yn athrist : "Pe buaswn yn gwasanaethu fy Nuw mor ffyddlawn ag y gwasanaethais fy Mrenin, ni buasai fy Nuw ddim yn fy nhroi ymaith fel hyn yn amser fy ngwallt gwyn." Gan fod Harri yn methu cael Llythyr ysgar o Rufain, penderfynodd y mynai Eglwys iddo ei hun yn nês ato, ac y mynai fod yn Bab yn ei eglwys ei hun, er cael Llythyr ysgar, a phob llythyr arall o'r fath, yn ol ei ewyllys ei hun, heb ymboeni i ddisgwyl wrth y Pab ; a gellir dywedyd mai chwant Harri yr Wythfed am Anne Boleyn oedd yr achlysur dechreuol o sefydliad Eglwys Loegr ar ol tori ei berthynas a'i Dad Sanctaidd y Pab, ac ar ol diarddel ei fam foethus Eglwys Rhufain ; nid hir y bu Harri heb sefydlu ei eglwys newydd ei hun yn Lloegr : ac i'r dyben hyny, torodd y mynachdai, a'r colegau, a'r ysbyttai, a'r

capelau Pabaidd drwy ei holl deyrnas—y cyfan yn dair mil o sefydliadau—ac yspeiliodd eu heiddo, er ei gyfoethogi ei hun fel Pab ei eglwys newydd, ac er gwobrwyo swyddwyr ffyddlonaf ei lŷs a'i eglwys. Wedi felly sefydlu ei eglwys newydd, nid hir y bu cyn cael awdurdod eglwysig i roddi llythyr ysgar i Catherine, a chael license i briodi Anne. Ond blinodd bob yn dipyn ar Anne, fel ar Catherine; oblegyd sythiodd, fel o'r blaen, mewn cariad gwyllt a Jane Seymour, un o forwynion Anne: ac ni orphwysodd heb ddyfeisio esgus i dori pen Anne am fai o ddychymyg ei chwant ei hun; a hyny pan oedd ei merch fechan Elizabeth yn ddwy flwydd oed. Dranoeth ar ol llofruddio Anne, priododd Jane Seymour, yr hon yn lled fuan ar ol hyny a fu farw ar enedigaeth Edward y Chweched. Priododd wedi hyny Anne o Cleves, un o dywysogesau Germany; ond nid oedd hono ddim mor lan o ran pryd a gwedd, nac mor dlws o ran ei chorff ag oedd ef yn ewyllysio; ac felly, mynodd *Act of Parliament* i roddi llythyr ysgar iddi, ac i'w throsi ymaith. Yr oedd felly yn gwneud ei hun yn wrthddrych gwawd i lysoedd Germany; oblegyd yr oedd ganddi yr un corff a gwyneb ar ol priodi ag oedd ganddi cyn hyny; a dylasai ffŵl Harri ddweyd hyny wrtho. Priododd wedi hyny ei bumed gwraig, sef Catherine Howard, nith Duc Norfolk: ond cafodd allan yn fuan nad oedd hono ddim wedi bod yn hollol ddiwair cyn priodi; a mynodd dori ei phen, ac anrheithio eiddo ei theulu i'w drysorlys. Ar ol llofruddio Catherine Howard priododd Catherine Parr, gweddw Lord Latimer. Cafwyd prawf yn fuan ei fod yn cynllwyn am ben hono; ond yr oedd hono yn rhy gyfrwys iddo, yr oedd drwy ei gwyliadwriaeth a'i challineb yn medru ysgoi ei faglau, neu eu datod, a dianc o honynt.

Dyn fel hyn ydoedd tad Elizabeth. Llofruddiodd ddwy o'i wragedd. Rhoddodd lythyr ysgar i ddwy eraill. Bu un farw cyn iddo gael hamdden i'w llofruddio: a methodd er ei holl ddichellion rwydo y llall i'w dinystr. Mae yn rhyfedd fod yr un ferch yn foddlon i roddi ei llaw i'r fath ddyn, yn foddlon i

roddi ei hun dan nawdd ac yn meddiant y fath lofrudd ang henfilaidd. Ymddygodd yn greulawn, nid yn unig at ei wragedd, ond at amryw o'i weinidogion ffyddlonaf. Achosodd i Wolsey dori ei galon, os nid ei ladd ei hun. Torodd benau Thomas Cromwell, a Syr Thomas More, a Iarll Surry, y dynion defnyddiolaf yn ei lŷs, a mwyaf boneddigaidd yn yr oes hono. Ac yr oedd crefydd Harri mor anwadal ag ydoedd ei chwant at ei wragedd. Yr oedd ei galon weithiau yn Brotestanaidd, ac weithiau yn Babaidd : ac arferai ferthyru Pabyddion a Phrotestaniaid bob yn ail, yn ol mympwy ei grefydd.

Ar ol i Harri dori ei briodas a Catherine ei wraig gyntaf, a thori pen Anne Boleyn, seliodd y Senedd ddeddf er cyhoeddi ei ferched, Mary ac Elizabeth, yn blant anghyfreithlawn, gyda'r bwriad o dori eu titl i'r goron : ond nid yw deddfau Seneddau bob amser i hyderu ynddynt ; oblegyd daeth Mary ac Elizabeth i'r orsedd, gyda'r rhwysg uchaf, ar draws holl eiriau cyfreithiol deddf y Senedd ; a lled debyg i'r ddeddf hono ydyw naw cant a naw deg a naw o bob mil o holl "actau" y Senedd. Yr ydys yn eu dirymu, neu yn eu newid, er yr holl gywreinrwydd dysgedig a wastraffir gan gyfreithwyr amleiriog y goron wrth eu cyfansoddi.

Pan y bu farw Harri yn nechreu y flwyddyn 1547, gadawodd yr orsedd i'w unig fab Edward y Chweched ; yr hwn oedd y pryd hyny yn blentyn deg oed, ac yn blentyn addfwyn, tyner-galon ; a llawer llai o dymer erlid ynddo nag oedd yn ei dad, nac yn yr un o'i chwiorydd. Bu Edward farw yn un ar bymtheg oed, ar ol bod yn enw o frenin am chwe' mlynedd. Eiraglaw, neu ei brif-weinidog cyntaf oedd Duc Somerset, ei ewythr o du ei fam. Yr helynt rhyfeddaf yn ei fywyd ef oedd fod ei dad yn gyntaf, a'i brif-weinidog ar ol hyny, wedi ymgynddeiriogi i ryfel gwaedlyd yn erbyn Scotland, am fod y Scotiaid yn anfoddlon i roddi Mary, etifeddes eu coron, yn wraig i Edward. Buasai Edward, pe cawsai estyniad einioes, yn debyg o wneud gwr tirion iddi ; ond yr oedd pobl Scotland yn dyn iawn yn erbyn y "*fatch* ;" am eu bod hwy y pryd

hyny yn Babyddion, ac Edward yn Brotestant; ond ffolineb creulawn ydoedd i Lywodraeth Edward anfon byddinoedd an-anrheithgar i ymladd am wraig iddo, yn groes i'w dymuniad hi a'i phobl. Gweinyddwyd Llywodraeth Lloegr y pryd hyny yn lled bwyllog a theg gan Duc Somerset; ond gweithiodd Dudley, Duc Northumberland, y tu cefn iddo, er ei ddisodli; a mynodd ei ddienyddio o'r ffordd, er cael ei swydd fel Rhag-law y Deyrnas. Yr oedd iechyd Edward erbyn hyn yn gwaelu yn gyflym, ac wrth weled hyny, cynlluniodd Duc Northumber-land am i'r goron ddisgyn i Lady Jane Grey, yr hon oedd wedi priodi un o'i feibion; ac oedd hefyd yn ferch i gyfnither i Edward. Yr oedd Jane Grey yn un o'r merched ieuainc prydferthaf; ac hefyd yn un o'r rhai uchaf ei dysg, a'r ber-ffeithiaf ei moes yn y Deyrnas; er nad oedd y pryd hyny ond dwy ar bymtheg oed. Bu farw Edward cyn i Northumber-land gael hamdden i berffeithio ei gynlluniau; ond ar y sail fod titlau Mary ac Elizabeth i'r orsedd wedi cael eu tori gan y Senedd, a bod Edward wrth farw wedi enwi Jane Grey fel ei etifeddes, mynodd y Duc goroni ei ferch yn-nghyfraith, Lady Jane Grey, yn gwbl groes i'w hewyllys. Ond cododd y Pab-yddion yn eu nerth, ac arweiniasant Mary i'r orsedd, gyda rhwysg mawr, ar draws llythyr cymun ei brawd, ac ar draws deddf y Senedd, ac ar draws llythyr ysgar ei mam; a thor-wyd pen y ddiniwed Jane Grey, ar ol naw diwrnod o deyrnas-iad annedwydd: a dienyddiwyd ei gwr, a'i thad yn-nghyfraith, ac amryw o'i chyfeillion eraill ar yr un pryd.

Nid rhyfedd iawn i Mary fyned yn "*Mary Waedlyd*" yn yr oes waedlyd hono, ac yn ol siampl tad mor nwydwyllt a gwaedlyd. Cododd ar unwaith y Pabyddion creulonaf, megys Gardiner, a Bonner, a Tunstal, i'r prif-gadeiriau yn ei chyfrin-gyngor. Dirymodd gynlluniau diwygiadol teyrnasiad ei brawd, a merthyrwyd, yn ystod byr ei rhwysg barbaraidd, ddau gant a phedwar ugain o'r deiliaid ffyddlonaf, a hyny yn unig o her-wydd purdeb eu Protestaniaeth; ac yn eu mysg yr oedd pump o'r esgobion duwiolaf fu erioed yn eistedd ar fainc esgobawl

Eglwys Loegr. Priododd y Pabydd dichellgar Philip, bren[in] Spaen, yn groes i ddymuniad ei deiliaid. Hudodd hwnw hi i ryfel â Ffrainc, a chollodd Loegr yr unig safle oedd gandi yn Ffrainc, sef dinas Calais, yr hon a brisid yn fawr y pryd hyny gan Loegr fel porth cyfleus i'r cyfandir. Bu farw Mary yn haner ei dyddiau, ac yn nghanol ei chreulonderau, o wanwyn yspryd, oblegyd tri pheth—am ei bod wedi colli Calais; am ei bod yn methu lladd Protestaniaeth, er ei holl dân a'i ffagodau; ac am ei bod yn methu cael plant, er ei holl awydd am hyny. Bu farw o ofid calon, ar ol teyrnasu yn greulon, er dianrhydedd a niwed i'w gwlad, am bum' mlynedd a phum' mis.

Dyna sydd genym i'w grybwyll yn awr am *geraint* Elizabeth, y rhai fu'n gwisgo y goron o'i blaen. Edrychwn eto am funud neu ddwy ar rai o'i RHINWEDDAU.

1. Gorfu iddi yn ei hieuenctyd weithio ei ffordd drwy lawer o anhawsderau a phrofedigaethau. Taflwyd hi yn gynar iawn i ysgol adfyd. Ni chafodd ddim o "addysg mam." Ni phrofodd erioed o ddylanwad tyner effeithiol cydymdeimlad mam, cydymdeimlad ei llais na'i llygad, ei gwên na'i dagrau, ei chi[...] na'i chyngor, na'i gweddi Collodd ei mam pan nad oedd ond dwy flwydd oed, a chollodd ei mam dan yr amgylchiadau mwyaf cyfyng, sef drwy i'w hanwyl fam gael ei llofruddio yn ngwrid ei hoes, ac yn nechreuad ei gofalon gan y *priod* barbaraidd oedd wedi ymgyfamodi wrth yr allor i'w hamddiffyn a'i hanrhydeddu. Yr oedd yr adgofion am ymddygiadau bryntion ei thad, yn enwedig ei greulondeb tuag at ei wragedd, yn peri i ing drywanu enaid Elizabeth ieuanc. Bu marwolaeth ei brawd hefyd yn groes drom iddi. Yr oedd ganddi ddisgwyliadau uchel am nodded a chefnogiad oddiwrth ei brawd. Yr oedd ei chalon yn anadlu yn gynes o du mesurau Protestanaidd ei Lywodraeth ; ond diffoddodd ei gobeithion dysglaer hyny ar farwolaeth ei brawd. Diangodd ef yn gynar o gyrhaedd profedigaethau breninol yr oes derfysglyd hono, cyn i'w serchiadau gael eu dyrysu, ac i'w galon gael ei chaledu

drwy wagedd a rhodres y byd drwg presenol. Collodd hefyd, yn fuan ar ol hyny, lawer o'i chyngorwyr a'i chyfeillion ffyddlonaf ac anwylaf, drwy iddynt gael eu merthyru heb drugaredd gan esgobion barbaraidd eglwys greulon ei chwaer. Cadwyd hithau yn y carchar drwy holl dymor rhwysg Mary, a bu llawer brad am ei bywyd, ac y mae yn rhyfedd iddi ddianc; ond yr oedd ei hadfyd a'i hofnau yn ei gwasgu i wyliadwriaeth, fel y methwyd cael achlysur yn ei herbyn i'w gosod i farwolaeth. Yr oedd ei hamryw orthrymderau yn peri dioddefgarwch, a dioddefgarwch, brofiad; ac yr oedd profiad ei ffydd yn peri amynedd a gobaith. Yr oedd ei chaethiwed yn peri iddi hoffi ei myfyrgell. Yr oedd ei charchar yn gwneud ei llyfrau yn fwy gwerthfawr iddi; ac yr oedd ei hunigedd yn cadw ei meddwl ar waith; ac yn ei chadw ar yr un pryd allan o gyrhaedd llawer o'r profedigaethau ag y gallasai tywysoges ieuanc fel hi fod yn bur agored iddynt pe buasai yn cael ymrodio yn rhydd dan wenau heulwen rhwysg y llŷs. Yr oedd yn cael cyfle da yn ei charchar, allan o gyrhaedd dwndwr y byd, i astudio egwyddorion llywod-ddysg, drwy fyfyrio ar helyntion ei gwlad, a therfysgoedd gwledydd eraill Europe. Yr oedd ganddi alluoedd naturiol cyflym a chryfion, ac yr oedd wedi eu coethu yn ofalus, a'u cadw yn weithgar; fel yr oedd ganddi pan y daeth i'r freniniaeth, yn bump ar hugain oed, drysorau helaeth a gwerthfawr o wybodaeth a phofiad. Yr oedd ganddi bob cymhelliad i fod yn ffyddlawn i achos Protestaniaeth: oblegyd yr oedd calonau holl Babyddion Europe, ac yn enwedig Pabyddion Lloegr, a'r Iwerddon, a Scotland, a Ffrainc, yn dŷn ac yn gryf yn ei herbyn. Yr oeddynt yn cyndyn ddal o hyd ei bod yn blentyn anghyfreithlon, gan fod ei mam o haniad isel, ac wedi colli ei phen ar y dienyddle; ac yr oeddynt am droi y goron i'w chyfnither y frenines Mary o Scotland, yr hon oedd wedi cael ei dwyn i fynu yn llŷs Ffrainc, yn ol egwyddorion manylaf y grefydd Babaidd. Nid oedd gan Elizabeth ddim golwg na gobaith am nawdd na nerth o un man ond yn mynwes Protestaniaeth. Buasai Pabyddiaeth yn cy-

meryd ei gorsedd a'i bywyd oddiarni pe gallasai. Protestaniaeth ddarfu ei chadw a'i chodi; ac yr oedd yn drueni iddi, ar ol cael y fath brofion chwerwon, o greulonderau Pabyddiaeth, a chael hefyd y fath dymor o adfyd ac unigedd i adfeddwl am danynt, yr oedd yn drueni dyblyg i Elizabeth adael i'r "Pab bach" oedd yn ei chalon (fel sydd yn nghalon pob un o blant y cwymp) gael y fath faeth a magwraeth, a chael tyfu mor fawr ac mor gryf i ddilyn y fath rwysg, i lefaru y fath fawrhydi, ac i gyflawni y fath greulonderau; ond er gwaethaf twyll y galon a hudoliaethau anghrist, glynodd rhai o wersi ysgol ei hadfyd yn ei chof a'i phrofiad yn hir ar ol ei hesgyniad i'r orsedd. Parhaodd yn wyliadwrus a myfyrgar, yn fywiog, a diwyd, a gweithgar bron drwy ei hoes.

2. Ymddygodd ar ol ei hesgyniad i'r orsedd yn faddeugar ac yn lled gymodlawn tuag at y blaid oedd wedi lleisio yn ei herbyn, ac wedi bod yn ddiwyd i geisio ei bychanu yn mhob modd, ac i godi rhwystrau ar ei ffordd i'r freniniaeth. Y mae yn wir ei bod yn gwylio yn erbyn eu gosod mewn lleoedd o ymddiried, ac yr oedd hyny yn eithaf priodol; ond yr oedd ei gwaith yn taflu eu dygasedd a'u dirmyg y tu ol i'w chefn i dir anghof, yn enwedig yn yr oes hono o ddialgarwch, yn brawf dymunol o gallineb a phwyll, os nid o wir fawredd meddwl.

3. Yr oedd ei bryd yn gryf ac yn lled sefydlog am gael dynion cymwys, dynion craffus a gweithgar, dynion talentog a gofalus i lenwi pob rhyw swyddau yn y wladwriaeth. Yr oedd ei gwyneb yn erbyn segur-swyddwyr diog, dienaid ac aneffeithiol. Ei hegwyddor a'i gofal oedd cael y "Right man i'r right place" yn ei chyngor, yn ei heglwys, yn ei byddin, yn ei llynges, yn ei holl lysoedd gartref, ac yn ei holl genadaethau tramor. Yr oedd ei phrif-weinidog, Lord Burleigh, yn un o'r prif-weinidogion craffaf a mwyaf pwyllog fu erioed yn Lloegr. Yr oedd ei phrif ysgrifenydd Walsingham yn un o'r uchelswyddwyr cyfrwysaf yn ei oes. Yr oedd ei phrif lyngesydd, Lord Howard o Effingham, yn gystal Nelson yr oes hono, ag oedd Nelson ddewrwych George y Trydydd. Yr oedd y môr-

deithwyr Drake a Raleigh, a Cavendish a Frobisher yn rhai o'r cymeriad uchaf o ran medr, a dewrder, ac anturiaeth. Dan deyrnasiad Elizabeth y dechreuodd Bacon ei yrfa fel athronydd, a Coke ei lafur fel cyfreithiwr, ac Enigo Jones ei gywreinrwydd coeth fel adeiladydd, a Shakespeare chwareu ei edyn fel bardd. Gellir dweyd fod anogaethau lliosog a chryfion y pryd hyny i ddynion o athrylith ymorchestu dringo i fynu mewn celfyddyd a gwybodaeth; a chafodd rhai o'r gweithiau mawrion ag sydd wedi enwogi a chyfoethogi Sheffield, a Leeds, a Birmingham, a Manchester, eu cychwyn yn amser Elizabeth.

4. Gellir crybwyll, er ei hanrhydedd, iddi arfer ei dylanwad i ddirymu amryw hen *monopolies*, neu sefydliadau gormesol o orfaelaeth, ag oeddynt yn gwasgu yn anwastad ac yn annheg ar gorff ei deiliaid, ac yn effeithio yn niweidiol i ledaeniad a llwyddiant masnach, ac mewn canlyniad i hyny yn ataliol i ddadleniad adnoddau gwlad, yn nychdod i'w hyspryd, yn farweiddiad i'w bywiogrwydd, ac yn rhwystr ar ffordd ei derchafiad i nerth, a chyfoeth, ac enwogrwydd. Y mae dilead sefydliadau niweidiol yn gymaint anrhydedd i lywydd ac i'w lywodraeth, ac o gymaint pwys er lles gwlad ag ydyw lluniad mesurau o ddefnyddioldeb; oblegyd ni waeth weithiau heb y drafferth o lunio mesurau da, os bydd hen sefydliadau niweidiol ar ffordd eu gosod mewn gweithrediad.

5. Yr oedd yn bluen yn nghap Elizabeth iddi wrthod cynygion Philip brenin Spaen i fod yn ŵr iddi. Yr oedd yn ei wrthod am ei fod yn Babydd selog, am y buasai yn arfer ei gyfrwysder ac yn defnyddio ei ddylanwad i ddyrysu ac atal pob diwygiad gwladol a chrefyddol, am y buasai yn debyg o liosogi profedigaethau Lloegr yn ei chysylltiadau tramor, am y buasai yn anmhoblog iawn yn mysg y rhan amlaf o'i deiliaid, am ei fod wedi bod yn ŵr o'r blaen i'w chwaer, ond yn un go wael, a go sychlyd, ac anffrwythlon, ac am fod ei amser goreu wedi myned heibio. Oblegyd y pethau hyn, a dichon rai pethau eraill, nis gallai mewn modd yn y byd ei garu, na meddwl am ei briodi: a chlod byth i'w henw am wrthod y fath gynyg-

iwr. Gwrthododd gynygion uchel eraill o'r un natur ; ac os oedd yn eu gwrthod er lles ei gwlad, yr oedd hyny yn arwydd o wladgarwch o'r natur buraf ar uchaf.

6. Bu yn golofn gref dan achos Protestaniaeth yn yr oes dywell ddu dymestlog hono. Dangosodd ei ffafrau breninol i Brotestaniaid Lloegr. Mynodd nodded, a mwy na nodded, i Brotestaniaid yr Iwerddon. Anfonodd ei byddinoedd i gynorthwyo John Knox ac arglwyddi y diwygiad yn Scotland. Anfonodd ei lluoedd hefyd i gynal breichiau y Prince of Orange a Phrotestaniaid Holland. Defnyddiodd ddylanwad a doniau ei llŷs i ysgafnhau gwasgfeuon a gorthrymderau Protestaniaid Ffrainc. Mewn gair gwnaeth yr hyn a allai i wanychu Pabyddiaeth, ac i bleidio lledaeniad egwyddorion Luther yn holl lysoedd, a thrwy holl wledydd cyfandir Europe.

7. Yr oedd ynddi yspryd ymgryfhau ac ymwroli, yn lle ymollwng a llwfrhau, mewn adegau o beryglon a thywyllwch. Ceir engraifft o hyn ar adeg ymosodiad y "Spanish Armada," yn y flwyddyn 1588, tua'r ddegfed flwyddyn ar hugain o'i theyrnasiad. Yr oedd Llywodraethau Pabaidd Europe yn ddig iawn wrthi am sefyll mor dŷn o blaid Protestaniaeth. Yr oedd Spaen y pryd hyny yn un o'r galluoedd cryfaf yn Europe, a chychwynodd lynges o gant a deg ar hugain o longau rhyfel mawrion, ac ynddynt dros bum' mil ar hugain o arfogion, er goresgyn Lloegr : ac yr oedd gan Spaen fyddin arall o dros ddeng mil ar hugain, dan Duc Parma, yn y Netherlands, yn barod i ddyfod drosodd i gynorthwyo byddin y llynges fawr, ac yr oedd y ddwy gyda'u gilydd yn cynwys dros driugain mil o filwyr. Yr oedd yr adeg hono yn un o ddychryn ac o gyfyngder drwy Loegr ; ond llwyr ymroddodd y freniues i gysegru holl alluoedd ei chorff a'i meddwl i danio gwroldeb ei deiliaid i godi fel un gwr i amddiffyn "eu gwlad a'u crefydd," a bu hi a'i gweinidogion a'i chapteniaid yn gwbl lwyddianus i gynhyrfu a gwroli yr holl deyrnas. Anfonwyd Drake a phedair llong rhyfel, a chwech ar hugain o longau marsiandwyr, wedi eu taclu at ryfel, tua Spaen i wylio symudiadau llynges y gelyn,

ıwygodd Drake ei ffordd i ganol porthladd Cadiz, lle yr oedd ges fawr gyfoethog Spaen yn parotoi at gychwyn; a ditriodd dros gant o longau, yn benaf y cludlongau oeddynt lwythog o bob darpariaethau at yr ymosodiad ar Loegr. naeth hafog ofnadwy yn ein mysg, a dychwelodd adref yn lugol, gan gyhoeddi ei fod wedi "deifio barf y gelyn" yn au ei hun: a bu yn analluog i godi o'i ffau y flwyddyn o. Anfonwyd llynges fechan hefyd yn ddioed i wylio porthloedd y Netherlands er lluddias y fyddin elynol i hwylio i yno. Nid oedd gan Loegr ond llynges o ddeg ar hugain ngau rhyfel i wynebu ar lynges fawr Spaen ag oedd dros air gwaith y nifer hyny; ond taclodd y marsiandwyr ugau o fân-longau ar eu traul eu hunain, i gynorthwyo y lyngyfel. Yr oedd llongau Lloegr yn llawer llai o faint, ac r yr oeddynt yn llawer hawddach eu troi a'u hwylio na gau mawrion Spaen; ac yr oedd hyny yn fantais bwysfawr ıdeg y frwydr. Cyfarfu y ddwy lynges yn yr *English nnel*, ac ymosododd y llongau bychain ar y rhai mawrion, chwalu tân yn mhob dull yn eu mysg, nes suddo amryw o ynt, a thaflu eraill ar y creigiau, a dyrysu a chwalu y lleill, gorfodi i ffoi, yn groes i'w cartref, gyda gororau dwyreiniol egr tuag Ynysoedd Orkney yn ngogledd Scotland, er cynyg ısi rhwng yr ynysoedd hyny i ddychwelyd tuag adref i lawr rish Channel, gyda glenydd gorllewinol Cymru: ond pan dynt ar gyfer Yorkshire, bron yn nechreu cylchdro eu ffoaeth, dechreuodd tymestl ofnadwy chwythu arnynt, a chollıt yno ddwy ar bymtheg o'u llongau, a phum' mil o'u dwy- Collasant yn y cyfan yn mhob dull, drwy y dymestl a'r ydr, ddwy ar bymtheg a thriugain o'u llongau, ac nid oedd ddynt ond tair ar ddeg a deugain yn ngweddill, yn cyrdd adref, ac yr oedd y rhai hyny yn gregin ac yn garpiog; ınesion sobr oedd ganddynt i'w hadrodd gartref am fedr a rder mileinig milwyr Lloegr, ac am erwindeb croeswyntl gororau gogleddol Lloegr a Scotland; ac yr oedd Elizaı a'i deiliaid erbyn hyny mewn hwyl dda i ganu yr hen anu:

"Y gelyn a ddywedodd, mi a erlidiaf, mi a oddiweddaf, mi a ranaf yr yspail, caf fy ngwynfyd arnynt, tynaf fy nghleddyf, fy llaw a'u dyfetha hwynt. Ti a chwythaist â'th wynt, y môr a'u tôdd hwynt, suddasant fel plwm yn y dyfroedd cryfion."

Cyfnerthwyd ac enwogwyd mwy ar longwriaeth Lloegr yn amser Elizabeth nag a wnaed dan unrhyw deyrnasiad arall yn ei holl hanes. Enillodd glod oesol wrth orchfygu y Spanish "*Invincible*" Armada; ac yr oedd yn haeddol o glod oesol am y fath oruchafiaeth. Ond nid clod hollol ddigwmwl ydoedd. Nid clod llwyddiant rhyfel perffaith "amddiffynol" ydoedd hyd yn nod y clod hwnw. Ystyrir y rhyfel hwnw gan y rhan fwyaf fel rhyfel "amddiffynol" o'r fath buraf; a bod yr holl fai ar Spaen, ac nad oedd dim o'r bai ar Loegr; ond os ystyrir rhag-gysylltiadau y rhyfel yn fanwl a diduedd, ceir fod Lloegr wedi bod yn euog o'r "*provocations*" trymaf a llymaf. Yr oedd byddinoedd Lloegr wedi bod yn cynorthwyo gwrthryfel y Netherlands yn erbyn Llywodraeth Spaen; a gwaeth na hyny, yr oedd "privateers" enwog Lloegr, dan lywyddiaeth Drake, a Cavendish, a Raleigh, a Hawkins a Frobisher wedi bod am flynyddoedd yn gwylio ffyrdd moroedd y gorllewin, er yspeilio masnach-longau Spaen, ac anrheithio ei sefydliadau yn y West Indies. Yr oeddynt yn fwy o ladron ar y môr nag y bu Dick Turpin na Jack Shepherd erioed ar y tir. Rhagoriaeth y môr-leidr ar y tir-leidr oedd ei fod yn myned yn mhell bell o'r golwg i lofruddio a lladrata, a'i fod yn gallu fforddio i gadw carn uchelfawr yn y llys gartref, i gael rhan o'r anrhaith. Dygodd y môr-ladron enwog a grybwyllwyd lawer iawn o anrhaith oddiar Spaen, ac yr oedd Llywodraeth Spaen wedi cael hen ddigon o achos i ddigio wrth Loegr oblegyd ei thrais a'i difrod.

8. Gwnaeth Elizabeth gyngrair o heddwch a chyfeillgarwch â Henri brenin Ffrainc, er nad oeddynt yn aelodau o'r un *sect* grefyddol: a phan y mae cyfeillgarwch yn cael ei fagu rhwng gwledydd cymydogaethol er hwylysu eu cydfasnach, y mae hyny yn gysur ac yn enill iddynt hwy, ac yn lles mewn llawer ffordd, ar yr un pryd, i'r holl fyd o'u deutu.

9. Yn nyddiau Elizabeth y cychwynwyd y prif sefydliadau 'rydeinig yn America; a galwyd yr hynaf o honynt yn "Virginia," er anrhydedd i Elizabeth, am ei bod yn "*Virgin* Queen."

Rhaid i ni droi bellach oddiwrth ochr *oleu* ei hoes i edrych m funud ar yr ochr DYWYLL.

1. Yr oedd yn nodedig o uchelfrydig a gwag-ogoneddgar; c yn hoff blentynaidd o bob math o wên deg, a gweniaith. r oedd yn falch o bob peth oedd ganddi, yn falch o harddrch llun ei chorff, ac o brydferthwch lliw ei gwyneb. Yr edd yn falch o blethiad ei gwallt, ac o drwsiad ei gwisgoedd: r oedd yn falch o *frils* ei gwddf yn gystal ag o berlau ei horon. Yr oedd yn falch o'i hosgo ac o'i moes, o'i dysg a'i lawn, o'i holl agweddau, ac o'i holl gyrhaeddiadau; ac fel ffaith naturiol o hyn, yr oedd yn hoff o bob rhwysg a rhodres, n enwedig pan ar ei hymdeithiau drwy ddinasoedd poblog, a wersyllfaoedd ei milwyr, a phan yn ymweled a theuluoedd hai o bendefigion ei llŷs. Dylid addef ei bod yn ddynes o dysgeidiaeth helaeth, o feddwl cyflym, ac o ddoniau parod, ac sprydoedd bywiog, ond nid oedd hi ddim un mymryn harddch o ran ei chorff na merched yn gyffredin; ac yn wir, nid edd hi ddim yn agos cyn hardded a merched gwridog y *Cymy* pan yn eu trwsiad Cymreig, pa un bynag ai yn eu dillad waith ai yn eu dillad gŵyl. Ac yr yr oedd yn bur wrthun i drych ar frenines fawr felly yn troi ei llygad i lawr ac i fynu, c yn groes ac yn gam i edrych ar ei ribanau a'i modrwyau, ac r dlysau ei gwregys, a blodau curls ei gwallt, fel y gwelir amell i hogen fach ieuanc ar ei thaith gyntaf oddicartref pan yn ıyndra y gynulleidfa fawr, yn troi cil ei llygad o'r naill ochr r llall, i syllu ar pattern a thrwsiad ei gown newydd. Un :lly oedd yr hen frenines Elizabeth. Yr oedd pan yn y gwasanaeth dwyfol" yn meddwl mwy am ei *dress* newydd ıg am ei henaid, ac yn sylwi yn fanylach ar wisgoedd yr offeird nag ar ei lithiau.

2. Fel effaith o'r balchder yma yr oedd yn eiddigeddus o

harddwch corff, a thlysni gwisgiad, a boneddigeiddrwydd moesau y pendefigesau fyddent o'i deutu ; ac yn enwedig os byddent yn rhai o ddysgeidiaeth a chyrhaeddiadau uchel, ac o sefyllfa a chymeriad anrhydeddus. Yr oedd hyny yn wendid ynddi ag oedd yn gwneud ei hyspryd a'i hagweddiad yn hynod o anhawddgar ac o annedwydd mewn cymdeithas.

3. Yr oedd yn myned yn fwyfwy awyddus fel yr oedd yn heneiddio am i gryn stwr a rhodres gael ei wneud am ei bod wedi ymgadw drwy ei hoes yn forwyn bur freninol, pan mewn gwirionedd yr oedd ei llygad a'i chalon yn rhedeg yn wyllt ac yn wamal ar ol ei chariadon. Yr oedd hi wedi myned yn ei henaint bron mor hoff o fechgyn ag oedd Solomon wedi myned yn hoff o ferched ; ond yn unig fod amgylchiadau oes Solomon yn goddef iddo gael mwy o nifer nag oedd yn weddus iddi hi gadw. Ni byddai hi ddim yn ddedwydd heb gael rhyw Syr Philip Sydney, neu ryw Syr Christopher Hatton, neu ryw Iarll Leicester, neu ryw Iarll Essex, yn ei chyrhaedd. Dichon y buasai yn well ar ei lles, ar les ei hyspryd, a'i henw, ac yn well er lles ei gwlad, ac er lles y byd, iddi briodi yn yr amser priodol i hyny, pan oedd yn mlodau ei hoes, ac yn nerth ei dyddiau. Mae'n debyg ei bod yn ofni y buasai y gwr, yn ol yr hen air, yn ben y wraig, ac nad allai hi ddim goddef i neb fod yn ben mewn dim yn agos ati. Ond nid oedd dim llawer o berygl ar y pen hyny ; oblegyd buasai hi yn lled sicr o fynu bod yn ben yn ei thŷ yn gystal ag yn yr eglwys a'r wladwriaeth. Yr oedd yn ferch i Harri yr Wythfed. Pan oedd hen bregethwr, ag oedd yn "hen lanc" go hyf unwaith o'i blaen, dywedodd wrtho, "Yr wyf yn dy hoffi di yn fwy, Whitehead, am dy fod yn aros heb briodi." "Yn wir, madam," atebai yr hen bregethwr, "yr wyf fi yn eich hoffi chwi yn llai, am yr un rheswm."

4. Yr oedd yn un glos a chybyddlyd. Byddai yn hoff o deithio llawer o amgylch ; oblegyd yr oedd felly yn cael cwmniau rhwysgfawr, a gwleddoedd danteithiol, a chroesaw llawn o bob rhyw rodres cyhoeddus, a hyny ar draul y pendefigion

fyddent o bryd i bryd yn cael yr anrhydedd drudfawr o'i chroesawu: ac yr oedd yn cael, ar yr amserau hyny, lawer iawn o sylwi arni, ac o son am dani, ac yr oedd yn cael hyny oll ar draul pobl eraill. Anfynych iawn y byddai yn troi dim o'i ffordd i ymweled a "Llysoedd Elusen." Soniodd amryw weithiau—ac yn enwedig yn ei haraeth fawr o flaen Prif-ysgol Caergrawnt—am sylfaenu coleg cyfoethog i fod yn goffadwriaeth benditbfawr am ei henw drwy yr oesau dyfodol; ond nid wyf yn cofio fod hanes iddi waddoli unrhyw sefydliad buddiol felly. Yr oedd yn gwbl rydd oddiwrth ddosbarth pwysig iawn o drenliau teuluaidd ag sydd gan Victoria gyda naw neu ddeg o blant; a gallasid disgwyl iddi fedru fforddio i estyn llaw hael i gynorthwyo colegau, neu ryw sefydliadau o elusen; ond go gauad y bu ei llaw a'i chalon drwy holl dymor ei theyrnasiad. Pan y pigwyd pedwar o brif ysgolheigion Caergrawnt i gydymresymu o'i blaen, er ei difyrwch, ar adeg ei hymweliad â'r Brif-ysgol, urddodd yr ysgafnaf ei ddysg o'r pedwar yn "*Queen's Scholar*," a rhoddodd ugain punt y flwyddyn tuag at ei gynal, am ei fod mor dlws ei fin, a'i rudd, a'i drwyn, a'i lygad, a throad ei wallt a chwlwm ei wddf, ac mor foneddigaidd ei law, a'i lais, a'i osgo, wrth draddodi ei araeth; a hwnw ysgatfydd oedd yr unig "Queen's Scholar" a gynaliwyd ganddi. Edrychodd y pryd hyny yn lled ddirmygus ar un o ysgolheigion penaf yr oes hono, sef yr enwog Barchedig Thomas Cartwright, am fod braidd arogl Puritaniaeth ar ei araeth, yn gystal ag ar ei ddull yn ei thraddodi. Ie, un gul, glos oedd Ladye Elizabeth, y "Virgin Queen of England."

5. Yr oedd yn dal yn dŷn, dŷn, dŷn, at yr athrawiaeth fod breninoedd yn derbyn eu hawdurdod yn uniongyrchol oddiwrth Dduw, ac nad oeddynt yn gyfrifol i'w deiliaid am ddim, nac mewn dim, ar unrhyw amgylchiad; ac mai dyledswydd a braint y deiliaid ydyw ufuddhau iddynt yn mhob peth, bob amser, heb byth ymyryd â llywod-ddysg, na chynyg cyffwrdd mewn un modd, nac ar unrhyw achlysur ag awenau y Llywodraeth. Dyna oedd ystyr yr hyn a olygid wrth y "*Divine Right*

*of Kings;*" ac yr oedd Elizabeth yn dynach dros y "Divine Right" nag yr un Penadur fu erioed yn Lloegr, oddieithr ei thad gormesol a nwydwyllt. Y mae hyd yn nod Miss Strickland, yn ei "*Lives of the Queens of England*," yn darlunio Elizabeth fel y "most despotic, except her father, that ever swayed the Sceptre of England."

6. Gan ei bod felly mor dŷn dros ei "divine right," nid rhyfedd ei bod yn gryn *feistres* yn ei holl gylchoedd; ac yn wir meistres lem ydoedd yn mhob man, yn ei hystafell wely, wrth ei bwrdd, yn ei thŷ, yn ei cherbyd, yn neuaddau ei Levees, ar orsedd y Senedd, ac fel pen ei heglwys; ac yn enwedig ar ei chadair uchel farnol yn Chwil-lys gormesol y Star-Chamber. Ni feiddiai ei chynghorwyr uchaf ddweyd dim yn ei herbyn pan ar ei chadair yn neuadd ei chyfrin-gyngor. Ni feiddiai neb o'r barnwyr hynaf groesi ei chyngor, na newid ei dedfryd yn Llŷs y Star-Chamber. Ni feiddiai y Senedd droi dim ar ei ffordd, na chroesi ei chynllun o ddwyn yn mlaen unrhyw gangen o'i llywodraeth; ac ni feiddiai yr esgobion anufuddhau yr un o'i heirchion fel "Pen yr Eglwys." Yr oedd hi yn benderfynol i fynu bod yn feistres ac yn ben yn mhob cylch drwy'r holl deyrnas. Cyhoeddai unwaith oddiar ei gorsedd, yn ei haraeth wrth ollwng y Senedd, fod Duw wedi ei gwneud hi yn "OVER-RULER" yr eglwys; ac na esgusodid ei hesgeulusdra os goddefai unrhyw *sism*, na *heresi;* a chan droi at yr esgobion ychwanegai, y gallai "faults and negligences" dyfu i fynu yn yr eglwys, fel yn mhob cylch arall, "*all which*, if you, my lords of the clergy do not amend, *I mean to depose you*." Dyna i'r "Lord Bishops" rybudd digon teg o enau eu mistres. Mynych y bygythiai ddiosg eu *gownau* oddiam y prif-esgobion, os na fyddent yn gwbl blygedig i'w hewyllys. Dysgyblodd yr Esgob Cox unwaith yn y geiriau canlynol: "Esgob balch, yr wyf yn sicrhau i chwi y gallaf fi yr hon a'ch gwnaeth, eich dadwneud; a byddaf yn sicr o dynu eich *frock*, os na wnewch fel yr wyf yn peri i chwi." Triniodd yr Archesgob Whitgift unwaith yn llym iawn am ei fod wedi bod yn rhy esmwyth un tro

wrth rai o'r Puritaniaid. Nid oedd y pechod o fod yn rhy esmwyth wrth anghydffurfwyr ddim yn un o'r profedigaethau mwyaf parod i amgylchu yr Archesgob rhwysgfawr Whitgift. Buasai unwaith yn cymeryd ei Esgobaeth oddiar Landys oni buasai iddo blygu yn y dull gŵyleiddiaf i wenieithio ac ymostwng iddi, ac erfyn ei maddeuant, ac addunedu diwygio. Archodd i'r Archesgob Grindal unwaith alw yn nghyd holl offeiriaid ei Archesgobaeth er iddo gael cyfle i roddi rhybudd, neu *charge* difrifol iddynt i beidio ymyryd â materion gwladol; ac yn bendifaddeu, i beidio ymyryd dim ar un cyfrif â'r pwnc pwysfawr o garwriaeth y frenines. Yr oedd carwriaeth yn cael ei dwyn yn mlaen y pryd hyny rhwng ei mawrhydi ag un o dywysogion *Pabaidd* Ffrainc. Di-swyddodd yr hen Esgob Fletcher, am i'r hen wr briodi yn groes i'w hewyllys hi. Yr oedd hi bron mor dŷn yn erbyn i wŷr eglwysig gael gwragedd ag ydoedd ei hewythr anffaeledig o Rufain. Ac os oedd gwraig newydd yr hen Esgob Fletcher yn ddynes brydferth a dawnus, yr oedd hyny yn ddigon i gynhyrfu cenfigen Elizabeth tu ag ati, am ei bod wedi llwyddo i gael esgob yn wr. Di-swyddodd yr hen Archesgob Grindal, yr hwn a berchid yn fawr gan ei offeiriaid, am ei fod yn cefnogi gormod o bregethu yn ei Archesgobaeth. Rhoddodd bregeth fawr, drom, sobr, unwaith i Lefarydd y Senedd, am iddo beidio goddef byth, ar unrhyw gyfrif, i gynrychiolwyr y bobl gyffwrdd a materion eglwysig o unrhyw natur, am fod y gofalon hyny wedi cael eu hymddiried gan Dduw iddi hi fel Pen yr Eglwys. Pan y gwnaed cynygiad yn y Senedd i ysgafnhau rhai o'r dioddefiadau oedd yn gwasgu mor greulawn ar y Puritaniaid, rhoddodd gerydd arswydus i'r Senedd am feiddio ymyryd â'r fath "*State Matters*," a'r fath "*Causes Ecclesiastical*;" a chadwyd awdwr y cynygiad yn y carchar am ddwy flynedd o blegyd ei ryfyg. Bu yn stormio ac yn melltenu yn ddychrynllyd pan oedd yr hen Seneddwr Puritanaidd Peter Wentworth, a dau neu dri o'i gyfeillion, yn cwyno yn erbyn traws-arglwyddiaeth y frenines a'i hesgobion, a chreulonderau Rhufeinig Llys Spaenaidd y Star-Chamber.

Distawyd Wentworth ar ganol un o'i areithiau yn y Senedd, a bwriwyd ef i garchar ; ond ar ol mis o gaethiwed, cafodd gymeryd ei le eilwaith yn y Senedd ; ond gyda chyngor difrifol o'r gadair am iddo beidio ymyryd byth mwy â phen-arglwyddiaeth ei huchelder y frenines: ond nid oedd Wentworth a'i gydddiwygwyr mor hawdd i'w dystewi felly. Yr oeddynt yn ormod o ddyngarwyr ac o wladgarwyr i fygu argyhoeddiadau eu calonau ar archiad eu gormeswyr : a magasant o radd i radd yspryd yn y Senedd a fynodd roddi bach yn ffroen, a ffrwyn yn ngweflau bwystfil ysglyfaethus y "Divine Right" cyn marw Elizabeth ei hun ; a thorasant gilddanedd y bwystfil yn amser ei holynwyr y Stuartiaid. Fel prawf pellach o dymer uchel Elizabeth, fel Pen-Arglwyddes, gellid crybwyll ddarfod i gyfreithiwr cyfrifol o'r enw Stubbs ysgrifenu Traethodyn ar y perygl a ddeilliai i Loegr os priodai y frenines un o dywysogion Pabaidd Ffrainc, ac awgrymodd ei fod yn gobeithio y byddai i'r Arglwydd "wahardd y gostegion." Pan glybu Elizabeth am y Traethawd, aeth yn gynddeiriog ; ac arweiniwyd yr Awdwr a'r Cyhoeddwr i'r dienyddle cyhoeddus, a thorwyd ymaith law ddehau pob un o'r ddau ; a chadwyd y ddau yn hir yn y carchar, er yr ardystiadau cryfaf o'r eiddynt hwy a'u cyfeillion o'u ffyddlondeb diysgog i Goron Lloegr. Pan y torwyd llaw dde awdwr y Traethawd, tynodd ei het a'i law aswy, a gwaeddodd "Hir oes i'r Frenines." Edrychodd y llall i lawr ar ei law doredig ar y blocyn,—a dywedodd "Dyna law dyn cywir i'w wlad." Nid rhyfedd fod Protestaniaid Lloegr mewn dychryn pan yr oedd cynllun ar droed am briodi Elizabeth â mab Catherine De Medici a brawd Charles y Nawfed o Ffrainc ; a hyny pan oeddynt newydd frâd-lofruddio deng mil a'r hugain o'u deiliaid Protestanaidd ar Wyl Sant Bartholomew, yn y flwyddyn 1572. Ie, mistres ofnadwy oedd Elizabeth. Yr oedd yn berygl bywyd i neb gyffwrdd a honiadau ei phenarglwyddiaeth. Yr oedd ei chariad, Lord Essex, o radd i radd wedi myned yn hŷf arni. Byddai weithiau yn beiddio ei gwrthddywedyd ; a byddai nwydau a geiriau uchel

hyngddynt. Un tro pan yr oedd Essex wedi taflu cryn ddirnyg i'w gwyneb, anrhegodd ef a'r peth a elwir "*bonclust*," ies oedd yn pendroi: ond profodd eu hyfdra ar eu gilydd yn hwerw i'r ddau. Ar ol iddi ei drin yn llym un tro, trodd ef llan o'r Llŷs mewn awydau drwg a dialgar, a daliodd ef yn ynllunio bradwriaeth a gwrthryfel yn ei herbyn. Cafodd ei rofi yn euog, a'i ddedfrydu i golli ei ben. Yr oedd yn anawdd iawn gan Elizabeth selio *gwarant angau* ei hen gariad. Yr oedd hi rŷw dro cyn hyny, fel arwydd o'i serch ato, wedi hoddi iddo fodrwy gydag ymrwymiad y byddai iddi estyn mwared iddo, beth bynag fyddai ei gyfyngder, ond iddo esyn, neu anfon iddi y fodrwy gyfammod hono, fel arwydd ei fod n ymbil am ei nodded a'i ffafr. Bu yn disgwyl yn hir iddo nfon y fodrwy i ymbil am bardwn; ond nid oedd na modrwy, a deisyfiad o un math yn dyfod: ac felly wrth gasglu ei fod n ystyfnigo yn ei ddrwg, seliodd ei gondemniad, a thorwyd ei en: ond rhoddodd yr ergyd hwnw i fywyd Essex, ergyd narwol ar yr un pryd i gysur Elizabeth: a phan ddeallodd newn rhyw amser ar ol hyny, fod Essex druan yn ei gyfyngder wedi anfon y fodrwy i ymbil am ei fywyd, ond fod yr hen Countess of Nottingham wedi cadw y fodrwy, rhuthrodd Elizabeth i wddf yr hen Countess, pan oedd ar ei gwely angau, ac a'i hysgytiodd yn arswydus; ac ymollyngodd ar ol hyny i bruddglwyf anwelladwy, a suddodd ddyfnach, ddyfnach, yn ei phrudd-der hyd ddydd ei marwolaeth. Gallasai Elizabeth fod yn llawer llai ei rhodres a'i llymder fel meistres, heb fod yn llai ei dylanwad fel brenines, nac yn llai ei hanrhydedd yn mysg ei deiliaid, nac yn llai ei chysur erbyn amser cystudd ac awr marwolaeth.

7. Bu llawer iawn o gam-lywodraeth ac o wrthryfel yn yr Iwerddon drwy y blynyddoedd diweddaf o'i theyrnasiad. A dylid cofio mai y "*Grefydd Sefydledig*" oedd yr achos o'r holl derfysgoedd yno y pryd hyny, fel mewn oesoedd ar ol hyny. Yr oedd Elizabeth yn dŷn iawn am wthio ei heglwys ei hun i bob man yno; ond yr oedd y rhan fwyaf o'i deiliaid

Gwyddelaidd am lynu er pob peth wrth eglwys y Pab; a chan fod yr eglwys leiaf, sef eglwys y frenines, yn cael y ffafrau breninol, a gwynebau gwŷr y Llys, a llawer mwy na'i rhan o'r cyllidau gwladol, yr oedd disgyblion y Pab yn ystyried hyny yn annheg; ac felly yr oeddynt yn tramgwyddo, ac yn codi terfysg; a bu Lloegr yn ymyl yn colli yr Iwerddon y pryd hyny. Bu Hugh O'Neill, Iarll Tyrone, blaenor y gwrthryfel, yn llywodraethu fel brenin yno am gryn dro, a phe buasai Spaen yn anfon cymorth bychan iddo pan anfonodd i erfyn am hyny, buasid yn tori ar unwaith y berthynas rhwng Iwerddon a choron Lloegr. Ond yn nyddiau olaf Elizabeth, llwyddodd ei byddinoedd i ddarostwng y gwrthryfel, ac i blygu yr Ynys Werdd eilwaith dan awdurdod Lloegr. Bu yno un Rhaglaw, sef Syr John Perrott, ag oedd am gael tawelu a threfnu a chyfoethogi y wlad ffrwythlawn hono trwy sefydlu cyfreithiau teg yno; cyfreithiau gwastad i'r deiliaid oll, o bob sect ac eglwys, fel eu gilydd; a thrwy ddefnyddio y cyllidau yn deg at wellianau gwladol; ond yr oedd llywodraeth Elizabeth yn erbyn lledaeniad gwybodaeth yno, ac yn erbyn cefnogi gwelliantau a diwygiadau gwladol yno, gan farnu y byddai anwybodaeth, a thlodi, a chynen, ac ymbiliaeth yn mysg y deiliaid yn gymorth i'w cadw i lawr, ac felly yn fuddiol er eu llywodraethu.

8. Bu gan Fôr-ladron hyfion *trwyddedig* Lloegr law drom, drom, yn nygiad yn mlaen y GAETHFASNACH yn nyddiau Elizabeth. Yr oedd llongau yn cael hwylio allan *dan drwydded y frenines.* Nid yn unig i anrheithio sefydliadau Spaen yn y West Indies, ac i chwilio am leoedd i wthio eu pigau i mewn yn yr East Indies, ond yr oeddynt hefyd yn hwylio, dan ei harfau, i ororau Affrica i ddwyn y Negroaid o'u gwlad drwy drais rhyfel, i'w gwerthu i gaethiwed. Gwnaeth Lloegr y pryd hyny ei llawn ran i ledaenu y fasnach felldithiol hono dros wyneb y ddaear. Ond diameu fod hyny yn rhan, ond yn rhan ddu, o "divine right" Elizabeth, i wneud pob peth ar dir a môr yn ol pen-arglwyddiaeth ei hewyllys. Cynllunydd y

Fasnach, a Llywydd cyntaf y Llynges i Affrica i ladrata y negroaid i'w cludo dros foroedd i'w gwerthu i gaethiwed Spaenaidd yn y West Indies, oedd yr anfarwol Syr John Hawkins, o goffa melldigedig. Bu y cynllun yn un llwyddiannus ac enillfawr; ac nid rhyfedd, oblegyd yr oedd sêl y freniues wrtho, a rhoddwyd cymorth o'r Trysorlys i'w ddwyn yn mlaen; a chafodd y lleidr llofruddiog Syr John Hawkins yr anrhydedd, ar ol hyny, o gael ei benodi yn drysorydd y Llynges freninol, a'i ddyrchafu i fod yn un o brif *Admirals* Lloegr.

9. Go greulawn yr ymddygodd Elizabeth tu ag at ei chares Mari Stuart, brenines Scotland. Yr oedd Mari yn ddynes nodedig o ran ei phrydferthwch a'i doniau. Cafodd ei dwyn i fynu yn ysgolion manylaf y grefydd Babaidd yn Ffrainc. Priododd etifedd Coron Ffrainc; ond bu ei gwr farw yn mhen ychydig fisoedd ar ol esgyn i'r orsedd. Dychwelodd hithau yn weddw ieuanc, led wamal, i'w breniniaeth yn Scotland; ond bu yn annoeth yn ei charwriaethau, ac aeth yn anmhoblog iawn yn mysg llaweroedd o'i deiliaid. Cododd gwrthryfel yn i'w herbyn. Gorchfygwyd ei byddinoedd. Cymerwyd hithau i garchar; ond diangodd i Loegr i geisio nawdd ei chares Elizabeth. Diangodd o gyraedd un gelyn i afael gelyn creulonach. Cadwodd Elizabeth hi yn gaeth mewn carchar am ddeunaw mlynedd. Heblaw cenfigenu wrth ei harddwch a'i doniau, yr oedd yn creuloni i'w herbyn, am fod y Pabyddion drwy Loegr a manau eraill yn ystyried Mari fel union etifeddes Coron Lloegr, oblegyd fod y Senedd wedi cyhoeddi Elizabeth yn blentyn anghyfreithlawn. Yr oedd rhai o'r Pabyddion poethaf yn cynllwyn yn lled fynych am gyfle i ddiorseddu Elizabeth, a chodi Mari i'r orsedd yn ei lle. Cafwyd boneddwr o'r enw Babington yn euog o frâd-fwriad yn erbyn Elizabeth; ac er na wyddai Mari ddim am y brâd hwnw, cymerodd Elizabeth a'i chyngorwyr achlysur oddiwrtho i'w dwyn i brawf, ac i dori ei phen, er ei chael o'r ffordd. Bu Elizabeth y pryd hyny yn ceisio taenu y gair mai drwy gamgymeriad un o'i hysgrifenyddion y cafodd Mari ei dienyddio; ond nid oedd hyny ddim

ond twyll a dichell, ag oedd yn gosod lliw duach fyth ar yr annhegwch a'r creulondeb. Mari oedd etifeddes Elizabeth; a mab i Mari ddilynodd Elizabeth ar orsedd Lloegr; ac unwyd Scotland at Loegr y pryd hyny dan yr un freniniaeth.

10. Ymddygodd Elizabeth yn yr yspryd creulonaf tu ag at y PURITANIAID ag oeddynt yn methu cydffurfio â defodau rhwysgfawr ei heglwys. Gallaf faddeu iddi ei balchder o'i frils a'i flounces, a'i flowers, a godre llaes ei gwisg sidan, ac o'i modrwyau, a'i breichledau, a'i thlysau, a'i rhidens pan yn nghanol arglwyddi ei llys, ac esgobion ei heglwys, ar ddydd yr uchelwyl. Gallaf faddeu iddi ei balchder o'i Lladin pan yn anerch Doctoriaid Colegau Caergrawnt yn amser rhwysg eu harddangosiad breninol. Gallaf faddeu iddi ei balchder o drwsiad ei march, ac o addurn ei chyfrwy, a'i ffrwyn, a'i Riding-habit, pan yn marchogaeth yn nghanol ei generals i arolygu ei byddinoedd. Gallaf faddeu iddi ei bonclust i Iarll Essex am ei hyfdra a'i anfoneddigeiddrwydd. Gallaf faddeu iddi iasau ei dialgarwch pan yn llindagu yr hen Countess of Nottingham ar ei gwely, angau am gadw modrwy bywyd Iarll Essex. Gallaf faddeu iddi ei melancholy ar ol dienyddio ei hen gariad. Gallaf bron faddeu iddi ei chreulondeb tu ag at ei chares Mari Stuart; oblegyd y mae seiliau i gredu fod Mari a'i chyfeillion yn sychedig am ei choron, os nid am ei bywyd. Ond nid wyf am faddeu iddi ei chreulonderau barbaraidd tu ag at y *Puritaniaid*. Os bu yn y melancholy hyd awr ei marwolaeth am ddïenyddio ei hen gariad coegfalch, yr wyf yn ofni ei bod yn y *melancholy* ar ol ei marwolaeth am lofruddio y Puritaniaid. Nid oedd ganddi drwy ei holl eglwys yr un arglwydd-esgob o dduwinyddiaeth mor bur, o ymarweddiad, mor dduwiol, o lafur mor hunan-ymwadol, o sêl mor efengylaidd, o ddoniau mor adeiladol, ac o wladgarwch mor ddidwyll a dirodres ag oedd Penry, a Barrowe, a Greenwood, a Cartwright, a Field, a Wilcox, ac Udal, a chanoedd eraill o'r Puritaniaid allasid enwi; ond y mae y galon yn gwaedu wrth adgofio am eu dioddefiadau o achos eu hanghydffurfiaeth.

Un o'r rhai enwocaf o'r ffyddloniaid hyny oedd JOHN PENRY. Yr oedd Penry, fel y gŵyr pawb bron bellach, yn *Gymro* o Fryniau Brycheiniog, o ardal yr hen Williams, o Lanwrtyd. Bu yn astudio yn gyntaf yn Nghaergrawnt, ac wedi hyny yn Rhydychain. Wrth feddwl am y dygn anwybodaeth o drefn iechydwriaeth oedd yn gordoi hoff wlad ei enedigaeth, enynwyd ynddo awydd cryf i ddeisyfu am ganiatad i fyned i bregethu yr efengyl i'r *Cymry;* ac ysgrifenodd ddeisyfiad gostyngedig at ei mawrhydi y frenines ac uchel Lŷs y Senedd, am iddynt drefnu rhyw fesurau er cael pregethiad yr efengyl i'r Cymry. Yr oedd ei ddarluniad o sefyllfa ei wlad, er nad oedd ynddo ddim ond y gwirionedd, yn cyfeirio at anwybodaeth ac anffyddlondeb yr offeiriaid ; ac felly yn anfri ar awdurdodau yr eglwys ; ac oblegyd hyny tramgwyddwyd wrth ei ddeisyfiad, a chafodd ei ddal, a'i ddwyn dan holiad yr Archesgob, a'i daflu i garchar ; ond gan na fedrent, y pryd hyny, gael dim yn ei erbyn yn haeddu marwolaeth, gollyngwyd ef yn rhydd mewn gobaith o allu ei rwydo yn dynach ryw dro arall. Yr oedd yn bregethwr gwresog, efengylaidd a chymeradwy. Gwyddid fod ei elynion yn ei wylio, ac anogwyd ef i ffoi i Scotland. Bu yn ddefnyddiol yno am ychydig amser ; ond yr oedd ei serch at "wlad ei enedigaeth" mor gryf, fel y penderfynodd wneud *ail* gais at y frenines a'i llŷs am genad i fyned i bregethu i'r Cymry ; a daeth i Lundain i'r dyben hyny ; a bu yn pregethu am beth amser i gynulleidfa o anghydffurfwyr yn Southwark ; ond cafodd ei ddal yr ail waith. Ceisiwyd ei farnu yn euog drwy gynwysiad rhyw fân lyfrau a briodolid iddo ; ond methwyd ar y tir hwnw ; a mynwyd chwilio ei holl bapurau dirgelaf, ei fyfyrdodau am dano ei hun, a'i gyfeillion, a'i wlad ; a chafwyd yn eu mysg *frâs-linell anorphenedig* o'i ddeisyfiad at y frenines, ac yr oedd awgrymiadau ynddo fod y llywodraeth yn anffyddlon i'r efengyl. Yr oedd hyny yn ddigon gan yr Archesgob a'i gyd-farnwyr ; ac er fod yr ysgrif heb ei gorphen, ac heb ei chyhoeddi mewn un modd, penderfynwyd condemnio Penry. Yr oeddid yn sychedu er ys amser am ei waed. Ei

waed a fynid, a'i waed a fynwyd, yn y dull barbareiddiaf; drwy ei gipio yn ddirybudd oddiwrth ei fwrdd i gael ei grogi, cyn ei fod yn bymtheg ar hugain oed. Yr oedd ei lythyrau o'i garchar-gell, cyn ei ddïenyddio, at ei wraig ac at ei bedair merch fechan, yr hynaf yn bedair blwydd oed, a'r ieuangaf yn bedwar mis, yn ddigon i ddryllio y galon galetaf. Ysgrifenodd hefyd lythyr effeithiol at y Prif-weinidog i ardystio ac egluro ei ffyddlondeb i'r llywodraeth; a llythyr at yr eglwys yn Southwark, i'w hanog i lynu yn ffyddlawn wrth y gwirionedd, ac i'w cyngori i gilio o Loegr o gyrhaedd eu herlidwyr.

Un enwog iawn arall o'r Puritaniaid oedd *John Udal*,—yr hwn a ystyrid yn un o'r dynion mwyaf dysgedig yn ei oes.—Yr oedd yn weinidog ffyddlawn i Grist. Cafodd ei garcharu fwy nag unwaith, a chafodd yn y diwedd ei gondemnio i farw. Gwnaed egniadau gan rai o bendefigion uchaf y deyrnas i achub ei fywyd; oblegyd fod eu barn mor uchel am ei ddysg a'i dduwioldeb. Bu y Prif-weinidog ac Essex, cariad y Frenines; ac hyd yn nôd ei châr, brenin Scotland, yn dadlu ac yn ymbil am arbediad bywyd Udal. Yr oedd Cymdeithas o Farsiandwyr cyfrifol yn awyddus iawn i'w gymeryd ymaith o'r wlad i bregethu fel cenhadwr yn un o'u sefydliadau yn Syria; ac yr oedd yntau yn awyddus i fyned: a gallasai fod yn ddefnyddiol iawn i ddal i fyny lamp yr efengyl yn nghanol tiriogaethau y Mahometaniaid. Ond gwrthododd Elizabeth *waedlyd* bob deisyfiad ar ei ran, gan benderfynu yn nyfnderoedd culion ei chalon ddu fynu ei fywyd. Gorfu i'r marsiandwyr hwylio ymaith heb gymdeithas ei gariad a'i ddoniau. Effeithiodd hyny ar galon Udal; a bu farw yn ei garchar tywyll, oer, llaith, afiach, cyn dyfodiad y dydd i'w ddïenyddio.

Dau eraill o flaenoriaid ffyddlawn y Puritaniaid oeddynt *John Greenwood* a *Henry Barrowe*. Ar ol eu trin yn y modd mwyaf gwarthus ac anghyfiawn o flaen brawdle Llys uchel digyfraith y Star-Chamber, cawsant eu condemnio i farw; a chawsant eu llusgo at y dïenyddle, a'u cadw yn o hir dan y pren dioddef, a'r cortyn am eu gyddfau, yn nghanol torf fawr

o'u gelynion, a rhai o'u cyfeillion ; er ceisio siglo eu ffydd yn nhrefn yr efengyl : yna daeth *sham reprieve*, a chymerwyd hwy yn ol i'r carchar, er magu ynddynt obaith *gau* am bardwn y frenines ; ond yn fuan arweiniwyd hwy yr ail waith at y pren dioddef, nid i ddyfod yn ol mwy, ond i farw yno.

Duwinydd enwog arall oedd Thomas Cartwright, yr hwn a gyfrifir gan rai fel "*tad* Puritaniaeth." Yr oedd yn adnabyddus drwy Europe fel un o ddynion dysgedicaf ei oes. Bu yn Athraw Duwinyddol yn Athrofa Caergrawnt ; ac yr oedd ei ddarlithiau mor wreiddiol, mor nerthol, mor faethlawn, mor felus, ac mor gyfoethog, fel yr oedd holl ddynion ieuainc *meddylgar* y Brif-ysgol yn ymdyru i'w gwrando. Bu yn dadlu â'r Archesgob Whitgift am ddiwygiad yn yr eglwys. Yr oedd yn ymresymu am lai o rodres swyddol, ac am burach disgyblaeth. Yr oedd am fwy o efengylu, ac am lai o seremoniau. Yr oedd ei Draethodau yn erbyn y drefn rwysgfawr o lywodraethu eglwys Crist gan Lysoedd breninol, ac "Arglwyddi" ysprydol y Senedd, a Barnwyr trahaus Star-Chambers, yn achosi cryndod a chynddaredd yn mysg awdurdodau uchaf yr Eglwys. Yr oedd y frenines a'i chyngorwyr yn ofni ymddiddanion a phregethau y Puritaniaid, ond yr oeddynt yn ofni eu llyfrau yn fwy na'u pregethau. Dichon mai Cartwright oedd eu prif awdwr. Yr oedd y frenines yn gwybod am ei nerth fel ymresymydd, ac yr oedd wedi gosod ei bryd ar fynu ei symud o'r ffordd Anfonwyd gwarantau i'w erbyn drwy bob parth o'r wlad ; ond anogwyd ef i ddianc drosodd i'r cyfandir, o gyrhaedd y dymestl ddu gynhyrfus oedd yn crynhoi o'i ddeutu. Bu yn alltud o'i wlad hoff am un mlynedd ar ddeg. Yr oedd yn cael y parch uchaf gan Bezra a Junius a duwinyddion enwocaf y Cyfandir, ac yr oedd hefyd yn cael drysau agored i bregethu yr efengyl ; ond yr oedd yn hiraethlawn o hyd am wlad ei enedigaeth. Pallodd ei iechyd o radd i radd, a chyngorwyd ef gan ei feddygon i ddychwelyd yn ol i awyr a hinsawdd a golygfeydd gwlad borę ei ddyddiau. Ysgrifenodd yntau lythyrau at amryw o Arglwyddi Llŷs Lloegr i hysbysu ei fod am ddychwelyd

i'w wlad, er mwyn ei iechyd, ac i ymbil am eu nodded ; ond gydag iddo gyrhaedd tir Lloegr yn llesg ac egwan, taflwyd ef i garchar gan y Protestant Pabyddol Aylmer, Esgob Llundain. Yr oedd y prif arglwyddi tymhorol am ei noddi oblegyd ei foneddigeiddrwydd, a'i ddoniau, a'i uchel ddysgeidiaeth ; ond yr oedd yr arglwyddi ysprydol am ei ladd oblegyd purdeb ei grefydd ; a threuliodd weddill ei oes weithiau yn y carchar, oblegyd cenfigen a llid yr esgobion ; ac weithiau mewn rhyddid drwy ffafr a dylanwad rhai o'r arglwyddi tymorol. Nid allodd gael cenad i bregethu yn un man o fewn cylch awdurdod yr esgobion, ond bu yn gweinidogaethu mewn manau lle nad oedd eu hawdurdod yn cyrhaedd. Y Sabboth cyn ei farwolaeth, pregethodd oddiwrth y geiriau, "Yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu, ac y dychwel yr yspryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef," bregeth hynod o effeithiol ; yr hon a ddarluniwyd wedi hyny fel ei "bregeth angladd" ei hun. Bu farw yn sydyn. Treuliodd y ddwy awr cyn ei farw mewn gweddi, a dywedodd wrth ei wraig fod ei Dduw wedi rhoddi iddo gip olwg ar drigfanau y nefoedd, a'i fod wedi mwynhau dedwyddwch anrhaethadwy a gogoneddus.

Dyoddefodd Field, a Wilcox, a Brown, a Wiggington, ac ugeiniau eraill y carchariadau creulonaf ; a chafodd yr hen Esgob Coverdale, a Dr. Sampson, a Dr. Turner, a Dr Browning, a Dr. Humphrey, a Deering a Bale eu diraddio a'u drygu yn mhob ffordd, a hyny yn unig o herwydd eu ffyddlondeb i'r gwirionedd, eu cariad at symledd ordinhadau yr efengyl, a'u protestiad cyson yn erbyn Pabyddiaeth creulawn eglwys rwysgfawr Elizabeth.

Pallai amser i ni liosogi engreifftiau o'i chreulondeb ; ond crybwyllwn rai o'r gwersi egluraf a ddysgir i ni oddiwrth ei hymddygiadau gorthrymus tuag at y Puritaniaid.

1. Mai dyfais ofnadwy er drygu y byd oedd hen ddyfais ddofn "CREFYDDAU SEFYDLEDIG :" y ddyfais o geisio sefydlu unffurfiaeth crefyddol mewn gwlad drwy hudoliaethau ei thrysorlys a grym cleddyf ei Llywodraeth. Dyfais ydyw ag sydd

wedi bod drwy'r oesau yn dyrysu llywodraethau, yn gwenwyno ffynonau ei dylanwad, ac yn gwneyd ei gweinyddiadau yn unochrog a llofruddiog. Dyfais ydyw ag sydd wedi bod yn hir nychu, a llygru, a llyfetheirio sefydliadau addysg ac ordirhadau duwioldeb. Dyfais ydoedd i dwyllo ac i demtio Cristionogion i geisio dwyn yn mlaen eu milwriaeth ysprydol drwy nerth arfau cnawdol, a grym deniadau daearol, yn lle cymeryd atynt holl arfogaeth y nefoedd, a sefyll yn ddiysgog ar y maes yn yspryd ac yn nerth eu Capten. Dyfais ydyw ag sydd wedi rhoddi arfau daufiniog yn nwylaw anffyddiaeth a choelgrefydd i ymladd yn erbyn dylanwad y gwirionedd, a llwyddiant teyrnasiad y Gwaredwr. Dyfais ydyw ag sydd wedi bod yn noddfa gyfleus ac uchel i anwybodaeth, ac i bob math o dwyll a rhagrith. Dyfais ydyw ag sydd wedi bod yn fagwrfa i anffaeledigaeth a hunan-gyfiawnder pob math o phariseaeth. Dyfais ydyw ag sydd wedi bod yn magu bydolrwydd u chribddeiliaeth, ac yn porthi yspryd sectyddiaeth ac angharedig drwy holl gylchoedd cymdeithas. Dyfais ydyw ag sydd wedi bod yn cynddeiriogi ysprydion erledigaeth, ac yn enyn fflamau merthyrdod drwy holl wledydd y ddaear. Bu yn gweithio yn *Harriaidd* ofnadwy yn amser Harri yr Wythfed, yn ymchwyddo ac ymwylltio i anrheithio a llofruddio ar bob llaw, weithiau ar y dde, ac weithiau ar yr aswy, y Pabydd a'r Protestant, a'r Puritan, yn ddiwahaniaeth. Bu yn gweithio yn wanach yn amser Edward y Chweched, drwy fod ei phrifweinidogion yn anmhenderfynol pa un ai hen arfau Rhufain, ai arfau newyddion Harri oeddynt y rhai hawddaf eu gwisgo, a'r rhai goreu i'w defnyddio. Deffrodd o'i syrthni a'i hanwadalwch yn amser Mary, mor sychedig am waed ag erioed. Coronodd ei morwyn fawr erlidgar Mary ag urddas anfarwol. Gwisgodd ei gweision esgobol yn ei hen arfau o Rufain, a *Bonnerodd* drwy bob peth ei ffordd yn mlaen i gadw ei "right" apostolaidd i losgi hereticiaid. Ar ol pylu awch ei hen arfau drwy eu gorboethi yn fflamau maesygofaint, trodd galon Elizabeth at arfau llymion Harri dew ei thad, ac anadlodd ei hys-

af a thynaf i galonau Elizabeth a'i hesgobion; a
lrwyddynt yn hollol ellyllaidd tuag at y Puritan-
lyn ymgynddeiriogodd lawer tro wedi hyny yn am-
y ddau James a'r ddau Charles; ond yr oedd yn rhy wall-
ar brydiau i ymladd yn gyfrwys a llwyddianus. Byddai
olli y frwydr yn lled fynych, a buasai yn colli mwy, ac yn
yn amlach, pe buasai y diwygwyr yn peidio ymollwng i'w
r hi, ac i'w hyspryd hi, i wisgo arfau ei milwriaeth hi, yn
aros ar dir eu Tywysog, a chadw at arfau y nefoedd. Ie,
y ddyfais benaf erioed, y ddyfnaf a'r uchaf, yr hwyaf a'r letaf,
o eiddo hen Gyngor Llŷs y Fagddu i lyfetheirio, ac anurddo, a
nychu eglwys Crist oedd ei thywŷs yn ei sandalau arian i'r pal-
asau breninol, ei difyru a rhodres, ei bwydo a moethau, a'i
chodi i'r orsedd mewn gwisgoedd ymerodrol, a rhoddi cleddyf
Cæsar yn ei llaw, yn lle cleddyf yr Yspryd; a'i dysgu i rodio
yn benuchel, a rhygyngu wrth gerdded, a llefaru mawrhydri,
ac ymhyfrydu mewn trais a chelanedd.

2. Nad all erledigaethau ddim lladd y gwirionedd, na lladd cyfeiliornad ychwaith. Defnyddiwyd yn amser Elizabeth yr awdurdod uchaf, a'r gallu cryfaf, a'r cyfrwysdra mwyaf a feddai y ddaear i geisio lladd Puritaniaeth; ond methwyd er yr holl astudio a'r holl gynllwyn, methwyd er yr holl gydymgyngori a'r holl gydymdrechu. Tyngodd y Frenines Fawr Feistrolaidd Elizabeth iddi ei hun yn gyntaf, ac wedi hyny i'w chariadon, ac i'w hesgobion, ac i'w gweinidogion, ac i'w barnwyr, ac i'w chapteniaid, ac i genadon llysoedd tramor; a seliodd ei llŵ yn y modd mwyaf dirgel, a'r modd mwyaf cyhoeddus, y MYNAI *unffurfiaeth* yn ei heglwys, ac y *mynai* ddiwreiddio Puritaniaeth allan o holl derfynau ei theyrnas; ond methodd gadw ei llŵ, a chyflawni ei bwriad, er tyned ei hyspryd, er uched ei hawdurdod, ac er amled ei chynorthwywyr. Yr oedd ganddi archesgobion enwog i'w chynorthwyo: Matthew Parker, yr hwn oedd yn uchel-eglwyswr tyn o'r ysgol fanylaf; y bonedd-igeiddiach Archesgob Grindal; y cyfrwysgall Archesgob Sandys; a'r rhwysgfawr Archesgob Whitgift, yr hwn oedd

yn cadw cant a haner o weision lifrau, dan eu harfau, i'w ddilyn ar ei deithiau archesgobawl, ond er holl gynorthwy ei harch-esgobion methodd ladd Puritaniaeth. Yr oedd ganddi weinidogion o'r cyfrwysdra dyfnaf i'w chynorthwyo, ei chariad ystwyth, hoyw, corphol, Syr Christopher Hatton, y dawnsiwr godidocaf yn ei oes, yr hwn o herwydd llunieidd-dra ei gorff, a etholwyd i'w chyngor, ac a godwyd i fod yn Lord High Chancellor of England, a Syr Francis Walsingham, yr hwn oedd yn cadw ugeiniau, os nid canoedd, o yspiwyr, drwy bob parth o'r deyrnas, ac mewn gwledydd tramor hefyd, er dwyn yn mlaen ei gynlluniau, a'r cyfrwysgall a gwybodus Syr Nicholas Bacon, a'r pwyllog a hirben Lord Burleigh, a'r pendefigaidd Iarll Leicester, a'r enwog Iarll Essex, a'r rhai hyn oll, er yn dirionach na'r esgobion, am weithio o blaid y frenines ac unffurfiaeth ei heglwys; ond er y cyfan methodd yn ei hamcan i ladd anghydffurfiaeth. Yr oedd ganddi lysoedd gwladol ac eglwysig, a llysoedd cymysg, o ran yn wladol, ac o ran yn eglwysig, ac yn enwedig llŷs barbaraidd y Star Chamber, yr hwn oedd mor ddigyfraith a digydwybod a'r un llŷs fu erioed yn Spaen na Rhufain, ac oll yn selog am ei chynorthwyo, ond er hyny methodd yn ei hamcan i ladd Puritaniaeth. Yr oedd holl lywodraethau y cyfandir yn cefnogi ei hegniadau i ladd Puritaniaeth; ond er pob cymorth, cartrefol a thramor, methodd yn ei hamcan. Ac yr oedd ei uchel fawrhydi tywysog llywodraeth yr awyr, a holl îs-dywysogaethau ei ymerodraeth ddu, wedi unfrydol ymgyngreirio i'w chynorthwyo i geisio lladd Puritaniaeth, ond er y cyfan oll methodd yn ei hamcan. Methodd nerthoedd y ddaear, a methodd pyrth uffern. Yr oedd Puritaniaeth yn cryfhau dan ei dwylaw drwy y wlad ac yn y Senedd, a hyd yn nod yn y llŷs ac yn yr eglwys; yr oedd, fel pren cyfiawnder, yn estyn ac yn dyfnhau ei wreiddiau er gwaethaf y stormydd; a pharhaodd i dyfu ac estyn ei geinciau dros y gwledydd; ac y mae credinwyr pob oes ar ol hyny wedi bod yn gorphwys dan ei gysgod, ac yn gwledda ar ei ffrwythau.

3. Fod erlidiau wedi cael eu goruwchreoli gan Ragluniaeth i fod yn foddion, neu yn achlysuron, i awchlymu galluoedd, i loywi grasau, i goethi syniadau, ac i buro calonau a chydwybodau y crefyddwyr goreu a goleuaf. Y gwir yw, yr oedd diwygwyr mwyaf Puritanaidd amser Elizabeth, a llawer oes ar ol hyny, yn araf iawn i ddysgu, ac arddel, a dilyn egwyddorion gwerthfawr rhyddid cydwybod. Nid oedd dim un o honynt yn ymroi i geisio dad-ddyrysu yr eglwys oddiwrth y Llywodraeth. Eu hawydd oedd cael mwy o symledd ac o burdeb yn yr eglwys sefydledig. Nid oeddynt byth yn dadlu am goel crefydd yn gwbl rydd o gadwynau y llŷs. Yr oeddynt am gael cymorth y cleddyf gwladol i amddiffyn athrawiaethau yr efengyl, ac i blygu anffyddwyr ac esgeuluswyr dan iau esmwyth Cristionogaeth. Yr oeddynt yn ofni na fedrai crefydd ddim cadw tŷ, na magu plant, na chael bwyd, a dillad, a dysg, i'w theulu heb gael cymorth o'r trysorlys. Yr oeddynt yn ofni ymddiried crefydd i bwyso ar ei dylanwad ei hun. Yr oeddynt yn ofni ei gollwng yn rhydd i weithio ei ffordd yn mlaen yn ei gwisg ei hun. Yr oeddynt yn ofni ei gweled yn cychwyn i faes y frwydr yn ei harfogaeth ei hun. Yr oeddynt am gael holl awdurdod a holl nerth y Llywodraeth i'w "sefydlu." Ond wrth weled eglwysi "sefydledig" pob oes, a phob gwlad, a phob cenedl, eglwys y patriarch o'r dwyrain, ac eglwys y Pab o'r gorllewin, eglwys Harri ac eglwys Mary, eglwys Elizabeth, ac eglwys James. eglwys Charles, ïe, ac eglwys Cromwell hefyd, eglwys Cranmer ac eglwys Gardiner, eglwys Knox ac eglwys Luther, eglwys John Calvin, ac eglwys John Winthrop hefyd, i gyd oll yn erlid, yn ol eu hoed, ac yn ol eu nerth, pan wedi cael benthyg y cleddyf, dysgodd y diwygwyr o radd i radd, o fodfedd i fodfedd, o linell i linell, o iod i iod, nad oes ar yr efengyl eisiau dim o'r fath "sefydliad gwladol," nad oes arni eisiau dim ond maes rhydd, a chwareu teg i ymwneud â'r meddwl, ac i ddylanwadu ar y galon; a bod pob cydwybod i gael perffaith ryddid yn ei hymchwiliadau am y gwirionedd, ac yn ei chyffes o'i ffydd, ac yn ei dull o addoli.

4. Fod erledigaethau Eglwys Loegr, yn amser Elizabeth a'i holynwyr, wedi profi yn enill i America. Yr oedd yn anwyl iawn gan yr hen Buritaniaid am wlad eu genedigaeth, am ei hawyr a'i golygfeydd, a'i hiaith a'i haelwydydd; ond yr oedd eu gorthrymderau weithiau mor drymion, nes oeddynt yn anturio dianc, drwy fyrdd o beryglon, i fyw yn ddieithriaid ac yn alltudion mewn gwledydd estronol. Y mae yn anrhydedd oesol i America allu cofio a choffa, a dylai gadw mewn bythol goffadwriaeth, mai disgyblion John Penry, yr "addfwyn Gymro," ac eraill o'i gyd-athrawon—ar ol bod am ychydig ar ffo yn Holland—oeddynt y "TADAU PERERINOL," teulu enwog y "*Mayflower*," a ddaethant tros y môr yn niwedd y flwyddyn 1620 i osod i lawr sylfaen Talaethau cyfoethog New England. Erledigaeth yn Lloegr orfododd y Cymro rhyddfrydig Roger Williams i ddyfod drosodd i America yn y flwyddyn 1631. Ar ol ei ddyfodiad, bu yn ddefnyddiol am beth amser, fel un o weinidogion Salem, Massachusetts; ond cafodd ei erlid oddiyno gan ei gyd-buritaniaid, a hyny yn unig am ei fod yn deall pwnc mawr rhyddid cydwybod yn well ac yn llawnach na hwy. Ar ol gorfod encilio oddiyno, sylfaenodd Dalaeth Rhode Island, lle y sefydlodd berffaith ryddid i bob dyn gael addoli Duw yn ol argyhoeddiad ei gydwybod. Pan oedd yn Llywydd ei Dalaeth, nid oedd yn honi dim mwy o awdurdod mewn pethau crefyddol na'r iselaf o'r deiliaid. Yr oedd yn dangnefeddwr enwog, yn caru heddwch, ac ymddygodd yn hynod o foneddigaidd tuag at yr Indiaid, gan lafurio yn ddyfal er eu lles, yr hyn nad ellir ddweyd am bawb o'r Puritaniaid. Yr oedd yn bregethwr gwresog o nerth mawr. Bu yn gweinidogaethu y rhan olaf o'i fywyd gyda'r Bedyddwyr. Bu farw yn llawn o ddyddiau, yn bedair a phedwar ugain oed. Gwasgwyd miloedd wedi hyny gan orthrymderau gwladol a chrefyddol Prydain Fawr i ymfudo i America, ac ni byddai yn niwed i Americaniaid yr oes bresenol, yn nghanol eu rhagorfreintiau, i feddwl mwy am hanes gwasgfeuon eu hynafiaid. Y mae yn werth ei gofio fod Cromwell, a Hampden, a Pym, a Hazel-

rig, ac eraill o brif ddynion y chwyldroad yn Lloegr, ar ol glân flino ar orthrwm llygredigaethau gwarthus llŷs Charles y Cyntaf, wedi trefnu i ymfudo i America, ac wedi pacio at y daith, a chymeryd llong ; ond mynodd Charles selio deddf i atal eu hymfudiad. Buasai yn well ar les ei ben ef iddo adael iddynt fyned. Buasai Cromwell, pe buasai yn ymsefydlu yn America, yn gwneud llawer o dda, neu lawer o ddrwg, mewn gwlad newydd. Yr oedd yn ddyn cyfrwys, gwronaidd, penderfynol fel swyddog milwraidd, ac fel blaenor chwyldroad, yn nghanol y terfysgoedd mwyaf cynhyrfus ; ond yr oedd yn coleddu meddwl mawr am dano ei hun, ac yr oedd yn ddyn pur ystyfnig, a go waedlyd. Yr oedd George Washington yn decach a boneddigeiddiach dyn, ac yn flaenor mwy hynaws a hunanymwadol nag oedd Oliver Cromwell, ac y mae ei enw yn haeddol o bereiddiach coffadwriaeth.

Alltudiodd Lloegr yn yr hen amserau lawer o ddrwgweithredwyr anwybodus a digydwybod i lygru, a therfysgu, a thlodi ei thalaethau tramor. Trwyddedodd hefyd lawer o fordeithwyr a marsiandwyr cyfrwys-ddrwg a lladronig i wibio i bob parth o'r byd er enill iddi sefydliadau tramor : a diamheu hefyd i laweroedd o segurwyr afradlon ddyfod trosodd o bryd i bryd o Europe i America ; a diamheu hefyd fod siampl y cyfryw yn niweidiol pa le bynag y sefydlent : ond am yr hen Buritaniaid a wasgwyd o'u gwlad gan erledigaeth i ddyfod drosodd er mwyn eu rhyddid a'u crefydd (er fod gwendidau yn perthynu iddynt fel i bawb o hil Adda) eto dynion o wybodaeth a rhinwedd oeddynt, dynion pwyllog a myfyrgar, dynion diwyd a llafurus, dynion hoffus o drefn, a rhyddid, a thangnefedd ; ac yr oedd eu bywyd, fel gwladwyr ac fel crefyddwyr, bob amser yn elw i'r dalaeth fyddai'n cael y fraint o'u croesawu i dderbyn argraff eu dylanwad, ac i fwynhau cysuron eu cymdeithas.

5. Y mae'n hyfryd i sylwi fel y mae amser yn esbonio helyntion yr oesau sydd wedi myned heibio, ac yn taflu goleuni ar y gwahanol gymeriadau fu yn eu hynodi. Yn amser Eliza-

beth, yr oedd bron bob dosbarth yn cydnabod hawl y frenines a'i llŷs i sefydlu deddfau caeth o unffurfiaeth eglwysig; ac fel canlyniad naturiol o hyny, yr oeddynt yn cyfiawnhau yr erledigaethau creulawn a ddyoddefid gan yr anghydffurfwyr. Yr oeddynt yn dal y pwnc o uchafiaeth y frenines fel amddiffynydd y ffydd a phen yr eglwys; ac yn ystyried y Puritaniaid yn ddirmygwyr o'i huwchafiaeth a'i hawdurdod, ac yn droseddwyr cyndyn o ordinhadau ei heglwys, a bod y frenines a'i hesgobion yn gwneud yn iawn wrth eu traddodi i garchar ac i angau. Ond erbyn heddyw y mae y farn wedi newid, a'r teimlad yn bur wahanol. Y mae dydd goruchwyliaeth yr efengyl yn myned rhagddo, a'r goleuni yn cryfhau, ac yn llewyrchu fwyfwy; ac y mae amser, wrth adlewyrchu, yn tywallt yn ol ffrydiau cynyddol o oleuni ar helyntion yr amserau gynt, ac yn rhoddi esboniad cywirach a llawnach arnynt. Profa yn eglur mai y Puritaniaid oedd ar yr iawn, ac mai y frenines a'i chyngorwyr oeddynt ar y bai. Dengys mai y Puritaniaid oedd yn ffyddlon i'r gwirionedd ac i ryddid; a bod y frenines a'i hesgobion yn pleidio gormes a rhagrith. Y mae cymeriad y Puritaniaid yn dyfod yn oleuach, a chymeriad eu herlidwyr yn myned yn dduach. Y mae uchel lŷs y Star Chamber, a ystyrid gynt yn nerth a gogoniant y Llywodraeth, yn awr yn cael ei ystyried yn warth i Loegr ac i achos dynoliaeth. Y mae enwau y diwygwyr Puritanaidd yn myned i fyny uwch uwch o hyd, ac y mae enwau eu gorthrymwyr yn myned i lawr îs îs o hyd. Y mae yn gysur i feddwl, wrth adfyfyrio ar y camliwio a'r camfarnu cymeriadau sydd wedi bod yn yr oesau aethant heibio, fod y farn yn dyfod yn gywirach o oes i oes, y daw yn gywirach eto yn amser goleuni y mil-flwyddiant, a daw i berffaith iawnder yn ngoleuni anwrthwynebol llŷs mawr y dydd diweddaf. Bydd Harri a'i Cardinal Wolsey yno, Bydd Mary a'i Hesgob Gardiner yno. Bydd Elizabeth a'i Harchesgob Whitgift yno. Bydd Charles a'i Archesgob Laud yno: a byddant yno, nid ar yr orsedd, ond yn sefyll eu prawf cyhoeddus ger bron y frawdle; a cheir boddlonrwydd y pryd

hyny, pa un ai ganddynt hwy yr oedd y "divine right" i ferthyru, ai gan y merthyron yr oedd y "divine right" i addoli yn ol barn eu cydwybod.

6. Goddefer i ni grybwyll wrth derfynu mai nid rhyfedd i hen Brydydd ystwyth Glanygors ganu,

> "O faint y cyfnewid sydd yr awr hon yn Nghymru,
> Er yr hen amesr gynt pan oedd Bess yn teyrnasu."

Oes, oes, y mae llawer tro ar fyd wedi bod er dyddiau Elizabeth. Y mae hi wedi myned, a'i holynwyr, y ddau James a'r ddau Charles wedi myned. Y mae yr haiarnaidd Lord Protector Cromwell a'i ddau fab tynerach wedi myned. Y mae William a Mary wedi myned, ac Anne wedi myned, a'r pedwar George wedi myned, a William y Pedwerydd wedi myned. Y mae Prydain Fawr wedi gweled ei rhan o gyfnewidiadau er dyddiau Elizabeth: ond y mae "cyfnewid" wedi bod er gwell. Y mae gwybodaeth a chelfyddyd yn llawer pellach yn mlaen yno yn awr nag oeddynt y pryd hyny. Nid oedd y pryd hyny yr un long agerdd ar y môr, na'r un peiriant agerdd ar y tir, na'r un reilffordd, na'r un telegraph, na'r un post office, na'r un stage-coach, na'r un newyddiadur, na'r un cyhoeddiad misol, na'r un capel, na'r un ysgol Sul, na'r un gymdeithas Feiblaidd, na'r un sefydliad cenadol. Y mae amaethyddiaeth, "mam y celfyddydau," mewn llawer gwell diwylliant yno yn awr nag oedd y pryd hyny. Y mae pymtheg o breswylwyr yn Llundain yn awr am bob un oedd yno y pryd hyny; ac y mae cynydd cyffelyb wedi bod yn llawer o drefydd eraill y deyrnas. Y mae yno yn awr fwy ganwaith o gyfleusderau crefyddol, ac o sefydliadau addysg, ac o argraffwasgau nag oedd yn yr amser hyny: ac er fod cryn fawredd ac enwogrwydd yn perthyn i lywodraeth Elizabeth, yr wyf yn credu fod llŷs Victoria yn rhagori yn mhob ystyr; ac yr wyf yn ystyried cymeriad Victoria yn llawer hawddgarach na chymeriad Elizabeth. Dylid addef i Victoria gael llawer llai o brofedigaethau yn ei hieuenctyd nag a gafodd Elizabeth. Syrthiodd ei llinynau iddi mewn oes wareiddiach a goleuach. Cafodd fam wyliadwrus a

wyrol i ofalu am hyfforddiant ei myfyrdodau a'i serchiadau
nore ei bywyd. Ni ddaeth erioed gysgod cwmwl dros ei
l i'r goron: ac yr oedd y pethau hyny yn fanteision iddi
ellir byth brisio eu gwerth. Y mae'n wir fod Victoria yn
w yr hen eiriau apostolaidd "*Dei Gratia*" yn ei thitl bren-
, er cael mymryn ynddo o arogl hen athrawiaeth y "divine
t." Y mae yn wir hefyd ei bod, yn ol defod ei thadau, yn
hio ei thitl â hen urdd y duwinydd coronog Harri hunanol,
mddiffynydd y ffydd." Y mae'n wir hefyd ei bod yn cy-
yd ei chydnabod yn "ben yr eglwys;" ond y mae yn ben
rer boneddigeiddiach a goleuach nag oedd ei hen nain Eliz-
th, na'r un o'i hen ewythroedd y Stuartiaid. Y mae yn
ei bod yn lled dŷn dros ei *sect*, ac na fynai er ei bywyd
yg addoli mewn capel anghysegredig, eto y mae, er gwaeth-
'olynwyr apostolaidd" ei heglwys, yn caniatau yr hyn a
r yn "toleration," neu oddefiad cyflawn i bob enwad o ym-
lduwyr. Y mae hen actau o unffurfiaeth, ac o gydffurf-
h, ag oeddynt mewn grym Pabaidd yn amser Elizabeth,
i cael eu dileu o ddeddf-lyfrau Prydain; ac y mae hen In-
ition court uchel y Star Chamber wedi ei chwythu ymaith
eiswyn o flaen y corwynt. Y mae yn wir fod Victoria yn
hoff o son am ëangder ei "British Empire yn India," ac
ei llynges anorchfygol fel "meistres y môr;" ond yr wyf
credu ei bod yn myned yn fwyfwy awyddus bob blwyddyn
i awdurdod ei theyrnwialen fod er lles a derchafiad i'w
iaid pellenig: ac am i faner ei llynges ysgwyd yn foneddig-
l ar bob amgylchiad wrth gyfarch baneran gwledydd er-

Ni fynai Victoria ar un cyfrif daro ei throed yn y ddae-
ac edrych yn guchiog, a chodi ei llais yn erwin er trin a
dio y Senedd a'r esgobion fel y byddai Elizabeth yn arferol
neud; ond y mae ganddi lais, a llygad, a moes mor wir
inol wrth eu cyfarch oddiar ei gorsedd ag a fu erioed gan
abeth yn ei hamserau goreu: a medr blygu yn addfwyn a
gnach i newid ei gweinidogion a'i chyngor pan y bydd gal-
am hyny, heb gymell ei gweinidogion newyddion i dori

penau yr hen weinidogion, fel yr oedd y ddefod gynt yn amser rhai o'i hynafiaid. Y mae yn wir fod Victoria a'i phriod pendefigaidd ac urddasol, yn sefyll am gyflogau pur uchel er gallu cadw i fyny urddas tywysogaidd eu teulu ieuainc lliosog; a'u bod hefyd yn lled hoff o rwysg Babylonaidd ar ddyddiau uchel-wyliau y llŷs; ond y maent ar y cyfan yn bur barod i hwylysu trefniadau masnach, ac i gefnogi pob gwelliantau celfyddydol, a phob rhinweddau cymdeithasol, ac i weithio yn ddyfal a rheolaidd yn eu cylch uchel ac ëang er derchafiad a dedwyddwch eu gwlad; ac yr wyf yn foddlon i weiddi o waelod calon—"HIR OES I VICTORIA."

---

AD-NODIAD.

Gyda bod y ddarlith flaenorol wedi cael ei hysgrifenu, daeth y newydd trwm trosodd am farwolaeth y TYWYSOG ALBERT, priod hawddgar, a boneddigaidd, a synwyrol y Frenines Victoria. Wrth feddwl eu bod wedi priodi yn ngwres eu cariad cyntaf, a hyny yn nyddiau tegwch a serch eu mebyd; a'u bod wedi cydfyw mor anrhydeddus a dedwydd yn y cyflwr priodasol, yr oeddwn yn meddwl y buasai corff ac yspryd y Frenines yn cydymollwng yn wyneb y fath golled; ond nis gellir peidio llawenhau wrth ddeall fod yr adgofion am deimladau, a darlleniadau, ac ymadroddion crefyddol y tywysog ymadawedig wedi bod yn gynaliaeth i galon, ac yn gysur anrhaethol i brofiad y frenines yn oriau cyfyngaf a thywyllaf ei thrallod; a'i bod yn ceisio nerth i lenwi ei chylchoedd uchel fel mam, ac fel brenines, ac fel credadyn, o'r unig fan lle y mae nerth i'w gael, a bod seiliau i obeithio y bydd i rinweddau dysglaer eu tad wreiddio yn ddwfn yn nghalonau y plant, a ffrwytho am dymor hir, er llesad llaweroedd, yn y cylchoedd uchel y gelwir hwynt i'w llenwi. Yr oedd y Tywysog Albert yn gefnogwr gwresog i bob gwelliantau; a gobeithio na bydd i olwynion diwygiadau gwladol a chrefyddol, olwynion celfyddyd a gwybodaeth, a masnach, a chrefydd, ddim arafu, ond y bydd iddynt gasglu

nerth a chyflymdra cynyddol i dreiglo yn mlaen yn nyddiau ei fab urddasol, Tywysog Cymru, a gobeithio y bydd i Dywysog Cymru gael hir oes i deyrnasu mewn doethineb a chyfiawnder ar ymerodraeth dangnefeddus, lawn o ryddid ac o rinwedd, ac o grefydd a dedwyddwch, ar ol i'w fam enwog ac anwyl gael ei chodi i wisgo coron na ddiflana.

---

## RHYFELOEDD Y GROES.

Amcan Rhyfeloedd y Groes oedd ennill Jerusalem oddiar y Mahometaniaid i fod yn un o nawddleoedd Cristionogaeth. Y mae Jerusalem wedi bod yn ddinas enwog, a rhaid ei bod yn hen iawn os hi ydoedd dinas Melchisedec, brenin Salem. Yr oedd yn un o ddinasoedd cryfaf Canaan pan orchfygodd Josua Adonisedec ei brenin. Yn fuan wedi hyny darfu i feibion Judah ei henill, a'i llosgi â thân. Adeiladwyd hi eilwaith gan y Jebusiaid, ac ystyrid hi yn amddiffynfa gadarn; ond enillwyd hi gan Dafydd a'i wŷr, a mynych y gelwid hi ar ol hyny, yn Ddinas Dafydd. Helaethwyd hi yn ei ddyddiau ef dros fryniau Acra a Moriah, a helaethwyd a harddwychwyd hi yn fawr iawn yn amser Solomon. Yr oedd ei golud a'i gwychder y pryd hyny mor fawr, fel yr oedd "arian ynddi fel ceryg, ac ni roddid bri arno." Anrheithiwyd hi gan Sisac, brenin yr Aipht, yn amser Rehoboam, mab Solomon; ac eilwaith gan Joas, brenin Israel, yn amser Amasia; ac wedi hyny gan yr Assyriaid, yn nyddiau Manasseh; ac wedi hyny, fwy nag unwaith, gan fyddinoedd Nebuchodonosor, brenin Babylon; y rhai, yn y diwedd, a'i llosgasant a thân. Bu yn adfeiliedig am oddeutu saith ugain mlynedd y pryd hyny, nes i Ezra a Nehemiah gael cenad gan Cyrus ac Artaxerxes i'w hadgyweirio. Gwelodd lawer cyfnewidiad o hyny hyd ddyddiau Crist. Yr

hyny yn llawn o drais a llygredd.* Ac yn mhe
nedd ar ol croeshoeliad Iesu, yr oedd wedi "cyf
ei hanwiredd," a chafodd ei llŵyr ddistrywio ga
sian a'i luoedd : a bu y pryd hyny, yn ol geiria
vmder. na welwyd ei fath er dechreuad y byd.

"Dystryw a dar arni,
Er gwae tost go hi."

"Fflamau angerddol yn unol enynant,
Diamheu y lwyswych deml a ysant,
Y dorau eurog yn nghyd a'r ariant,
Y blodau addurn a'r cwbl a doddant,
Wag annedd ddiogoniant—gyda bloedd,
Hyllbwyir miloedd lle bu rhoi moliant :
Llithrig yw'r palmant llathrwyn
Môr gwaed ar y marmor gwyn."

Gwnaed hi y pryd hyny bron oll yn gydwastad â'r llawr, o herwydd nad adnabu amser ei hymweliad. Ar ol hyny, bu Palestina am dros ddau can' mlynedd yn dalaeth dlawd, annedwydd o Ymerodraeth Rufain ; yn cael ei phreswylio gan bobl gymysg, Paganiaid, Iuddewon, a Christionogion, a chodwyd temlau i Venus a Jupiter yn y manau sancteiddiolaf yn Jerusalem. Yr oedd y grefydd Baganaidd wedi buddugoliaethu yno ar Iuddewiaeth a Christionogaeth.

Tua dechreuad y bedwaredd ganrif derchafwyd Cystenyn Fawr, mab Elen y Gymraes, ferch Coel, i orsedd Rhufain. Enillwyd Cystenyn i gofleidio Cristionogaeth, ac mewn canlyniad, adferodd eu breintiau i'r Cristionogion, a sefydlwyd crefydd Crist yn grefydd yr Ymerodraeth ; ond nychwyd ei hysprydolrwydd wrth ei sefydlu felly trwy awdurdod ymerodrol. Dywedir i fam Cystenyn fyned i Jerusalem ac adeiladu temlau i Grist, yn Bethlehem lle y cafodd ei eni, ar Galfaria lle y bu farw, ac yn yr ardd lle bu ei fedd. Darfu i hyny ail-enwogi Jerusalem. Codwyd yno eglwysydd eraill, a mynachdai lle y cartrefai offeiriaid a mynachod i groesawu pererinion, ac yr oedd myned ar bererindod i ymweled a'r "lleoedd sanctaidd" yn Jerusalem, yn rhan fawr o grefydd Cristionogion mwyaf selog yr oes hono.

Yn niwedd y bedwaredd ganrif ymranodd Ymerodraeth Rhufain i fod yn ddwy, sef y ddwyreiniol a'r orllewinol. Caer Cystenyn oedd prif ddinas y ddwyreiniol, a Rhufain oedd prif ddinas yr orllewinol. Eglwys Groeg oedd eglwys sefydledig yr un ddwyreiniol, a'r eglwys Ladinaidd, neu yr eglwys Babaidd, oedd eglwys sefydledig yr un orllewinol. Perthynai Palestina a Jerusalem i'r ymerodraeth ddwyreiniol, ac i eglwys Groeg.

Yn agos i ddechreuad y seithfed ganrif, tua'r flwyddyn 630, daeth Mahometaniaid yspeilgar i fyny o Arabia, gan ymladd, a gorchfygu, a goresgyn Palestina, a Syria, a'r Aipht; a daeth Mahometaniaeth yn grefydd sefydledig y gwledydd hyny, ac aeth yr hen "leoedd sanctaidd" i'w meddiant. Wrth y

"LLEOEDD SANCTAIDD"

Y golygir y lleoedd a enwogwyd gan bresenoldeb Crist, drwy gysylltiad â rhanau pwysfawr o'i fywyd a'i weinidogaeth: megys Bethlehem, Bethany, Afon Cedron, Gardd Gethsemane, Mynydd yr Olewydd, Lle y Groes, a Gardd y Bedd Sanctaidd: ac nid rhyfedd, ar lawer golwg, fod y fath awyddfryd yn mysg Cristionogion i fyned ar bererindodau i weled y fath leoedd. Os craffwn ar

GYMERIAD Y PERERINDODWYR,

Cawn eu bod, er yn Gristionogion mewn proffes, yn fwy hoff o bethau allanol crefydd, nag o rym ei phethau tufewnol. Yr oeddynt yn fwy hoff o ddefodau a seremoniau nag oeddynt o yspryd Cristionogaeth.

1. Yr oeddynt yn rhoddi bron eu holl fyfyrdod a'u serch ar hen bethau, a hen leoedd. Yn hiraethu yn fynych am gael darnyn o'r groes, neu o'r goron ddrain, neu o'r hoelion, neu o'r wisg borphor, neu o'r wisg ddiwniad, neu o lwch y bedd sanctaidd; gan feddwl os medrent gael rhywbeth felly, y caent iechyd, a nodded, ac enw; ac y gallent hefyd gyflawni unrhyw wyrthiau drwy rinwedd y fath gyfryngau.

2. Yr oeddynt yn credu fod pererindodau i Jerusalem, pererindodau o draul fawr, ac o lafur mawr, yn rhinweddol iawn fel math o benydiau drudfawr er enill ffafr Duw a maddeuant pechodau.

3. Yr oeddynt yn dywyll am athrawiaethau gogoneddus ffydd yr efengyl: am gyfiawnhad drwy ffydd yn aberth Crist —am faddeuant ar gyfrif rhinweddau gwaed yr Oen—am sancteiddiad calon drwy gymwysiad o'r gwaed at y cyflwr drwy weinidogaeth yr Yspryd—am edifeirwch yn codi oddiar flâs maddeuol drugaredd—am fabwysiad i deulu Duw drwy ras a chariad Pen y Teulu—am weithio yn hunanymwadol o gariad efengylaidd.

4. Yr oeddynt yn rhai cul eu calon a'u cyffes am bawb eraill, nid yn unig am anffyddwyr, a Mahometaniaid, ac Iuddewon; ond am Gristionogion hefyd, os o feddwl myfyrgar ysprydol, ac o ymarweddiad syml a dirodres.

Os craffwn ar gymeriad

PERCHENOGION Y LLEOEDD SANCTAIDD,

Cawn eu bod yn Fahometaniaid, yn ddisgyblion y gau-broffwyd o Mecca, yn ddeiliaid crefydd gnawdol, waedlyd, lawn o dwyll ac ymffrost; yn rhai hoff o ormes ac yspryd erlid; ac yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn gâs iawn wrth y Pererindodwyr Cristionogol, yn eu goganu a'u gwawdio, yn eu trethu yn drwm ar bob achlysur, ac yn eu mynych anrheithio; ac yna yn eu gadael i farw o dlodi ac angen yn ymyl y "lleoedd sanctaidd" ond heb fodd na nerth i allu eu gweled.

Mewn gwirionedd yr oedd y ddwy blaid—y Pererindodwyr a'r Mahometaniaid—mor genfigenllyd wrth eu gilydd ag yr oedd yn alluadwy iddynt fod. Yr oeddynt yn cnoi ac yn traflyncu eu gilydd yn ddiarbed. Yr oeddynt yn difrio ac yn hustyng, ac yn camliwio a bychanu eu gilydd yn barhaus. Yr oeddynt yn mingamu ar eu gilydd yn y farchnadfa, ac yn estyn bysedd at eu gilydd yn mhen pob heol. Dylasai y Pererindodwyr gofio eu bod hwy yn mhell o'u cartref, yn ngwlad gelyn;

a dylasent geisio bod yn fwy boneddigaidd. Buasai yn hawdd iddynt drwy ychydig o foesgarwch ac addfwynder, wneuthur cytundeb â llawer o'r tywysogion Mahometaidd, ac felly cael rhyddid i ymweled pryd y mynent a'r holl leoedd sanctaidd. Buasent yn gallu enill croesawiad a ffafrau drwy ymddwyn yn anrhydeddus ac yn onest. Ond croes i hyny oedd eu hymddygiad. Yr oeddynt hwy yn *shabby* a gwenwynllyd, ac yr oedd y Mahometaniaid yn ysgornllyd a gormesol ; ac nid rhyfedd oedd i'r fath deimladau a geiriau câs o'r diwedd arwain i ryfel.

Nid anmhriodol fyddai crybwyll yma am

BRIF GYNHYRFWYR Y RHYFEL.

Pedr y Mynach oedd un o'r rhai penaf, y mwyaf ei sêl, a'r helaethaf ei ddylanwad. Ychydig wyddir am ddyddiau ei febyd. Un genedigol o Ffrainc ydoedd. Bu'n filwr pan yn ddyn ieuanc ; a gellir casglu ei fod yn un gwyllt a hyf-ddrwg : trodd yn Fynach er mwyn ei gospi a'i benydio ei hun am bechodau ei ieuenctyd. Aeth ar bererindod tua Jerusalem yn amser y peryglon a'r anhawsderau mwyaf. Cyrhaeddodd yno yn ddiogel. Yr oedd yn un o yspryd diofn a diflino. Mynodd weled y lleoedd sanctaidd. Bu yn addoli ynddynt oll, lawer tro. Yr oedd teimladau duwiol yn cynhesu ei holl enaid wrth eu gweled. Yr oedd ei galon yn llosgi o barch i'r hen leoedd cyssegredig hyny. Dwys ymofidiai eu bod wedi myned i feddiant Mahometaniaid ; ac am fod Cristionogion yn cael eu hystyried yno fel "ysgubion y byd." Yr oedd ei gasineb at y Mahometaniaid yn angerddol. Yr oedd yspryd dial yn fflamio yn ei fynwes. Holl destyn ei ymddiddan drwy oriau y nos yn ei lety, oedd am y trueni fod Jerusalem wedi myned i feddiant yr Anffyddwyr. Yr oedd ei letywr yn un o ddisgyblion y Pab, er yn cartrefu yn Jerusalem. Anturiodd Pedr y Mynach o'r diwedd adrodd ei gŵyn wrth Simeon y Patriarch. Yr oedd Patriarch Jerusalem yn ben eglwys Groeg, fel y mae y Pab yn ben eglwys Rhufain, a'r Brenin, neu y Frenines yn

ben eglwys Loegr. Yr oedd ei sêl yn yr achos yn enyn cydymdeimlad yn y Patriarch; ond dywedai y Patriarch wrtho ar unwaith, nad oedd dim gobaith i eglwys Groeg allu enill y lleoedd sanctaidd o feddiant y Mahometaniaid; y byddai galluoedd eglwys Rhufain yn llawer tebycach o allu llwyddo i wneyd hyny. Wrth glywed hyny, erfyniodd Pedr y Mynach am gael llythyrau oddiwrth y Patriarch at y Pab, ac addunedodd y teithiai yn ddiorphwys drwy Europe, fel penyd am ei bechodau, i BREGETHU RHYFEL Y GROES, er cynhyrfu Tywysogion a'u pobl i godi yn eu nerth, ac ymfyddino, ac ymdaith er adenill y lleoedd sanctaidd o feddiant yr anffyddwyr. Wedi cael ei lythyrau gan y Patriarch, dychwelodd tu ag Europe, a chyflwynodd ei lythyrau i'r Pab, ac adroddodd iddo yr hyn a welodd, ac a deimlodd, ac a addunedodd. Yr oedd y Pab, Urban yr Ail, yn ddyn craff, cyfrwys, talentog; yn ddisgybl i Gregory Fawr, y Seithfed, yr hwn oedd wedi bod a'i fryd unwaith ar godi byddinoedd i ryfela am Jerusalem. Yr oedd adroddiadau a chynygion Pedr y Mynach yn dderbyniol iawn gan y Pab Urban; ond yr oedd yn ddyn rhy bwyllog i ruthro i'r rhyfel heb ymgyngori ag eraill; ac heb gynhyrfu a pharatoi holl lysoedd Europe i bleidio yr amcan. Ac i'r dyben hyny anogodd, ac awdurdododd Pedr y Mynach i ymdaith o deyrnas i deyrnas, ac o ddinas i ddinas, i bregethu "*Rhyfeloedd y Groes*" yn erbyn trais-feddianwyr y lleoedd sanctaidd. Wedi i Pedr gael y fath gymelliad, a'r fath galondid gan y PAB, a chan y PATRIARCH, aeth i'w ffordd yn wrol a llawen; yr oedd sêl y rhyfel yn ei ysu, ac yr oedd ei holl galon yn ei waith. Yr oedd golwg hynod o darawiadol arno pan yn cychwyn i'w daith; dyn o gorff bychan, gwyneb gwelw gwyllt, llygaid cyflym tanbaid; llais peraidd treiddiol, sêl byw yn fflamio, a doniau bron goruchel dynol. Safai ar risiau porth yr eglwys, neu ar ben careg fedd, neu ar drothwy drws yn nghongl yr heol, neu dan gysgod coeden; yn ben noeth ac yn droed noeth, heb ddim addurniadau aur na dillad sidan o'i ddeutu. Yr oedd ei destyn yn newydd, ac yn bwysfawr; ac yr oedd ei ddarluniadau o Jeru-

salem a'r lleoedd sanctaidd yn cael eu halogi gan anffyddwyr, yn wir effeithiol. Yr oedd y bobl wrth y miloedd yn ymdyru i'w wrando ; ac yr oedd ei bwnc a'i ddull, a'i ddoniau yn cynhyrfu ac yn tanio eu holl deimladau. Yr oeddynt yn wyllt barod i gychwyn i'r rhyfel ar ddiwedd pob pregeth. Yr oeddynt yn llwytho y pregethwr ag anrhegion ; ac yr oedd yntau yn y dull mwyaf haelfrydig yn eu rhanu eilwaith i'r rhai oeddynt mewn angen. Yr oedd dylanwad nodedig yn dilyn ei gyngorion, yn gystal a'i bregethau. Lle y byddai cynen mewn teulu, neu mewn ardal, neu mewn cynulleidfa, medrai lwyddo i wneud cymod rhwng y gelynion cyndynaf. Medrai gyrchu adref afradloniaid ; a dofi a thyneru y gwŷr creulonaf ; a denu gwragedd gwrthgiliedig yn ol i lenwi eu cylchoedd gartref. Rhaid bod llafur ei asyn yn fawr, oblegyd teithiodd drwy y rhan fwyaf o Europe mewn cylch blwyddyn ; ond nid oedd raid iddo byth bregethu yr hen bregeth, ar iddynt "ofalu am ei anifail ;" oblegyd yr oeddid yn mhob man yn haner addoli ei asyn. Dilynwyd ei weinidogaeth *ddialgar lofruddiog* â llwyddiant anarferol. Pregethau y Mynach, a Rhyfel y Groes, oedd testyn yr ymddiddan yn mhob cyfeillach ; ac yr oedd yn amlwg fod yr holl wledydd yn llawn addfed am ryfel.

Wrth ddeall i'r fath lwyddiant cyffredinol ddilyn pregeth y Mynach, penderfynodd y Pab gyhoeddi ei gymeradwyaeth o'r amcan. Galwodd gymanfa fawr o benaethiaid y gwledydd, ac o brif-weinidogion "yr eglwys," i'w gyfarfod i Ffrancfort i ystyried yr amcan, ac i gynllunio y moddion effeithiolaf i'w gyflawni. Penderfynwyd yno yn unfrydig i bleidio y rhyfel er enill Jerusalem o feddiant y Tyrciaid. Galwyd ail gymanfa i Clermont yn Ffrainc i drefnu mesurau pellach yn yr achos ; ac yr oedd hono yn fwy lliosog a dylanwadol na'r gyntaf. Er fod amrywiaeth barnau ynddi gyda golwg ar rai pynciau duwinyddol, a threfniadau eglwysig, eto yr oeddynt oll o unfryd am fyned i ryfel er ad-enill lle y groes, a'r bedd sanctaidd. Ac yn niwedd y gymanfa fawr hono, ar ol i Pedr y Mynach bregethu yn gyntaf, esgynodd y Pab Urban i'r Pwlpud i draddodi

blaid Rhyfel y Groes. A phregeth fawr ydoedd ... :hos mawr, mewn lle mawr, i dyrfa fawr, o bobl ..., gan pregethwr mawr, cafodd hŵyl fawr; ac yr oedd :hoedd a dylanwad mawr yn cydfyned â'r bregeth. Yr ... dorf fawr yn fyw drwyddi; a chyn iddo derfynu y bregeth, dechreuodd y bobl yn ...gwyd ac ymdoddi, ac wylo, a churo dwylo, a gweiddi, "Duw a'i myn," "Y mae Duw dros hyn," "Ewyllys Duw yw y rhyfel." Yna estynodd y Pab ei law am osteg; ac wedi tawelu y gorfoledd, dywedodd, mai ewyllys Duw oedd hyn—mai yspryd Duw oedd yn eu cynhyrfu —eu bod wedi ymgynull yno yn enw Crist; a'u bod yn awr i ymbarotoi, ac ymfyddino, ac ymdeithio i'r rhyfel yn enw Crist. Yna cydymollyngodd y dorf fawr ar eu gliniau, gan wylo, a gweiddi mewn gorfoledd, am eu bod yn cael y fraint o fyned i'r fath ryfel. Yna gweddiodd un o'r Cardinaliaid; a gollyngodd y Pab y gymanfa, gan eu hanog i weiddi ar hyd eu ffordd adref, "Duw a'i myn," ac i barhau i weiddi ar aelwyd y teulu, ac o gylch allor y cyssegr, "Duw a'i myn." "Y mae Duw yn ewyllysio hyn." Ac yn ddioedi, ar ol hyny, gwelwyd miloedd o offeiriaid ac o filwyr a "Llun y Groes" ar eu hysgwyddau, fel arwydd eu bod yn barod i gychwyn i "Ryfel y Groes." Croes wen oedd arwydd y Saeson, croes goch oedd un Ffrainc, croes werdd un Fflanders, croes ddu un Germany, a chroes felen un Itali.

Byddai yn werth i *ad*-feddwl am bregethau tanbaid Pedr y Mynach, a phregeth fawr y Pab Urban, am fod y fath ddylanwad yn eu dilyn. Yr oedd yn gryf ac yn gyflym, yn boethwyllt ac yn gyffredinol. Y mae son mawr wedi bod lawer trô am ddylanwad pregethau ambell i gymanfa yn Nghymru, ac yn Lloegr, ac yn America; ond ni phregethodd Howell Harris, na Jones, Llangan, na Rowlands, Llangeitho, na John Elias, na Christmas Evans, na Williams o'r Wern erioed yn fwy effeithiol yn Nghymru; na Fenelon, na Massilon, na Saurin, na Bossuet, na Bourdaloue erioed yn fwy effeithiol yn Ffrainc; na Watts, na Howe, na Henry, na Whitefield, na

Wesley, na Bogue, na Bunting, na James, na Raffles, na Hall, na Chalmers, na Jay, nac Irving, na Spurgeon yn Lloegr; nac Edwards, na Dwight, na Woods, na Spring, na Channing, na Chapin, na Tyng, na Beecher, na neb yn America yn fwy grymus, nac yn fwy effeithiol, ar unrhyw achlysur nag y pregethodd Pedr y Mynach, a'r Pab Urban, er cynhyrfu "Rhyfeloedd y Groes." Yr oedd pregethwyr eraill, enwog, ac effeithiol, yn pregethu o blaid y rhyfel, ac yr oedd ganddynt ddylanwad mawr yn eu priodol gylchoedd; ond Pedr y Mynach oedd y blaenaf a'r mwyaf; y mwyaf selog, y mwyaf ymroddgar, y mwyaf llafurus, a'r mwyaf effeithiol. Efe agorodd y ffordd i'r lleill bregethu ar y fath bwnc.

Ond na feddylier wrth ein bod yn canmol ymroad a doniau Pedr y Mynach, ein bod yn cymeradwyo ei yspryd a'i bregeth. Na, y mae pob sail i gasglu mai sêl Phariseaidd greulonach na'r eiddo Saul o Tarsus oedd yn ei gynhyrfu; ac y mae yn amlwg hefyd fod gwallgofrwydd yr un sêl goelgrefyddol yn gwyllt-ymweithio drwy y gwledydd pan yr oedd ei bregeth waedlyd ddialgar yn cael y fath dderbyniad cyffredinol, ac yn peri y fath ddylanwad anwrthwynebol.

Ond yr un bregeth fawr drymaf o'r pregethau oll oedd pregeth y Pab Urban yn Nghymanfa Clermont. Hono barodd y cynwrf gwylltaf yn y cylch uchaf. Taniwyd holl lysoedd, a holl wledydd Europe i bleidio y rhyfel; ac yr oedd yn rhyfeddod i weled ac i feddwl mor brysur ac mor boethwyllt oedd pawb i baratoi. Yr oedd yspryd y rhyfel yn ymchwyddo ac yn ymweithio yn mhob calon, ac yn ymledu fel tân gwyllt i bob cwr o Europe; ac yn difa pob gwrthwynebiad o'i flaen. Byddai ambell un yn ceisio cynghori ei gymydogion i ymbwyllo, am y gallai y cyfan droi yn siomedigaeth; a byddai ambell un yn beiddio gwatwar gwylltineb gwallgofus ei gymydogion; ond yr oedd y cyfan yn gwbl ofer. Yr oedd sêl y rhyfel yn difa y cyfan o'i flaen; ac yr oedd y cynghorwr a'r gwawdiwr yn gorfod newid eu tôn, ac ymollwng gyda'r llif.

Yr oedd y pryd hyny yn amser o brinder a drudaniaeth an-

l gostyngodd prisiau pob peth ar unwaith ; oblegyd u bawb am werthu yr hyn oedd ganddynt er para-, ac ymdaclu at y daith. Yr oedd llaweroedd yn gw i y bais i prynu cleddyf ; yn gwerthu eu dodrefn i brynu tarianau. Yr oedd y gofaint yn brysur iawn yn troi y sychau yn gleddyfau, a'r pladuriau yn waywffyn. Yr oeddid yn hogi y cleddyf, ac yn blaenllymu y waywffon, ac yn gloywi y darian yn mhob tŷ. Yr oedd y boneddigion yn arfogi eu tenantiaid a'u gweision, ac yn eu byddino, gan eu harwain i'w Parciau i'w dysgu i ryfel. Yr oedd y boneddigesau, y wraig a'r fam, y chwaer a'r ferch, y briodferch a'r weddw, a'r nain a'r wyres, a'u bysedd gwynion yn llawn bywyd, yn diwyd bwytho a brodio y banerau a'r ribanau milwraidd ; a'r wniadyddes oreu yn cael yr anrhydedd i wneud "llun y groes" yn nghanol pob baner ac ar blethiad pob riban. Yr oedd y seiri yn llafurio fore a hwyr er gwneud méni o bob math er cludo darpariaethau i'r rhyfel. Yr oedd hen bobl a phlant yn mynu paratoi, er iddynt gael rhoi eu llais dros y rhyfel ; â chael rhan o'i beryglon ; a chael gweddio am ei lwyddiant Yr oedd yspryd y rhyfel yn gweithio drwy bob talaeth, a phob ynys ; yr oedd yn tanio bugeiliaid Cymru, a helwyr Scotland, a physgodwyr Norway, a meddwon Denmark. Yr oedd gweinidogion yr allor, a gweddiwyr y cyssegr, ac yspeilwyr penyffordd, a llofruddion y tywyllwch, yn cyd-baratoi i'r rhyfel. Rhyfel y Groes—*Rhyfel y Groes*—Rhyfel y Groes—RHYFEL Y GROES—oedd testyn pawb yn mhob man, yn y tŷ, ac yn y maes, wrth y bwrdd, ac yn y gwely, yn y bwthyn a'r palas, yn y llys ac yn yr eglwys, ar y fainc ac yn y pwlpud, wrth allor y teulu, ac wrth fwrdd y cymundeb, yn y fagwrfa, ac yn ystafell y marw, yn y gyffesgell, ac yn nghyngorfa y Cardinaliaid. Yr oedd yr ŵyr, bach ar lin ei fam, a'r hen daid a'i bwys ar ben ei ffon, yn ceisio siarad yn floesg am "Ryfel y Groes :" a bernir fod tros bum' miliwn o bobl, o bob gradd ac oed, yn nechreu y flwyddyn 1096, yn symud i gychwyn tua'r tir sanctaidd i gymeryd rhyw ran yn "Rhyfel y Groes."

Byddai yn naturiol i ni ymofyn am yr achosion o ryfedd boblogrwydd y fath ryfel. Yr oedd yn boblog yn

1. Am fod awdurdodau yr *eglwys* yn llawn o sêl yn anog i'r rhyfel. Yr oedd y Pab a'i Gardinaliaid dros y rhyfel. Yr oedd Patriarch Jerusalem a holl swyddwyr ei eglwys yntau dros y rhyfel. Yr oedd yr offeiriaid o bob gradd a dosbarth dros y rhyfel; a chan fod y rhyfel yn cael ei bregethu o holl bwlpudau teyrnasoedd cred, yr oedd y bobl yn credu ei fod yn ol ewyllys Duw; y byddai wrth fodd saint ac angylion y nefoedd; y byddai yn dderbyniol gan yr Iesu a groeshoeliwyd; y byddai gwenau y nefoedd arno; ac y cyflawnai arfaethau anfeidrol ras a doethineb.

2. Am fod y *lluaws* yn boethwyllt dros y rhyfel. Y mae yn fath o foddhad bob amser i "ddilyn y lluaws." Hawdd ydyw nofio gyda'r llif, a hwylio gyda'r awel; a hawdd hefyd ydyw rhedeg gyda'r blaid gryfaf.

3. Am y rhoddai y rhyfel gyfle i'r saint i *dalu y pwyth* i'w gelynion—i anffyddwyr creulawn, diegwyddor, a gwatwarllyd, ag oeddynt wedi bod er ys hir amser yn dirmygu ac yn dirwasgu "Pererinion y Groes." Yr oedd cael cyfle i borthi yspryd dial yn wledd i'w profiad; ac yr oeddynt yn credu y byddai dyfetha y fath orthrymwyr barbaraidd yn wasanaeth gwerthfawr i'r nefoedd, ac yn lles oesol i'r byd.

4. Am y rhoddai y fath ryfel pellenig gyfle ardderchog iddynt weled y byd; i weled y lleoedd enwocaf yn ei hanesyddiaeth Yr oeddynt i fyned ar draws Germany, a thrwy Hungary a Bulgaria, a Chaer Cystenyn, a thros gûlfor y Bosphorus i Asia; a thrwy hen wledydd enwog Asia leiaf, yr ochr ogleddol i Fôr y Canoldir; ac yna troi tua'r De gyda glenydd dwyreiniol y môr, heibio i Antioch, a Sidon, a Tyre, ac Acre, a Joppa, tua Jerusalem. Buasai yn hyfryd a dyddorol iawn i gael ymdaith i weled lleoedd wedi bod mor enwog yn yr hen oesau, pe buasai tangnefedd a dyngarwch a boneddigeiddrwydd yn teyrnasu yn mysg plant dynion.

5. Yr oeddynt yn boethwyllt am y fath ryfel am fod gobaith

yn nydd rhanu yspail buddugoliaeth ; a chael car- lymunol a llawnion, mewn hinsawdd hyfryd, yn y tiroedd sanctaidd, lle y bu Iesu yn cyflawni gwaith mawr ei gariad ; lle y bu patriarchiaid yn pabellu, a phroffwydi yn preswylio ; a lle y bu yr apostolion yn efengylu ar gychwyniad Cristionogaeth.

Wedi taflu golwg ar yr hyn oedd yn eu cynhyrfu i'r rhyfel, ac ar eu parotoadau i'r daith, edrychwn ar DREFN EU MINTEIOEDD yn cychwyn. Cytuna haneswyr mai y fintai flaenaf i gychwyn allan oedd ugain mil o wyr traed dan dywysiad Walter Pennyless, gwr boneddig o Burgundy, yr hwn a gyfenwid "Pennyless" am ei fod yn dlawd, heb geiniog tu ag at draul ei daith. Yr oedd yn ymddiried am ei gynaliaeth i'w gyfrwysdra a min ei gleddyf. Yr oedd yr ail fintai yn cynwys deugain mil o bobl, o bob oed a gradd, yn ŵyr, a gwragedd, a phlant, dan dywysiad Pedr y Mynach. Yr oedd y drydedd fintai yn cynwys pymtheg mil, gan fwyaf o Germaniaid, dan dywysiad offeiriad o'r enw Gottschalk. Ysgubwyd ymaith yn llwyr y drydydd fintai cyn iddynt groesi Hungary ; ac yr oedd Walter Pennyless a Pedr y Mynach wedi colli y rhan fwyaf o'u canlynwyr cyn iddynt gyrhaedd Caer Cystenyn. Bu y gweddillion yn gorphwys yno am amryw ddyddiau ; ond yr oeddynt mor afreolus a hyf-ddrwg fel y rhoddodd yr ymerawdwr lawer o arian iddynt er eu cynorthwyo i fyned yn mlaen i'w ffordd ; oblegyd yr oedd ef a'i lys wedi glân flino ar eu hymddygiad, ac yn bryderus am gael eu lle. Yr oeddynt yn myned yn fwy-fwy dirëol ac yspeilgar o hyd wrth ymdeithio yn mlaen, ac yr oeddynt felly o hyd yn lliosogi eu profedigaethau a'u peryglon. Aethant o'r diwedd mor ddirëol a llygredig fel y trodd Pedr y Mynach yn ei ol, gan eu gadael i'w ffordd ac i'w tynged ; a lladdwyd hwy bron oll i gyd yn Bithynia, a syrthiodd eu blaenor, Walter Pennyless gyda hwy, dan saith o glwyfau angeuol. Yr oedd y bedwaredd fintai yn fwy ddwy waith na'r tair cyntaf gyda'u gilydd, yn cynwys dau can' mil o bobl—rhai o Loegr, rhai o Ffrainc, rhai o Flanders, a llaweroedd o fanau eraill.

Gwehilion cymdeithas oeddynt; ysgubion ac ysgum holl Europe oeddynt; sorod pob cylch o lygredd oeddynt; segurwyr diog, afradlon, anwybodus, coelgrefyddol, lladronig, creulawn, llofruddiog, yn difrodi, ac yn anrheithio, ac yn lladd yr holl ffordd y cerddent. Yn eu dychryn wrth feddwl am y fath heidiau o farbariaid, ac wrth ddeall fod eraill i ddyfod ar eu hol, meddyliodd yr Hungariaid ar y cyntaf, am ddianc o'u gwlad heb wybod pa le i fyned; gan fod eu gwlad yn cael ei gwneud yn brif-ffordd i fyddinoedd anfoesol a digydwybod "rhyfeloedd y groes;" ond wrth eu gweled mor ddiröol, ac mor annhrefnus, cydbenderfynasant i ymwroli a chodi fel un gwr yn erbyn y fath *rabble;* a darfu iddynt ruthro arnynt o bob tu, a'u tori ymaith bron yn llwyr. Felly dyfethwyd y pedair mintai cyntaf, cyn iddynt gyrhaedd haner y ffordd i Jerusalem. Nid rhyfedd fod pobl Hungary a Bulgaria, ac yn enwedig pobl Bithynia, ac Asia leiaf, yn codi yn erbyn y fath finteioedd o wallgofiaid coelgrefyddol, y fath giwed o ladron a llofruddion. Yr oedd eu hymddygiadau ar eu hymdaith yn hollol anoddefadwy. Nid rhyfedd iddynt gael eu tori ymaith mor llwyr. Bernir mai prin pum' mil ar hugain o'r pedair mintai—dim un o bob deg—ddychwelodd adref. Cafodd y lleill, tua dau cant a haner o filoedd, eu dyfetha o fewn cylch ychydig o fisoedd, heb gyflawni dim o'r amcan, neu o leiaf y broffes, oedd ganddynt wrth gychwyn oddicartref.

Ond nid rhai fel hyn oedd y minteioedd dilynol. Yr oeddynt yn rhai o ddosbarth gwahanol, yr oeddynt yn fwy cyfoethog, yn fwy boneddigaidd, yn fwy trefnus, yn fwy milwraidd, yn fwy taclus eu harfau, wedi cymeryd mwy o ofal, a mwy o amser i barotoi cyn cychwyn, ac wedi casglu mwy o bob darpariaethau: yn gwneud i fyny dros chwe' chan' mil o'r milwyr dewraf a mwyaf hyfforddus yn Europe; a'r rhai hyny dan lywyddiaeth y capteniaid, neu y cad-flaenoriaid enwocaf. Yr oedd y gangen flaenaf o'r fyddin fawr dan gapteniaeth Godfrey o Bouillon, Duc Lorraine, maeslywydd o'r medr a'r dewrder mwyaf. Cododd o'i glaf-wely, a gwerthodd ei etifeddiaeth

n i fyned i'r rhyfel: ac yr oedd Baldwin ei frawd, gapteniaid enwog eraill, wedi cymeryd eu lle dan ei nau ei. Yr oedd yr ail gangen dan gapteniaeth Hugh w Count Vermandois, brawd Philip, brenin Ffrainc, dyn o a gwroldeb nodedig, ond nid oedd mor foneddigaidd a duwiolfrydig a Godfrey. Ar ei ol ef yr oedd Stephen, Count of Blois, yn llywio y drydedd gangen o'r fyddin. Yr oedd Stephen yn fwy ei sŵn a'i rwysg, ond yn wanach ei galon, na'r ddau eraill. Blaenor y bedwaredd gangen o'r fyddin oedd Robert, Duc Normandy, mab William y Gorchfygwr, a brawd William Rufus, brenin Lloegr. Yr oedd hwnw wedi rhoddi *mortgage* ar ei Dduciaeth, er cael arian i barotoi i'r rhyfel. Yr oedd llawer o bendefigion a milwyr Lloegr wedi ymfyddino dan faner Duc Normandy. Ar ol hwnw yr oedd Count Robert o Flanders a changen gref arall o'r fyddin; ac yn ei ddilyn ef yr oedd y Tywysog Bohemond o Itali, yn blaenori byddin fawr iawn o wŷr traed a gwŷr meirch; a'i gapten dewisol ef oedd Tancred, y capten ieuangaf yn yr holl fyddin; ond yr oedd yn gapten o'r corff harddaf, ac o'r yspryd mwyaf gwrolfrydig. Yr oedd y gangen olaf o'r fyddin fawr dan gapteniaeth y balchgalon a'r penderfynol Count Raimond y Toulouse.

Cafodd y byddinoedd lliosog hyn lai braidd o brofedigaethau a rhwystrau wrth ymdaith yn mlaen nag a gawsai y minteioedd blaenorol, a hyny oblegyd eu bod yn ymdaith mewn gwell trefn, dan faeslywyddion mwy medrus, ac yn ymddwyn yn fwy boneddigaidd; ond eto yr oedd profedigaethau ac anhawsderau yn eu cyfarfod, ac yn eu cylchynu ar bob llaw. Yr oeddynt yn achosi cynwrf a dychryn, a therfysgoedd a cholledion trymion trwy holl linell eu teithiau, a holl gylch eu gwersylfaoedd, yn Hungary, a Bulgaria, ac ymerodraeth Caer Cystenyn, a phob talaeth a gwlad oeddynt yn groesi. Bu llawer o gynen ac o ymladd ar hyd y ffordd. Mynodd Ymerawdwr Caer Cystenyn lŵ o ffyddlondeb oddiwrthynt, cyn caniatau iddynt fyned drwy ei diriogaeth ef. Yr oedd yn proffesu ei fod yn

cymeradwyo eu hamcan, ac yn dymuno eu llwyddiant; ond nid oedd ei galon ddim gyda hwy, oblegyd yr oedd yn ofni y profai eu rhyfel yn y diwedd yn brofedigaethus a niweidiol i'w holl ymerodraeth.

Dacw fyddin fawr o dros 600,000 o arfog wŷr, heblaw offeiriaid a meddygon, a chrefftwyr, a chludwyr, a gwragedd, a chanlyn-wragedd, a merchedos, a phlant, yn awr ar eu hymdaith tua Jerusalem. Dacw hwy wedi cyrhaedd yn lled gyflawn a diangol i dir Asia. Yr oeddynt yn llon'd cryn wlad o bobl, yn symud yn mlaen dan eu gwahanol lumanau. Yr oedd yn eu gwersyll bob iaith yn cael ei siarad, a phob math o ddillad yn cael eu gwisgo: yr offeiriaid yn eu mentyll a'u llodrau canonaidd, y cadlywyddion yn eu brethynau drudfawr, a'u ser a'u ribanau, a'u byclau, a than eu llawn arfogaeth; y milwyr cyffredin yn eu siacedau a'u llodrau breision; a'r *serfs*, neu y gweision isaf, a'r gwregys cortyn am eu lwynau i rwymo eu dilladach llwydaidd am danynt. Clywid yno y meirch porthiannus yn gweryru ar eu gilydd, ac aflonydd dwrf olwynion cerbydau a mèni o bob math a maint yn llwythog o bob rhyw ddarpariaethau. Yr oedd y gwragedd a'r merched yn fyw drwy y gwersyll, yn brysur gyda'u negeseuon, neu yn dilyn eu mwynderau, ac yn ddoniol eu tafodau yn beirniadu ar drefniadau y gwahanol wersylloedd; ac yr oedd y plant yn neidio ac yn chwareu, gan weu drwy eu gilydd, rhwng y meirch ar méni, ac weithiau, wedi cael gafael yn yr arfau, yn dynwared ymarferiadau y swyddogion a'r milwyr; ac yr oedd "llun y groes" ganddynt oll ar eu gwisgoedd, a'u harfau, a'u holl offer a'u dodrefn Yn eu mysg yr oedd Pedr y Mynach yn cerdded yn wyllt ac yn gyflym, o gatrawd i gatrawd, ac o babell i babell, yn welw ei wedd gan gynwrf teimladau, wrth feddwl fod ei weddiau a'i bregethau wedi effeithio mor fawr, nes llwyddo i gychwyn y fath dyrfa ogoneddus i anturiaeth mor bwysig; a bod y dydd yn nesau pan y cai ddial ar y Mahometaniaid anffyddiog; am y dirmyg oedd wedi gael, pan ar ei bererindod i Jerusalem, ac am fod deugain mil y fintai gyntaf

:, ac ugain mil Walter ddigeiniog wedi cael eu dy-
n t od.

Ond helbulus y bu ar dyrfa fawr gyfoethog a threfnus y Pendefigion, y Duciaid a'r Tywysogion, mewn llawer man, ac ar lawer amgylchiad. Buont bron flwyddyn ar eu taith cyn cyrhaedd Caer Cystenyn, a buont ddwy flynedd lawn wedi hyny cyn cyrhaedd Jerusalem. Rhy anhawdd fyddai i ni ddirnad am eu peryglon, a'u blinderau, a'u gwasgfeuon o bob natur, wrth deithio am dros ddwy flynedd drwy diroedd y gelyn, a'r gelyn hwnw yn gryf, ac yn gyfrwys, ac yn greulawn. Ofer fyddai i ni gynyg son am eu mân frwydrau. Un o'u gorchestion cyntaf oedd gwarchae ar Nice, prif ddinas Bithynia. Dechreuodd y gwarchae yr wythnos gyntaf yn Mai, a pharhaodd hyd yr wythnos olaf yn Mehefin am dros chwech wythnos. Bu yno laddfa fawr yn eu mysg. Yr oedd amddiffynwyr y ddinas yn anfon eu saethau i'w gwersyll yn gawodydd beunyddiol, ac yr oedd ganddynt beirianau nerthol i daflu meini mawrion o ragfuriau y ddinas i'w dryllio hwy a'u pebyll. Yr oedd eu beddau yn llenwi y meusydd a'r coedwigoedd o amgylch y ddinas. Plygodd amddiffynwyr Nice o'r diwedd i roddi eu dinas i fyny, a gwnaethant gyfamod o heddwch ; ond nid â thywysogion y rhyfel, eithr â chenadwr ymerawdwr Caer Cystenyn, yr hwn oedd yn cael cryn anrhydedd ac awdurdod yn eu gwersyll, fel cynrychiolydd ymerodraeth Groeg: gwnaed yr heddwch y tu cefn i gapteniaid y rhyfel, ac yn ddiarwybod iddynt, a bu yn achos o ddigofaint a siomedigaeth. Buasai yn well ganddynt hwy enill y lle drwy nerth eu harfau, a rhoddi y preswylwyr oll i'r cleddyf ; ond gan i hyny gael ei luddias, gadawsant y ddinas yn sydyn a siomedig i fyned rhagddynt ar eu teithiau. Darfu i Sultan Bithynia a Soliman ei gyfaill ymgyngreirio i arwain eu byddinoedd i ymlid ar eu hol; a bu brwydr ofnadwy yn agos i Doryleum : ond rhyfelwyr y groes enillasant y fuddugoliaeth, eithr yr oedd yn un ddrud a gwaedlyd : bu laddfa fawr o'r ddwy ochr, yn enwedig o'r Mahometaniaid. Ar fyddinoedd Bohemond, a Tancred, a

y, y bu pwys y dydd hwnw, a gwnaethant orchestion
wydr.
dai byddinoedd y groes wrth dynu yn mlaen y rhan am-
ymwahanu, ac yn ymledu, gan gymeryd gwahanol ffyrdd,
cylch ëangach i anrheithio a difrodi. Darfu i Bald-
ıwd Godfrey hyd yn nod groesi yr Euphrades, gan orch-
ffordd i diroedd Mesopotamia ; a chafodd ei urddo yn
Tywysogaeth Edessa. Ar ol hir ymdaith felly ar wa-
farfu y byddinoedd i warchae ar Antioch, prif ddinas
yr hon oedd yn ddinas fawr, gref, gaerog, boblog, gyf-
a buont yno am saith mis, sef o ddiwedd Hydref hyd
eu Mehefin, yn dyfeisio ac yn defnyddio pob math o
au i ddryllio mur a phyrth y ddinas, ond ofer oedd eu
ewrder a'u holl ddyfais ; ac os bu eu cyfyngderau yn
ı, a'u lladdedigion yn lliosog wrth warchae ar Nice, yr
t yn ddeg mwy wrth warchae ar Antioch. Yr oedd
ddinas wedi trysori ynddi gyflawnder o luniaeth a phob
aethau gogyfer a'i hamddiffyn yn erbyn y gwarchae-
ıd darfu yn fuan yr holl luniaeth oedd yn y cyrhaedd y
ı i'r ddinas ; ac aeth newyn y gwarchaewyr mor drwm
eddynt yn bwyta, nid yn unig gig eu meirch lladdedig,
ifeiliaid meirwon eraill, ond yr oeddynt yn bwyta cnawd
ddynion lladdedig, a magodd hyny glefydau a heintiau
nysg, fel yr oeddynt yn meirw bob dydd wrth y can-
c yr oedd yr olwg arnynt yn niwedd y gwarchae yn
ol iawn i'r hyn ydoedd yn y dechreu. Yr oedd yno fil-
n melldithio y dydd y cychwynasant oddicartref, a chan-
ı ceisio dianc o'r fyddin, er gwaned oedd y gobaith idd-
llwyddo i gyrhaedd cartref drwy diriogaeth gelyn wedi
deiriogi gan yspryd dialeddau. Darfu i gynrychiolydd
wdwr Caer Cystenyn wneud esgus, a throi adref. Darfu
Melun a'i gangen ef o'r fyddin geisio dianc. Darfu i
Count Blois, gymeryd arno ei fod yn glaf a throi yn
. A gwaeth na'r cyfan, darfu i Pedr y Mynach,
mawr y rhyfel droi yn "coward," a chefnu ar ei

ymgyrch ei hun, a chynyg ffoi tu ag adref; ond daliwyd ef ar ei ffoedigaeth gan filwyr Tancred, ac arweiniwyd ef yn ol i'r fyddin fel enciliwr i gael ei geryddu yn gyhoeddus gan lŷs milwraidd. O'r diwedd, ar ol saith mis o warchae, ac ar ol i'r gwarchaewyr ddyoddef bron bob math o wasgfeuon, cymerwyd y ddinas; ond nid drwy nerth na dewrder milwraidd, nid drwy storm peirianau rhyfel, ond drwy frâd Capten Armeniaidd ag oedd y Tyrciaid wedi ymddiried i wylio un o dyrau pyrth y ddinas. Darfu i hwnw yn nyfnder noson ddu dymestlog ollwng milwyr y groes i mewn drwy'r porth, y rhai a ruthrasant i bob cwr o'r ddinas, ac a laddasant y preswylwyr heb eiriach neb, na gwr na gwraig, na mab na merch, na mawr na bach, na'r hynafgwr na'r baban. Buasai arbed yn drosedd o'u llw milwraidd, ac o gyfamod y rhyfel. Ar ol meddwi y cleddyf â gwaed wrth lofruddio y trigolion, ymollyngasant i lythineb a gloddest, a meddwdod, er anghofio eu gwasgfeuon a'u gofidiau, wrth ymdroi yn nghanol y llawnder ag oeddynt wedi enill mor ddrud. Ond pan oeddynt ar ganol eu gloddest fawr yn moli nerth eu harfau, ac yn ymfeddwi ar eu difyrwch, dyma fyddin fawr o ddau can' mil o'r Tyrciaid, dan fanerau y ddau faeslywydd enwog Kerboga a Saladin, yn amgylchynu y ddinas, a mawr oedd dychryn byddinoedd y groes wrth eu cael eu hunain yn awr, yn gwbl annisgwyliadwy, dan warchae gan y fath fyddin gref o elynion. Be buasai byddinoedd Kerboga a Soliman yn gwthio yn mlaen ychydig yn gyflymach, buasent yn dyfod ar warthaf milwyr y groes cyn iddynt enill y ddinas. Distawyd ar unwaith drwst eu gorfoledd, a buan y darfu yr ystôr o ŷd a gwin oedd yn y ddinas; a dyma hwy yn awr yn dyoddef ail newyn; ond eu bod yn gaeth yn y ddinas y tro yma, yn lle gwersyllu y tu allan i'w muriau; ac nid oedd dim gobaith am ymwared o un man, nid oedd dim ond marw o newyn yn ymddangos o'u blaen. Yr oedd yno ddigon o ddodrefn drudfawr a digon o wisgoedd o bob math er cludwch a harddwch, ond nid atebent yn lle ymborth. Ond pan oeddynt ar lewygu gan y newyn, dyma amryw o'r milwyr yn ngwres eu

hafiechyd a'u pryder, ac yn sêl eu coelgrefydd, yn dechreu cyhoeddi eu bod wedi breuddwydio breuddwydion, ac wedi gweled gweledigaethau, a bod Crist y Groes, a'i apostolion, wedi ymddangos iddynt i'w cyfarwyddo a'u calonogi: ac un bore dyma filwr yn gwyllt gerdded o amgylch i gyhoeddi iddo gael ei hysbysu y noson hono gan apostol, fod y waywffon ag oedd wedi trywanu ystlys Iesu i'w chael mewn man cudd penodedig dan lawr eglwys Sant Pedr. Anfonwyd mintai ar unwaith i chwilio y fan, a buwyd yn cloddio yn hir yno, ond heb gael dim: o'r diwedd disgynodd y breuddwydiwr i'r guddfa a dechreuodd droi a chrafu y pridd, a dyma ef o'r diwedd yn codi ei ben, ac yn gwaeddi ei fod wedi cael y waywffon, a dyma ef yn neidio i'r lan o'r guddfa oeddynt wedi gloddio, a blaen gwaywffon rydlyd yn ei law; ac aeth y newydd, ar unwaith fel fflam wyllt drwy'r holl ddinas, a mawr oedd cynwrf y gorfoledd; a dyma'r milwyr oll dan eu harfau, yn boethwyllt o sêl a gwroldeb, ac o awydd i ymladd a'r fyddin fawr oedd yn gwersyllu dan eu harfau y tu allan i'r mur. A dacw hwy, a'u cleddyfau yn eu dwylaw, yn agor y pyrth, ac yn ymwthio allan; ac er eu bod yn haner newynog, ac yn ychydig o nifer, mewn cydmariaeth i'r Mahometaniaid, y rhai oeddynt yn eu trefn, a'u trwsiad, a'u nerth goreu, eto enillwyd y dydd gan fyddinoedd y groes. Yr oeddynt dan ddylanwad eu breuddwydion a'u gweledigaethau, yn ymladd fel ysprydion gwallgofiaid. Lladdwyd naw mil a thriugain o'r Mahometaniaid. Dyryswyd a gorchfygwyd y ddau faeslywydd enwog Soliman a Kerboga, a chwalwyd eu lluoedd fel chwalu peiswyn o flaen corwynt; a chafwyd anrhaith fawr, a chyflawnder o bob rhyw luniaeth yn ngwersyllfa y gelyn. Yna dychwelasant i'r ddinas, i orphwys ac i wledda, ac i ddiolch; a phenderfynasant aros yno nes y byddai i wres yr hâf fyned heibio. Anfonwyd Hugh Fawr ac amryw gapteniaid eraill yn ol i Gaer Cystenyn i adrodd eu helynt, ac i ymbil ac ymresymu am i'r ymerawdwr anfon ei fyddinoedd yn mlaen yn ddioed, yn ol ei addewidion, i'w cynorthwyo yn eu hanturiaeth i adenill Jerusalem i fod yn eiddo i

Gristionogaeth. Yr oeddynt wedi disgwyl yn bryderus y buasai yr ymerawdwr wedi anfon cyfnerthion iddynt i enill Antioch, a darfu iddo gychwyn ei fyddin, ond trodd yn ol wrth glywed am y newyn, a'r haint, a'r gwasgfeuon eraill oeddynt yn ddyoddef yno. Anffyddlon yr ymddygodd yr ymerawdwr tuag atynt, trwy dori ei ymrwymiadau iddynt; ac yr oeddynt yn ystyried hyny yn annheg iawn ynddo, ar ol y cytundeb fu rhyngddynt; ac am fod tori grym y Mahometaniaid o fwy o bwys i'w ymerodraeth ef nag ydoedd i deyrnasoedd Europe.

Ar ol cyrhaedd i Gaer Cystenyn yn ol, cododd hiraeth am ei gartref yn nghalon Hugh Fawr, ac aeth yn ei flaen tuag adref i Ffrainc, yn lle dychwelyd yn ol i Antioch i flaenori a chynorthwyo ei filwyr. Trymhaodd yr haint yn y ddinas drwy amlder y marwolaethau ynddi, ac wrth fod y fath gelanedd wedi bod o'i deutu, a hyny yn ngwres y flwyddyn. Yr oedd naw mil a thriugain o'r Mahometaniaid wedi cael eu lladd yn y frwydr; a diau fod mwy na hyny o filwyr y groes, rhwng y frwydr a saith mis y gwarchae, wedi syrthio yn lladdedig.

O'r diwedd wele hwy yn cychwyn eilwaith i'w taith; ac ar ol llawer o ddyddiau o ludded a blinder, a chynenau a'u gilydd a brwydrau â'r gelynion, dacw ryw ddeugain mil o honynt—yr oll oedd yn ngweddill o'r chwe' chan' mil ddarfuasai gychwyn i'r rhyfel dair blynedd cyn hyny—dacw y deugain mil, rhyw un o bob pymtheg a'r a weddillasid, ar fore teg yn mis Mehefin, o'r flwydd 1099, yn ymdaith drwy Emmaus tua Jerusalem, ar hyd hen ffordd yr ymddiddan rhwng Iesu a'r ddau ddisgybl brydnawn dydd ei adgyfodiad, a dacw hwy yn dyfod i olwg y ddinas, ac ar hyny dyna rai yn neidio, ac yn gweiddi, ac yn molianu, a rhai yn wylo ac yn gweddio, a rhai ar eu hwynebau yn cusanu y ddaear, a rhai yn syllu mewn syndod, heb fedru symud, a phawb oll o honynt wedi cael eu llwyr orchfygu gan eu teimladau yn yr olwg gyntaf ar demlau a phinaclau hen ddinas Jerusalem.

Dechreuwyd y gwarchae ar unwaith, a pharhaodd am lawn bum' wythnos. Yr oedd deugain mil o Dyrciaid, dan eu har-

fan, wedi eu gosod i amddiffyn y lle; ac yr oeddynt yn ymladd gyda dewrder a ffyrnigrwydd. Ac yr oedd milwyr y groes, o'r tu arall, trwy y profiad drud a chwerw a gawsent wrth Nice, ac Antioch, a manau eraill, wedi dysgu y dullian effeithiolaf i warchae ar y fath ddinas. Erbyn un bore, dyma dŵr uchel wedi ei adeiladu ar olwynion yn cael ei symud yn mlaen at y mur, a math o bont grogedig yn cael ei thaflu o ben y tŵr hwnw i ben y mur, a Godfrey, a rhai o'i gapteniaid ac o'i filwyr dewisol, yn neidio ar hyd y bont hono i ben y mur; yn y cyfamser yr oedd Robert, Duc Normandy, a Tancred a'u milwyr, mewn man arall, wedi dryllio un o'r pyrth ac yn rhuthro i mewn i'r ddinas; ac ar yr un pryd yr oedd Raimond o Toulouse yn dringo dros y mur ar hyd ysgolion, i gwr arall o'r ddinas, ac ni bu erioed cyn hyny y fath laddfa ar yr anffyddwyr: yr oedd milwyr y groes yn rhwygo, ac yn dryllio, ac yn concro y cyfan o'u blaen. Ac felly dacw le genedigaeth Cristionogaeth, crefydd bur gariadlawn Tywysog addfwyn y tangnefedd, yn cael ei henill drwy fin y cledd, yn nghanol ocheneidiau, ac wbanau, a chableddau miloedd o Fahometaniaid wrth farw yn eu gwaed, ac ar y pymthegfed dydd o Orphenaf 1099, dacw faner y groes wedi ei chodi, ac yn chwareu yn yr awel, ar faen penaf mur Jerusalem. Ac O'r dagrau o lawenydd a'r caniadau o orfoledd a ddilynodd hyny! O'r ymweliadau duwiol a dedwydd â'r lleoedd sanctaidd! O'r cyffesu pechodau, a'r addunedu i fyw'n sanctaidd, a'r gweddio dibaid oedd ar fryn y groes, ac yn ngardd y bedd sanctaidd! O'r galw am felldithion ar yr *infidel* oedd yn mhob gweddi ac yn mhob cân! ac O'r gorfoledd oedd yn chwyddo yn mynwes pob un ag oedd wedi bod o ryw help i enill Jerusalem! Y mae'n wir fod yr ymdrech a'r llafur wedi bod yn ddrud alaethus. Y mae'n wir fod canoedd o filoedd wedi colli eu bywydau yn yr anturiaeth, a bod pob un oedd yn fyw i fwynhau gorfoledd y fuddugoliaeth, wedi colli llaweroedd o'i gyfeillion a'i berthynasau agosaf ac anwylaf, ond yr oeddid o'r diwedd wedi ENILL JERUSALEM. Ac yr oedd Pedr y Mynach yno yn cael mwyn-

h sêl tanllyd ei bregethau, ac yn cael bron ei add- oll fyddin; ond bernir iddo farw yn bur fuan ar y; oulegyd nid oes dim un gair o son am dano byth ar y: ac nid oes dim sicrwydd yr arddelir ei sêl a'i lafur Feistr, y Barnwr cyfiawn, yn y dydd diweddaf.

ol cymeryd Jerusalem urddwyd Godfrey o Bouillon yn frenin Jerusalem a Palestina, a Bohemond o Itali yn frenin Antioch yn Syria, a Baldwin, brawd Godfrey, yn frenin Edessa yn Mesopotamia; ac fel hyn, yn niwedd yr unfed ganrif ar ddeg, y terfynodd rhyfel cyntaf y groes.

Enillodd milwyr y groes felly dri o safleoedd cedyrn, cyfleus, yn hen wledydd enwog y Dwyrain: sef Jerusalem yn Palestina, Antioch yn Syria, ac Edessa yn Mesopotamia, a darfu iddynt ddal y safleoedd hyny am bron haner can' mlynedd, gan enill tir newydd o'u deutu bron yn barhaus. Yr oedd pererinion wrth y miloedd bob blwyddyn yn dyfod atynt i sefydlu, a buasent yn cryfhau yn llawer cyflymach, oni buasai y cenfigenau oedd yn ffynu yn eu mysg eu hunain, ac yn enwedig yn mysg eu penaethiad. Pan y byddai brenin farw, byddai amryw yn union a'u llygaid ar ei le, ac yn cynllwyn am ei gael. Pan y byddai Patriarch Jerusalem, neu Esgob Bethlehem yn marw, byddai ymwthio creulawn a dichellgar yn mysg y gwŷr eglwysig am ei le, ac wrth ymwthio felly ar draws eu gilydd, yr oeddynt yn gwenwyno eu hysprydoedd, yn drygu eu cymeriadau, yn nychu nerth eu dylanwad, ac yn atal pob cynydd gwladol a chrefyddol.

Yn mhen rhyw wyth mlynedd a deugain ar ol rhyfel cyntaf y groes, pan oedd y Godfreys, a'r Baldwins, a'r Tancreds, a'r Bohemonds, a holl gapteniaid eraill y rhyfel, wedi disgyn i'r bedd, darfu i un o dywysogion y Tyrciaid, sef y dewrwych Emad Eddin Zenghi gymeryd dinas Edessa pan oedd ei brenin glwth a diog oddicartref yn gloddesta ac yn dilyn difyrwch, a phan y bu Zenghi farw yr oedd ganddo ddau fab cedyrn a gwrol, a chyfrwys, i gymeryd ei le; urddwyd un o honynt, sef Saphaddin yn llywydd Mosul ar y Tigris, ar gyfer adfeilion yr

hen Ninife; a'r llall, sef Noureddin, yn llywydd Aleppo, yn Syria: a darfu i filwyr y groes fethu llwyddo yn eu herbyn i adgymeryd Edessa. Oblegyd hyny anfonwyd deisyfiadau taer-ion i Europe am adgyfnerthion, ac ail-enynwyd yspryd y rhy-fel. Pregethwr mawr yr ail ryfel oedd y selog SANT BERNARD. Yr oedd yn Fynach o'r enw uchaf am ei ddysg a'i ddoniau, a'i ddiwydrwydd a'i dduwioldeb. Darlunid ei ysgrifeniadau fel "ffrwd o baradwys," ac yr oedd ei addysgiadau mor felus fel yr enwid ef y "pregethwr mêl-enau." Yr oedd yn wir hoff o athrawiaethau ymarferol Cristionogaeth. Yr oedd yn gyng-orwr ac yn gerydd wr ffyddlon i Babau ac Esgobion, ac yn ddyddiwr rhwng tywysogion. Ceryddai heb arbed gamweddau y Mynachod. Gwrthododd bob derchafiad eglwysig, a bu farw heb uwch enw nag Abad Clairvaux; ond yr oedd yn cael ei ystyried fel Oracl gan bron holl lysoedd a holl eglwysi Eu-rope, a chafodd ei seintio gydag anrhydedd mawr ar ol dydd ei farwolaeth.

Cafodd y duwiol Sant Bernard ei lwyr feddianu gan yspryd "Rhyfel y Groes;" a phan feddylir am ei ddylanwad fel duw-inydd, a'i ddoniau rhyfeddol fel pregethwr, ac am wres ei sêl yn yr achos, nid rhyfedd iddo fedru llwyddo i danio a chyn-hyrfu Europe i godi at ail ryfel. Casglwyd dwy fyddin fawr o dros haner miliwn bob un. Yr oedd y ddwy gyda'u gilydd yn cynwys tros fil o filoedd o filwyr. Cychwynodd un dan lyw-yddiaeth Conrad y III, Ymerawdwr Germany; a'r llall dan lywyddiaeth Louis y VII, brenin Ffrainc. Ond er yr holl ddar-pariaeth, a'r holl frwdfrydedd trodd y cyfan yn aflwyddiant. Gorchfygwyd a llwyr ddifethwyd byddin Conrad gan y Tyrc-iaid yn agos i Iconium, a drylliwyd byddin Louis yn nghymau mynyddoedd Pisidia. Diangodd Conrad a Louis i Europe drwy fyrdd o rwystrau, a therfynodd yr ail ryfel heb ateb un-rhyw ddyben, ond gwario miliynau o eiddo, a dyfetha dros fil-iwn o fywydau, a gadael miloedd lawer o'r pererinion i derfynu eu dyddiau mewn caethiwed Mahometanaidd; a chysur tlawd i galon Sant Bernard wrth farw oedd yr adgofion am ei breg-ethau tanllyd o blaid Rhyfel y Groes.

Tua phen deugain mlynedd ar ol hyn yr oedd Saladin Fawr, drwy ei graffineb, a'i ddoniau, a'i ddewrder milwraidd, wedi codi i fod yn un o brif dywysogion y Tyrciaid. Yr oedd wedi llwyddo i ddarostwng amryw o'r mân-dywysogion o'i ddeutu i fod yn blygedig iddo. Yr oedd yn Fahometydd trwyadl a gwresog; ac yr oedd ei galon gref yn llosgi o awydd i "dalu y pwyth" i'r Cristionogion, ac i enill y tir sanctaidd, a'u lleoedd sanctaidd yn ol oddiarnynt; a chasglodd fyddin i'r dyben hyny o dros haner can' mil o wŷr meirch, a minteioedd dirif o wŷr traed. Yn ngwyneb y fath berygl ceisiodd tywysogion y groes anghofio eu cynhenau, a chyd-ymgyngreirio i wrthsefyll galluoedd y gelyn; ond enillodd Saladin fuddugoliaeth lwyr yn y frwydr fawr wrth Tiberias. Bu yno laddfa fawr iawn o filwyr y Groes; a chymerwyd brenin Jerusalem a llu o gâd-lywyddion eraill yn garcharorion rhyfel; ac aeth y gorchfygwr cadarn yn ei flaen, gan gymeryd dinas ar ol dinas; a gorfu i breswylwyr Jerusalem, yn y diwedd, ar ol pedwar diwrnod ar ddeg o warchae, blygu i'w drugaredd. Ond ymddygodd Saladin y Twrc, ar ol cymeryd Jerusalem, yn llawer mwy tirion tu ag at y preswylwyr nag yr ymddygasai milwyr y groes pan enillasant hwy y ddinas. Ni oddefodd Saladin i neb o'r preswylwyr gael eu llofruddio. Goddefodd iddynt brynu eu rhyddid am bridwerth isel iawn; a chawsant berffaith ryddid i ymadael i fyned i'r man y mynent. Ymddygodd hefyd yn nodedig o hynaws a boneddigaidd tu ag at y boneddigesau. Ni oddefodd iddynt gael unrhyw anmharch; ac yr oedd milwyr y groes eu hunain yn gorfod cydnabod mai "gwr boneddig" drwyddo oedd Saladin; ac nad oedd dim o'r barbariad ynddo, ond yn unig yn ei enw. Goresgynodd holl dir Palestina, oddieithr dinas Tyre, ar lan y môr; ac felly aeth Jerusalem a'r lleoedd sanctaidd yn ol drachefn i feddiant y Mahometaniaid; ar ol bod am ddeng mlynedd a phedwar ugain yn meddiant ymladdwyr y Groes.

Pan ddeallwyd hyn, dyma waedd, ac adwaedd y drydedd waith, drwy holl wledydd Europe, am ryfel er adenill Jerusa-

lem a lle y groes o feddiant y Twrc. Yr oedd Pedr y Mynach erbyn hyn yn ddistaw yn ei fedd, a Sant Bernard yn ei fedd. Pregethwr mawr y trydydd ryfel oedd William, Archesgob Tyre. Gadawodd ei Archesgobaeth, a llwyddodd i ddianc i Rufain, er gallu cychwyn taith drwy Europe, dan drwydded ac awdurdod y Pab, i bregethu rhyfel newydd dan arwydd y groes, er adenill Jerusalem oddiar y Mahometaniaid. Yr oedd yntau yn bregethwr mawr, bron mor effeithiol a'i ddau ragflaenor; ac ysgydwodd ei bregethau holl wledydd Europe. Dywedir i'r Pab Urban y Pedwerydd dori ei galon wrth glywed yr adroddiad am fuddugoliaethau Saladin, ac am golli Jerusalem. Ond ymgryfhaodd ei ddilynydd, Gregory yr Wythfed, i alw ac anog holl ddeiliaid ei eglwys yn mhob man i barotoi a brysio i ryfel er adenill Jerusalem; a threthodd bob dosbarth fel eu gilydd, i gysegru y ddegfed ran o'u heiddo at draul y rhyfel Ar alwad y Pab, a than gynhyrfiad pregethau tanllyd ac effeithiol Archesgob Tyre, dechreuodd pob Tywysog yn Europe barotoi ei bobl tu ag at y rhyfel. Frederic y Cyntaf o Germany, a Philip Augustus o Ffrainc, a Richard y Cyntaf o Loegr, oeddynt y Prif Gâd-flaenoriaid. Ymerawdwr Germany oedd y cyntaf i gychwyn. Yr oedd ganddo fyddin ardderchog, a gorchfygodd ei ffordd drwy diroedd Groeg, a thrwy Asia leiaf; ond pan oedd ar oror Palestina bu farw yn sydyn yn ddeg a thriugain oed, o herwydd iddo ymdrochi yn rhyfygus, pan mewn gormod o chwys a poethder. Aeth ei fyddin yn mlaen er hyny dan Gapteniaeth ei fab, gan ymladd eu ffordd drwy bob anhawsderau, nes iddynt gyrhaedd i gynorthwyo eu cyd-Gristionogion yn Palestina, y rhai oeddynt y pryd hyny wedi ymuno i warchae ar Acre; a buont yno bron ddwy flynedd, mewn amddiffynfa gref, yn gwersyllu o flaen Acre. Yr oedd Saladin er ei holl nerthoedd yn methu eu gorchfygu oddiyno; ac yr oeddynt hwythau yn methu cymeryd Acre O'r diwedd, ar ol hir ddisgwyl yn bryderus am danynt, dyma lyngesau Lloegr a Ffrainc yn dyfod i'r golwg, ac yn glanio eu byddinoedd i'w cynorthwyo; ac yn mhen ychydig

ddyddiau ar ol cael y fath adgyfnerthiad, cymerwyd Acre; ac oni buasai yr eiddigedd gâs ag oedd rhwng brenin Lloegr a brenin Ffrainc, ag oedd yn lluddias iddynt gydymgynghori a chydweithredu o galon, mae'n amlwg y gallasent ddarostwng yr holl wlad y pryd hyny; ond digalonwyd a gwanychwyd byddinoedd y groes yn fawr iawn trwy ddychweliad brenin Ffrainc a'i luoedd yn ol adref yn lled fuan ar ol cymeryd Acre. Erbyn hyny Richard, brenin Lloegr, oedd prif flaenor byddinoedd y groes, ond yr oedd cynhenau yn lled fynych rhyngddo ef â rhai o'r blaenoriaid eraill; a chan fod hiraeth drwy ei galon am Loegr, a galwad hefyd am iddo ddychwelyd adref i ofalu am drefn ei deyrnas ei hun; yr oedd yn dda iawn ganddo gael cyfle i wneud heddwch â Saladin ar ammodau anrhydeddus. Cyfarfu Richard o Loegr a Saladin Fawr a'u gilydd. Gwenasant yn foesgar a thywysogaidd ar eu gilydd. Siaradasant yn rhydd a boneddigaidd â'u gilydd. Yr oedd yn dda gan y naill fel y llall iddynt gyfarfod felly mewn yspryd heddychgar. Cytunasant ar ammodau o heddwch, a siglasant ddwylaw, fel arwydd o gyfeillgarwch, ac o ffyddlondeb i'w cyfammod. Yr oeddynt yn ystyried arwydd felly mor rwymiadol a llwon a seliau. Yr oeddynt yn ddau ddyn o ysprydoedd cryfion ac uchelfrydig, ond yr oedd llawer o wir fawredd yn perthynu i bob un o honynt. Yr oedd yr heddwch i gael ei gadw am dair blynedd ac wyth mis. Yr oedd Caerfa Ascalon i gael ei ddryllio. Yr oedd y Cristionogion i gael Joppa a Tyre, a'r holl wlad ag oedd yn gorwedd rhyngddynt. Yr oedd y pererinion o Europe i gael pob rhyddid i ymweled â Jerusalem; a goddefodd Saladin hyd yn nod fwy na'i addewid; caniataodd i gymdeithasau Cristionogol gael eu sefydlu yn Jerusalem, a Bethlehem, a Nazareth, a chadwodd yn fanylaidd a ffyddlon at ammodau y cytundeb. Felly terfynodd helynt y trydydd ryfel. Yr oedd yr heddwch yn anrhydedd mawr i Richard ac i Saladin. Yr oedd gair uchel iawn iddynt am ddewrder a doethineb. Addefai y Mahometaniaid mai dyn mawr call a gwrol oedd y brenin Richard, neu "Melec Ric,"

fel y byddent yn ei alw; ac addefai milwyr y groes, mai dyn mawr dewr, cyfrwys, a "gwir foneddigaidd" oedd Saladin Fawr.

Rhaid addef mai dynion dewrion oeddynt. Ond yn lle defnyddio eu doniau a'i dewrder i leshau cymdeithas, gwnaethant eu llawn ran i leawi y byd â melldith. Darfu i Richard unwaith dori penau pum' mil o'i garcharorion rhyfel Mahometanaidd, am i Saladin dori amod rhyw gadoediad oedd rhyngddynt; a darfu i Saladin yn ddioed, er talu y pwyth iddo, dori penau pum' mil o Gristionogion ag oeddynt ganddo yntau yn garcharorion rhyfel. Y mae yn decach i alw y fath ddynion yn farbariaid, na'u galw yn foneddigion; ac yn wir barbariaid ydyw y cyfenw a roddir iddynt yn nghof-lyfrau ac yn nghynadleddau byd y "cyfiawnion." Nid oedd gan Richard yn dychwelyd adref i Loegr ond gweddill bach o'r fyddin fawr, gref, oedd ganddo yn cychwyn tua Jerusalem. Aeth yn llongddrylliad arnynt ar eu mordaith adref; ac wrth grwydro ar draws tiriogaeth ei elyn, Duke Austria, cafodd Richard ei adnabod, a'i ddal, a'i gadw mewn caethiwed; a gorfu i'w ddeiliaid tlodion dalu treth drom iawn er gwneud i fynu y pridwerth mawr a ofynid er prynu ei ryddhad. Treuliodd Richard naw mlynedd, a naw mis o ddeng mlynedd ei deyrnasiad, oddicartref, allan o'i wlad, mewn rhyfelgyrchoedd anfuddiol ac ynfyd. Ni threuliodd ond tri mis byr yn ei Lys gartref i arolygu gofalon ei freniniaeth. Lladdwyd ef wrth warchae ar gastell Limousin yn Ffrainc; a dilynwyd ef yn y freniniaeth gan ei frawd John, yr hwn oedd wedi cael ei lygru a'i galedu a'i gamarwain yn ofnadwy drwy siamplau ei frodyr, ac eraill o'i geraint.

Bu Saladin farw yn mhen dwy flynedd ar ol y rhyfel. Pan ar ei glaf wely, ychydig cyn marw, archodd ar fod i'r amdo ag oedd wedi cael ei barotoi iddo, gael ei ddangos yn gyhoeddus, ac archodd am i gyhoeddwr lefain, "Dyma yr oll a all Saladin Fawr gadw iddo ei hun o'i holl fuddugoliaethau." Nid oedd y bregeth ond ber, ond yr oedd yn bur effeithiol i esbonio gwagedd ac oferedd rhwysg a mawredd y byd.

Bu Richard fel y nodwyd, pan ar ei ffordd adref, yn garcharor yn Austria, am lawer o fisoedd; ond cyrhaeddodd adref ar ol rhyw flwyddyn a haner o deithio; a bu yntau farw yn mhen pum' mlynedd ar ol Saladin. Terfynwyd felly y trydydd ryfel heb enill adfeddiant o Jerusalem.

Yn ystod y ganrif ddilynol gwnaed pedwar cynyg drachefn i adenill Palestina a'r lleoedd sanctaidd, ond buont oll yn aflwyddianus; ac aeth yr holl draul yn ofer. Gwnaed y cyntaf ar anogaeth y Pab Innocent y Trydydd. Arweiniwyd byddinoedd trefnus a lliosog allan gan brif faes-lywyddion Ffrainc ac Itali; ond yn lle myned rhag eu blaen i ymladd â'r Mahometaniaid, troisant oddiwrth eu hamcan dechreuol, i ddarostwng ymerodraeth Groeg; a threuliwyd nerth y rhyfel hwnw tua Chaer Cystenyn, yn lle yn Jerusalem.

Gwnaed y cynyg nesaf gan Frederick, Ymerawdwr Germany; ond terfynodd hwnw mewn cytundeb rhwng yr Ymerawdwr a Sultan yr Aipht; cafodd ran o Palestina; ac ar ol yr urddas difudd a diystyr o gymeryd ei goroni yn Jerusalem, dychwelodd i Europe; ond dygwyd oddiarno cyn hyny yr ychydig oedd wedi enill.

Gwnaed cynyg arall gan Louis y Nawfed o Ffrainc; ond llwyr orchfygwyd ei fyddinoedd; a chymerwyd yntau yn garcharor; a gorfu iddo dalu iawn mawr er prynu ei ryddid.

Gwnaed y cynyg diweddaf gan y Tywysog Edward o Loegr, ŵyr y brenin Richard, ac wedi hyny Edward y Cyntaf. Yr oedd cymeriad uchel i'r tywysog ieuanc am ei yspryd a'i ddoniau milwraidd. Yr oedd wedi cael lle i ddisgwyl y buasai yn cael myned i ryfel y groes dan faner brenin Ffrainc; ond clybu gydag iddo gychwyn fod brenin Ffrainc yn troi i ymladd â'r Mooriaid yn Affrica: er hyny aeth Edward yn ei flaen tua Palestina. Yr oedd enw uchel iddo wedi cyrhaedd yno o'i flaen, ac ymrestrodd lluoedd o filwyr y groes yn uniongyrchol dan lywyddiaeth ei faner: ond ni chyflawnodd ddim gorchestion o bwys tra y bu yno; a dychwelodd yn fuan i esgyn gorsedd ei dadau. Yn fuan ar ol hyny syrthiodd Acre ac Anti-

ι, a'r ychydig leoedd eraill ag oeddynt yn cael eu dal gan y stionogion i feddiant y Mahometaniaid, ac y maent yn eu ddiant hyd y dydd hwn. Gwnaeth Buonaparte, yn nech-ıad y ganrif yma, gynyg at enill Palestina o feddiant y Tyrc-d; a bu'n gwarchae ar Acre; ond gorchfygwyd ei fyddin n y Tyrciaid a'r Prydeiniaid dan Gapteniaeth Syr Sidney ıith.

Dyma ychydig o grybwylliadau byrion am rai o brif hel-tion "Rhyfeloedd y Groes." Gwelir iddynt oll fethu yn eu mcan i sefydlu Cristionogaeth yn hen wledydd cychwyniad istionogaeth.

Y mae llaweroedd wedi bod yn amddiffyn rhyfeloedd y oes; ac yn dadlu iddynt achosi llawer o ddaioni, er iddynt hu yn eu hamcan, Y mae yr enwog Guizot, un o brif ddyn-ı yr oes, fel Hanesydd, a Hynafieithydd, ac Athronydd, yn esymu i ryfeloedd y groes effeithio yn dda ar wareiddiad a esau y byd; i'r Tyrciaid ddysgu llawer o rinweddau gan y istionogion, ac i'r Cristionogion ddysgu llawer gan y Tyrc-d. Ond, gellid gofyn, i Guizot a'i frodyr,—onid allasai y istionogion a'r Mahometaniaid ddysgu gan eu gilydd drwy d-fasnachaeth, drwy gyd-deithio, drwy lythyrau a thrwy frau, a thrwy rydd-gyfeillachau? ac onid allasent ddysgu n eu gilydd yn llawer gwell drwy foddion felly, na thrwy gy-fod eu gilydd mewn brwydrau angeuol ar faes y gwaed? wyf yn meddwl fod ymresymiad Guizot gyda golwg ar fudd-deb y fath ryfeloedd yn hollol ddi-sail; a bod ei gasgliadau rhai o'r dosbarth mwyaf cyfeiliornus a niweidiol. Y casgl-l tecaf ydyw fod y rhyfeloedd hyny wedi achosi colledion a weidiau annirnadwy drwy Europe, a thrwy y rhan fwyaf o ia. Nid hawdd i ni adael yr adroddiadau hyn heb wneud mp o sylwadau cymwysiadol, heb helaethu arnynt.

1. Nad oes dim all effeithio yn fwy niweidiol na rhagfarnau henfigenau sectyddol croes-bleidiau eglwysig. Yr ydym yn eled yn holl hanes y canol oesau fod Pabau Eglwys Rhuf-yn llawn o ragfarn yn erbyn Patriarchiaid Eglwys Groeg;

a bod y ddwy eglwys, heblaw cenfigenu wrth eu gilydd, yn llawn o gynddaredd tu ag at ddeiliaid eglwys fawr Mahomet. Ac yr oedd ymgais ac ymroad pob un o'r sectau hyn yn fwy o lawer at ddyfetha eu gilydd, nag at ddiwygio eu gilydd; ond cytunent oll yn burion i ddiraddio ac erlid, fel Heretic, bob Diwygiwr rhyddfrydig a fyddai am gynyg goleuo, a gwareiddio, a dedwyddu y byd drwy foddion efengylaidd. Yr oedd rhagfarnau a chenfigenau y croes-bleidiau hyn yn cadw y byd a'r eglwys mewn cynhenau a therfysgoedd anrheithol ac anorphen.

2. Fod deiliaid y credoau goreu, pan wedi ymollwng yn eu sêl a'u rhagfarn sectol i ffyrdd drwg, yn llithro yn fynych i eithafoedd gwrthunach a mwy niweidiol na'r barbariaid gwaethaf. Yr oedd creulonderau "milwyr y groes" pan yr enillasant Antioch a Jerusalem, mor farbaraidd a dim creulonderau a gyflawnwyd erioed gan y Mahometaniaid pan yn nghynddaredd poethaf eu barbareidd-dra. Y mae yn rhyfedd fod Urbaniaid, a Simeoniaid, a Bernardiaid yr eglwys Gristionogol yn medru serio eu cydwybodau i allu cymeradwyo y fath greulonderau.

3. Y mae yn alarus i feddwl fel y mae rhyfeloedd, a'r llygredigaethau cydfynedol â rhyfeloedd, wedi difwyno hen wledydd cyfoethocaf ac enwocaf y ddaear. O mor ffrwythlawn erbyn heddyw y buasai meusydd a gwinllanoedd, a gerddi a pherllanau dyffrynoedd mawrion y Nile, a'r Euphrades, a'r Tigris, oni buasai difrod a llygredigaethau rhyfel! O mor gyfoethog erbyn heddyw y buasai hen ddinasoedd enwog Palestina, a'r Aipht, a Syria, a Mesopotamia, ac Assyria, a Chaldea, a Media, a Persia, oni buasai difrod a llygredigaethau rhyfel! O mor ddeniadol erbyn heddyw y buasai golygfeydd hen dywysogaethau Groeg oddeutu Athen, a Corinth, a Philippi oni buasai difrod a llygredigaethau rhyfel! O mor brydferth erbyn heddyw y buasai gwyrddlesni yr ynysoedd lliosog sy'n gorphwys yn mynwes Môr y Canoldir oni buasai difrod a llygredigaethau rhyfel! O mor gyfleus erbyn heddyw y buasai hen borthladdoedd enwog holl ochrau y môr mawr hwnw oni buasai difrod a llygredigaethau rhyfel! Buasai yn hyfryd

awn i roi tro drwy wastadedd Mamre, a gwastadedd yr Iorddonen, a gwastadedd Shinai, a thrwy ddyffryn Achor, a dyffryn Escol, ac i ddringo llethrau Pisga a Nebo, a Sinai a Seion, a Horeb a Hermon, a Carmel a Basan, a Libanus a Lebanon, a Mynydd yr Arch, a Mynydd yr Olew-wydd, a Mynydd y Groes, ac i ymweled â gerddi Solomon a Nebuchodonosor, a gardd Eden, a gardd Gethsemane, a gardd Joseph, pe buasai mwy o ôl diwydrwydd a chyfeillgarwch o gylch eu llwybrau, a llai o ôl trais a rhyfel wedi eu difwyno. Y mae yr adgofion am ddifrod, a galanastra, a llygredigaethau, a chreulonderau hen ryfeloedd gwaedlyd yr Assyriaid, a'r Babyloniaid, a'r Mediaid, a'r Persiaid, a'r Groegiaid cyn dyddiau Crist; a rhyfeloedd y Rhufeiniaid, a rhyfeloedd y Groes, a rhyfeloedd y Gothiaid a'r Vandaliaid ar ol hyny, yn llenwi yr holl enaid â gresyndod. O mor luosog a gwerthfawr erbyn heddyw y buasai manteision dysgeidiaeth a chelfyddyd, a chyfleusderau teithio a masnachu drwy yr holl hen wledydd hyny oni buasai difrod a llygredigaethau rhyfel!

4. Nid oes dim modd i bawb gael cartref yn Jerusalem, na chael tŷ haf yn nghoedwig Libanus, na chael gardd wrth afon Cedron, na chael gwinllan yn Engedi, na chael grawnsypiau o ddyffryn Escol, na chael gwinwryf ar odre Libanus, na chael perllan yn Eden, na chael teml ar Moria, na chapel yn Bethlehem, nac odfa yn Emmaus, na chymanfa ar ben Carmel, na swper yn Bethany, na chael llwyn cysgodfawr at fyfyrdod a gweddi ar Fynydd yr Olew-wydd, na chael lle beddrod yn ngardd Joseph, nac yn maes Macpelah. Gan nad eill pawb ddim cael y rhagorfreintiau hyn, beth a wneir yn wyneb hyny? Ai cynhyrfu gwahanol genedloedd i ymryson a'u gilydd am danynt, ac i ryfela a'u gilydd er cael meddiant o honynt? Nage, ond eu cynhyrfu i gydymaeog i geisio cael y byd oll yn gysegredig i'r Arglwydd, i geisio gwneud "lleoedd sanctaidd" yn mhob gardd ac yn mhob glyn, ar bob bryn ac yn mhob coedwig, i geisio cael pob anialwch a phob anghyfaneddle i lawenychu, a chael pob diffeithwch i orfoleddu a blodeuo fel rhosyn, i gael

banus i wisgo pob mynydd, a hyfrydwch Hermon ... b bryn, a godidowgrwydd Saron i brydferthu pob ... stad ... Cael pob gardd fel Eden, pob gwlad fel Palestina, cael y byd oll i flodeuo mewn harddwch, ac i lawenychu hefyd â llawenydd ac â chân, cael hen ddaear y felldith yn ddaear y fendith, yn ddaear newydd yn yr hon y bydd cyfiawnder a chariad yn cartrefu, a chael ei holl awyr yn llawn o "arogl peraidd" Cristionogaeth.

5. Dylai hanes "Rhyfeloedd y Groes" a phob hen hanes o'r fath, ein dysgu i gofio y rhaid i'r gwroniaid penaf blygu dan law angau. Mor fuan yr oedd pob Alexander a phob Cæsar, pob Hannibal a phob Scipio, pob Tancred a phob Saladin yn cael ei orchfygu gan angau. Nid oedd gan yr un o honynt ddim nerth yn nydd marwolaeth, ac nid oedd bwrw arfau yn y rhyfel hwnw. Yr unig ryfelwr anorchfygol yw yr hwn sy'n cymeryd ato holl arfogaeth Duw. Dyna'r unig ryfelwr sydd yn gallu gwrthsefyll yn y dydd drwg. Dyna'r unig ryfelwr gaiff "wedi gorphen pob peth sefyll." Y mae bywyd hwnw wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw. Y mae hwnw yn goncwerwr, ac yn "fwy na choncwerwr." Y mae ei Gapten yn ei wisgo mewn dillad gwynion, yn gosod ei enw yn llyfr y bywyd, yn cyffesu ei enw ger bron ei Dad a cher bron ei angylion ef, yn ysgrifenu arno enw ei Dduw, ac enw dinas ei Dduw, sef y Jerusalem newydd, ac yn ysgrifenu arno ei enw newydd ei hun, ac y mae yn rhoddi iddo eistedd gydag Ef ar ei orseddfainc, megis y gorchfygodd yntau, ac yr eisteddodd gyda'i Dad ar ei orseddfainc ef, a chaiff y gwir orchfygwyr eu gwneud yn freninoedd ac yn offeiriaid i Dduw ac i Grist, i deyrnasu gyda hwy yn oes oesoedd.

Y mae galw uchel yn awr am filwyr i'r rhyfel ysprydol. Y mae pregethwyr mwy gwresog a mwy efengylaidd nag Urban, ac na Bernard yn gwahodd ac yn cymell eu gwrandawyr i droi allan i "Ryfeloedd y Groes." Nid enill dinasoedd ydyw eu hamcan, ond enill eneidiau i gymdeithas rhinweddau Iawn mawr y Groes. Y mae'r udgyrn yn bloeddio i'r frwydr. Y

aneran yn chwifio ar holl binaglau tir Immanuel. Y
Milwyr y Groes" yn ymdaith i faes yr ymdrech; ac y
mewn gwell yspryd, ac mewn gwell arfogaeth nag oedd
Pedr y Mynach a Walter Pennyless. Y mae eu bryd
yr holl ddaear i'r iawn etifedd, sef i fod yn eiddo ein
ydd ni a'i Grist ef. Y mae yn wir fod milwyr y bwyst-
au-broffwyd ar y maes; y mae yn wir fod tywysogion
s y Babylon fawr, wedi eu dilladu â phorphor ac ysgar-
wedi eu gwychu ag aur a pherlau, yn arwain eu bydd-
i'r frwydr. Y mae yn wir hefyd fod milwyr anffydd-
choelgrefydd yn lliosog ac yn llidiog, a'u bod eto mewn
nt o'r lleoedd prydferthaf ac uchaf o'r maes, y mae yn
l ysprydion y pydew heb waelod wedi myned allan at
edd y ddaear er eu cynhyrfu i drefnu eu byddinoedd i
ur rhyfel yn erbyn yr hwn sydd yn eistedd ar y march
ac yn erbyn ei lu ef; y mae yn wir eu bod yn llawn
redd i ryfela â'r Oen, ond yr Oen a'u gorchfyga hwynt;
d Arglwydd arglwyddi ydyw, a Brenin breninoedd, ac
ganddo wisg wedi ei throchi mewn gwaed, ac ar ei ben
u lawer; a'r rhai sydd gydag ef ydynt alwedig, ac eth-
a ffyddlawn; a'i luoedd a'i canlynant ef ar feirch gwyn-
edi eu gwisgo mewn lliain main, gwyn a glân; ac arfau
vriaeth nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i
estyll i'r llawr. Gorchfygir Gog a Magog. Delir ys-
a y bwystfil a'r gau-broffwyd. Rhwymir Satan. Sef-
Jerusalem Newydd ar y ddaear. Bydd pabell Duw
lynion, ac efe a drig gyda hwy, ac a fydd yn Dduw idd-
sych ymaith bob deigr oddiar eu llygaid hwynt. Ac
dywedodd wrthyf, Ysgrifena, canys y mae y geiriau hyn
ir ac yn ffyddlon. Y mae y frwydr yn awr yn ei
der mwyaf ar bob cwr o'r maes, ac y mae y nefoedd yn
l i bob un o'i milwyr wneud ei ran, a'r hwn sydd yn
gu a etifedda bob peth. Y mae y fuddugoliaeth yn
drei o du saint Duw.

Gwir ydyw fod rhanau o'r wybren mewn cyffro,
  Ond tyrfu wrth gilio mae'r storom yn awr ;
Cenfigen a drenga, a nefol dangnefedd
  Deyrnasa mewn mawredd dros wyneb y llawr :
Dinystriol beirianau tân rhyfel a ddryllir,
  Y march coch a rwymir mewn cadwyn o bres ;
Ymleda yr heulwen, nes chwalu'r tywyllwch
  A blodau brawdgarwch a dŷf yn ei gwres.

Defnyna santeiddrwydd o'r nef fel gwlith Hermon,
  Melysa gysuron holl gylchoedd y byd ;
Addurna y cerbyd, a'r meitr, a'r goron,
  Nefola serchiadau y galon i gyd ;
Ireiddia ei olew olwynion masnachaeth,
  A hwylia ei awel holl longau y môr ;
Ei darth gwyd o'r allor, a'i iachus aroglau
  A leinw holl gonglau cysegroedd yr Iôr.

Yr anial di-annedd, fel rhosyn, flodeua,
  Y myrtwydd addurna hardd odrau y bryn ;
Yn mhen y mynyddoedd bydd ŷd yn ddyrneidiau,
  Tŷf brwyn lle bu'r dreigiau, daw'r crasdir yn llyn :
Bwytant o bêr ffrwythau'r gwinllanoedd a blanant,
  A'u tai gyfaneddant dros ddedwydd oes hir ;
Harddwridog a heinif y ceir y mab can' mlwydd
  Hyfrydwch a llwydd a briodant y tir.

Sylfaenir pryd hyn y Jerusalem Newydd
  A Saphir,—a hon fydd gogoniant y byd ;
O feini dymunol y gwneir ei therfynau,
  A'i phyrth fydd o berlau uchelbris i gyd :
Ag aur y palmentir ei llydain heolydd,
  O fewn ei magwrydd bydd iechyd dilyth,
A thrwy ei grisialaidd ffenestri tywyna
  Gogoniant Jehofa, heb fachlud mwy byth.

Tymhorau ei gweddwdod a'i galar a dderfydd,
  Llawenydd i'r holl genedlaethau a fydd ;
O fewn ei therfynau am drais byth ni chlywir,
  A chenedl a enir o'i mewn yr un dydd :
Breninoedd a welant ei dysglaer ogoniant,
  Ac iddi y dygant anrhegion heb rif ;
Diwellir ei phlant â helaethrwydd dyddanwch,
  A'i heddwch ymchwydda fel tònau y llif.

Llŷs Ior geir i'w chanol, ac allan o'i orsedd
  Yr afon risialaidd a lifa heb drai ;
O'i deutu bydd tyrfa nad ellir ei rhifo
  Yn rhodio heb deimlo na melldith na gwae :
Dan gysgod iachusol gwyrdd ddail pren y bywyd
  Cydgadwant wyl hyfryd heb lygredd na phoen :
A'r Oen ga'dd ei ladd a'u bugeilia hwy'n wastad,
  A byrdon eu caniad fydd—*Teilwng yw'r Oen*.

## COLUMBUS A'I DDARGANFYDDIADAU.

---

łanwyd Christopher Columbus yn Genoa tua'r flwyddyn .6. Yr oedd ei rieini o deulu cyfrifol, er yn isel eu ham-:hiadau. Eu galwedigaeth oedd cribo gwlân. Columbus .d yr hynaf o'u plant, tri mab ac un ferch. Yr oedd ei ιu frawd, Bartholomew a Diego, yn meddu llawer o'r un ys-'d ag yntau. Ychydig wyddir o hanes eu mebyd, ond y e'n amlwg i'w rhieni wneud ymdrech i roddi ysgol iddynt. sgodd Columbus ddarllen, ac ysgrifenu, ac elfenau rhifydd-h, pan yn bur ieuanc. Bu am ychydig fisoedd yn athrofa rog Padua. Ymroddodd tra yno i ddysgu *mathematics*, enwedig y cangenau cysylltiedig â seryddiaeth, morwriaeth, aearyddiaeth. Gorfu iddo droi adref o'r athrofa pan yn lair ar ddeg oed. Nid oedd ganddo ddim chwaeth at drin lân. Yr oedd ei holl galon ar forwriaeth. Yr oedd Genoa ιryd hyny yn enwog am ei llongau, wrth ei bod mewn lle r fanteisiol ar lan Môr y Canoldir. Yr oedd llawer o'i :hgyn ieuainc yn troi allan yn forwyr. Dechreuodd Colum-ꞩ ei yrfa fel morwr cyn bod yn bymtheg oed; ac yr oedd dechreu yn deall morwriaeth yn well na neb o'i gyfoedion. yn hwylio llongau marsiandiaeth i wahanol borthladdoedd ι oedd yn bedair ar ddeg ar hugain oed, pan y symudodd i r i Lisbon. Priododd yno ferch i forwr enwog, a chafodd la hono lyfrau a mapiau, ac offer morwriaeth ei thad. Ei f waith, drwy y pymtheg mlynedd y bu yn Lisbon, oedd u mapiau. Yr oedd hyny yn dwyn cryn enill iddo, oblegyd . mapiau lled gyflawn yn gwerthu yn uchel yn y dyddiau ιy, cyn dyfeisio y gelfyddyd o'u hargraffu. Byddai map da werth cau' punt. Llywodraeth Portugal, yn yr oes hono, .d y flaenaf yn Europe am gefnogi morwriaeth. Yr oeddid › ddeall y pryd hyny y gellid hwylio o gylch cyfandir Affri-

ca i'r East Indies ; ond yr oeddid yn dechreu dychymygu bod hyny yn bosibl, ac yr oedd y Tywysog Henry, brenin Portugal, yr hwn oedd yn deall deddfau morwriaeth gystal a neb yn ei oes, wedi gosod ei fryd ar fynu chwilio hyny allan ; ac yr oedd yn gwahodd ato y morwyr, a'r teithwyr, a'r daearyddwyr enwocaf o bob man, i ymgyngori â hwy yn nghylch hyny, a'i orchymyn iddynt wrth farw oedd, am beidio rhoddi i fyny eu hymchwiliadau nes cael ffordd i India, a gwledydd y Dwyrain heibio i ororau Deheuol Affrica. Dyn myfyrgar, anturiaethus, haelfrydig oedd y Tywysog Henry, a darfu i'w siampl effeithio ar deyrnasoedd eraill. Magwyd awyddfryd drwy Europe i astudio morwriaeth, ac i ymchwilio am wledydd anadnabyddus. Bu marwolaeth y Tywysog Henry yn golled i Columbus, ac i achos morwriaeth. Yr oedd tyb gref drwy Europe y pryd hyny fod goludoedd lawer o bob math yn rhai o Dalaethau India ; ac yr oedd yr awydd i fedru cael ffordd i hwylio yno heibio i ben Deheuol Affrica yn cryfhau beunydd. Yr oedd dau deithydd enwog, o'r enw Marco a Polo, tad a mab, wedi bod yn ngwledydd y Dwyrain, ac wedi treulio amryw flynyddoedd yn llŷs llywydd mawr cyfoethog Tartary, ar oror China. Dychwelasant ar ol bod ddwy flynedd ar bymtheg oddicartref, wedi casglu goludoedd lawer iawn, ac wedi enill ffafr amryw o dywysogion y Dwyrain. Cyhoeddodd y mab hanes eu teithiau, yn cynwys darluniad o gynyrch, ac adnoddau, a golygfeydd y gwledydd oeddynt wedi deithio. Effeithiodd ei adroddiadau i fagu yspryd teithio drwy brif lysoedd a phorthladdoedd Europe, a gwnaeth argraff dwys ar feddwl Columbus. Wrth ddyfal ddilyn ei alwedigaeth o dynu mapiau, yr oedd yn dyfod i gyfeillach rhai o'r un yspryd ag ef ei hun, ac yr oedd yn ychwanegu yn barhaus at ei wybodaeth o forwriaeth a daearyddiaeth. Yr oedd dau beth yn glynu o hyd yn ei feddwl, sef y rhaid bod parthau helaeth o'r ddaear heb eu darganfod ; a bod yn alluadwy, gan fod y ddaear yn gorff crwn, i fyned o'i hamgylch ; ac felly i gyrhaedd gororau dwyreiniol India drwy hwylio yn mlaen tua'r Gorllewin ; a phan

nawb eraill yn chwilio am ffordd i India y Dwyrain drwy
tua'r Dwyrain, yr oedd Columbus a'i fryd ar gyrhaedd y
ain trwy gychwyn tua'r Gorllewin. Dyna oedd uchaf yn
lwl ddydd a nos, y gellid croesi yr Atlantic i ryw diroedd
ldynt mewn cysylltiad â gwledydd y Dwyrain. Yr oedd
wir yn ei dybiaeth am dir y tu hwnt i'r Atlantic; ond
ld yn camgymeryd wrth dybied mai tros foroedd y Gor-
yr elid gyntaf o Portugal i India.
oedd amryw bethau yn cadarnhau ei olygiad fod rhyw
dd newyddion yn y Gorllewin. Yr oedd morwyr wedi
d darnau o goed, ac estyll naddedig, a chorsenau breisg-
n cael eu cario gan y tónau o flaen gwyntoedd y gor-
; ac yr oeddid wedi cael ar ynys fechan yn mhell yn y
ldau gorff annhebyg i gyrff Europëaid. Wrth fyfyrio ar
iau hyn, aeth ei farn mor gryf ac mor glir ar y pwnc, fel
derfynodd dynu cynllun mordaith i hwylio tu ag India
oroedd y gorllewin. Esboniodd ei gynllun mewn llythyr
wodraeth Genoa ei ddinas enedigol, gan erfyn eu cymorth
flawni; ond gwrthodwyd a diystyrwyd ei gais. Gosod-
i gynllun wedi hyny o flaen John, Brenin Portugal. Yr
John yn ddyn ymchwilgar, a gwrandawodd yn astud ar
boniadau; ond mewn dull annheg ac anfoneddigaidd,
iddo, ar gais rhai o'i gyngorwyr, fenthyca cynlluniau Co-
is, ac anfon llong ymaith yn ddiarwybod iddo, i wneuthur
wiliadau. Aeth y llong hono yn mhellach i'r gorllewin
Ynysoedd Cape Verd, ond cododd tymestl i'w herbyn, a
welodd y morwyr mewn dychryn, gan gyhoeddi nad oedd
in Columbus ddim ond dychymyg dyn gorphwyllog.
dd Columbus wrth dwyll breninol y fath annhegwch, a
ld mor ddwys fel y penderfynodd ymgilio o Lisbon.
ieth ail gais am gefnogiad o Genoa, ond bu yn aflwydd-
. Trodd ei wyneb wedi hyny tua llŷs Spaen. Yr oedd
do obaith go gryf am gymorth oddiyno, oblegyd yr oedd
iines Isabella yn enwog am gefnogi y fath anturiaethau.
dd ei wraig serchoglawn erbyn hyn wedi marw, a chych-

wynodd tua Spaen i osod ei gais o flaen Ferdinand ac Isabella. Pan yr oedd un hwyr yn lluddedig ar ei daith yn Neheudir Spaen, trodd at fynachlog i ofyn am ychydig o fara a dwfr i'w fachgenyn bychan Diego, ag oedd yn teithio gydag ef, a phan yr oeddynt yn disgwyl wrth y porth am yr elusen, daeth Blaenor y Fynachlog heibio, hoffodd agweddiadau ac ymddiddanion Columbus, a gwahoddodd ef i'w dŷ, a chroesawodd ef dros y gauaf, a gwahoddodd amryw o'i gyfeillion mwyaf gwybodus i ddyfod i ymddiddan â Columbus am ei gynllun i fyned i chwilio am fyd newydd yn y Gorllewin. Nid anghofiodd Columbus byth am garedigrwydd haelfrydig Juan Perez, ei gyfaill cyntaf yn Spaen. Yn nechreu y gwanwyn dilynol, yn y flwyddyn 1486, cychwynodd tua dinas Cordova, lle yr oedd y brenin a'r frenines y pryd hyny yn cynal eu llŷs, ac yn parotoi at ryfel yn erbyn y Moors. Gadawodd ei fachgen bychan yn ngofal ei gyfaill tirion Juan Perez, a chafodd lythyrau ganddo i'w gymeradwyo ef a'i gynllun i sylw "*Confessor,*" neu offeiriad teuluaidd y frenines; ond yr oedd hwnw yn rhy brysur, neu yn rhy uchel, ac hefyd yn rhy ddifoes a diddysg, i wneud unrhyw sylw o gynlluniau y fath ddieithryn. Tra yr oedd y brenin a'r frenines yn symud o'r naill fan i'r llall i ddwyn yn mlaen eu rhyfelgyrch, arosodd Columbus yn Cordova i dynu mapiau, ac enillodd ei ymddygiad boneddigaidd, a'i ymddiddanion synwyrlawn sylw amryw foneddigion, ac yn eu mysg, Mendoza, Archesgob Toledo, ac Archgardinal Spaen. Creddodd y cardinal fod rheswm yn nghynllun Columbus, a mynodd gyfle buan i'w osod o flaen y brenin a'r frenines. Barnasant hwythau ei fod yn naturiol, ac archasant i offeiriad y frenines —y gwr ag oedd cyn hyny wedi bod mor ddisylw o Columbus —i alw cyfarfod o ddynion mwyaf gwybodus a chelfyddgar y deyrnas, i ystyried ei gynygion; a dacw y morwr isel o Genoa yn nghanol cynhadledd o brif ddynion Spaen, seryddwyr, daearyddwyr, a haneswyr, a'r rhan fwyaf o honynt yn eu llaeswisgoedd eglwysig, wedi dyfod yn nghyd i wrando ar ei gynllun; ond yr oeddynt bron oll yn llawn o ragfarn yn ei erbyn;

ac yn ceisio codi gwrth-ddadleuon o'r Ysgrythyrau, ac o ysgrifeniadau tadau yr eglwys! Atebodd Columbus eu gwrth-ddadleuon mewn dull pwyllog, goleu, syml, a boneddigaidd; ond cyn iddynt ddyfod i unrhyw benderfyniad, ymadawodd y llŷs o Cordova ar ol eu rhyfel; ac anghofiwyd y pwnc drwy holl ystod pum' mlynedd y rhyfel â Granada. Disgwyliodd Columbus yn amyneddgar am flynyddoedd; ond o'r diwedd anfonodd ei frawd Bartholomew i Loegr i osod ei gynllun ger bron Harri y Seithfed. Yr oedd argoelion y buasai Harri yn cefnogi yr anturiaeth, ond cymerwyd Bartholomew yn garcharor gan forladron, a chollwyd drwy hyny y gobaith am gael cymorth o lŷs Lloegr. Yn yr adeg hono derbyniodd Columbus wahoddiad oddiwrth frenin Portugal i ddychwelyd i Lisbon; ond, yr oedd wedi cael twyll bradwrus yno, a gwrthododd gydsynio. Yr oedd erbyn hyn yn heneiddio, yn bymtheg a deugain oed, ac yn dechreu ofni y byddai farw cyn cael unrhyw gyfle i gynyg ei anturiaeth. Penderfynodd ymfudo o Spaen; ond cyn cychwyn crybwyllodd ei ddymuniad wrth ddau o Dduciaid cyfoethocaf y Deyrnas; ond gwrthododd pob un o honynt ei gynorthwyo. Ar hyny gwnaeth ei feddwl i fyny i gynyg llŷs Ffrainc, a pharatodd i'w daith. Galwodd yn mynachdy ei gyfaill caredig Juan Perez wrth gychwyn. Effeithiodd yn fawr ar Perez ei weled yn ymadael felly heb gael unrhyw atebiad, ar ol disgwyl am gynifer o flynyddoedd, ac erfyniodd arno beidio ymadael ar unwaith. Yr oedd Perez wedi bod yn "Father Confessor" i'r frenines, ac aeth yn union i Santa Fe, lle yr oedd y pryd hyny yn gwarchae ar brif ddinas Granada. Gosododd achos Columbus o'i blaen mewn lliw mor glir, fel yr anfonwyd yn ddioed i'w gyrchu i'r llŷs, ac addawyd ei gynorthwyo, ond ar amodau ag oeddynt yn ei wneud ef yn *is-arweinydd* yr anturiaeth, ac nid yn *llywydd* iddi. Wrth glywed y fath gynygiad, trodd Columbus ei gefn ar y llŷs, a neidiodd ar gefn ei asyn, ac aeth i'w ffordd; ond anfonwyd cenadon ar frys i'w wahodd yn ol, a chytunwyd iddo gael bod yn "admiral" yr anturiaeth, ac yn "rhaglaw" y gwledydd a

ddarganfyddai. Arwyddwyd y cytundeb gan y brenin a'r frenines yn ninas Santa Fe, ar yr ail dydd ar bymtheg o Ebrill, 1492, a gwnaed parotoadau yn uniongychol at y fordaith. Rhoddwyd gorchymyn i arolygwyr porthladd Palos i barotoi tair o longau i fyned allan dan lywyddiaeth Columbus; ond pan ddeallwyd yr amcan, nid oedd neb yno a roddai ei longau, ar unrhyw amod, at y fath anturiaeth, ac yr oedd y morwyr gwrolaf yn dianc o'r cyrhaedd, ac yn ymguddio rhag cael eu rhwymo i'r fath wasanaeth. O'r diwedd daeth tri brawd cyfoethog o'r enw Pinzon yn mlaen i gynorthwyo Columbus. Rhoddasant eu llongau at y gwasanaeth—y fwyaf i fod dan lywyddiaeth Columbus—ac arwyddasant eu bwriad i fyned allan eu hunain yn gapteniaid y ddwy leiaf. Erbyn hyny daeth yspryd newydd dros y morwyr, yr oedd digonedd yn barod i fyned, a chyn pen mis yr oeddid yn barod i gychwyn.

Yr oedd tywysogion yr oes hono, fel yn mhob oes, yn araf iawn ac yn gynil iawn i gynorthwyo cynlluniau o fuddioldeb cyffredinol, tra yr oeddynt ar yr un pryd yn haelfrydig iawn i ddwyn yn mlaen eu rhyfeloedd drudion, difrodawl, a gwaedlyd. Tair o hen longau bychain gwaelion oedd Ferdinand Fawr o Aragon, ac Isabella Fawr o Castile yn fedru fforddio i Columbus i wneud ei anturiaeth bwysfawr. Nid oedd y ddwy leiaf ddim gwell na badau glo afonydd yr oes bresenol. Yr oedd iddynt gabanau yn y ddau ben, ond yr oedd y canol yn agored heb *deck*, neu fwrdd drosto. Yr oedd y fwyaf, sef llong Columbus, yn "*full decked*," ond yr oedd yn rhy gregin at y fath fordaith. Enw y fwyaf oedd "Santa Maria," yn dwyn baner Columbus; enw yr ail oedd "Pinta," yr hon a lywyddid gan Martin Pinzon; enw y drydedd oedd "Nina," yr hon a lywyddid gan Vincente Pinzon.

Ar yr ail dydd o Awst, 1492, aeth Columbus a'i gydforwyr yn orymdaith drefnus i'r eglwys i gyfaddef eu pechodau er derbyn gollyngdod oddiwrthynt, ac i ddeisyf bendith Duw ar eu mordaith; ac ar doriad y wawr dranoeth hwyliasant ymaith yn ngwydd torf fawr o edrychwyr, y rhai oeddynt yn anfon eu

gweddiau i'r nef am lwyddiant yr anturiaeth. Gydag iddynt gychwyn, daeth llyw y Pinta yn rhydd, yr hyn a esbonid gan y morwyr fel argoel o ddrwg. Cyrhaeddwyd y Canary Isles ar ol deg niwrnod o forio. Adgyweiriwyd y llongau cregin yno, a chymerwyd i mewn ddwfr ac ychwaneg o luniaeth, a hwyliwyd oddiyno ar y chweched o Fedi, yn syth tua'r Gorllewin. Wrth golli eu golwg ar y Canary Islands, a gweled eu bod yn gwynebu ar foroedd pell ac anadnabyddus, ymollyngodd y morwyr i wylo, ac i guro eu mynwesau gan ing, dan aethau ofn, na chaent byth mwy weled tir eu gwlad. Deallodd Columbus y cai drafferth oddiwrth y morwyr, ac arferodd ei holl ddoniau i'w calonogi, ac yr oedd ganddo nid yn unig ysbryd gwrol, a meddwl dyfeisgar, ond y doniau mwyaf deniadol. Deallodd y morwyr yn fuan ei fod yn fwy cyfarwydd â deddfau morwriaeth nag unrhyw gapten oeddynt hwy wedi weled o'r blaen, a'i fod yn haeddol o bob ufudd-dod ac ymddiried. Erbyn y pedwerydd ar ddeg o Fedi yr oeddynt dros ddau cant o leagues, neu chwe' chan' milldir, y tu draw i'r Canaries—yn mhellach nag y bu yr un Spaenwr erioed cyn hyny. Aethant i ddychryn yno drwy fod nodwydd eu cwmpas, yn lle cyfeirio at y seren-ogledd, yn gogwyddo tua'r Gorllewin. Nid oedd Columbus ei hun yn gwybod dim y pryd hyny am ogwyddiad y cwmpas, ac nid oedd yn deall yr achos o hyny; ond dyfeisiodd reswm i dawelu dychryn y morwyr. Y mae yr achos o ogwyddiad y cwmpas yn ddirgelwch ag sydd hyd heddyw heb gael ei esbonio. Pwy all ddirnad defnyddioldeb yr offeryn bychan "cwmpawd y morwr." Y mae wrth ysgwyd ei nodwydd fechan tua'r Gogledd yn medru dangos i'r teithydd bob awr o'r dydd a'r nos tua pha le y bydd ei wyneb. Nid rhyfedd i forwyr Columbus ddychrynu wrth ei weled yn gogwyddo ychydig oddiwrth ei nôd, yr oedd yn naturiol iddynt gasglu fod eu hunig gyfarwyddwr ar y cefnfor pell yn troi yn anffyddlawn iddynt. Parhausant i hwylio tua'r Gorllewin, a phan gawsant y "trade wind" o'u tu, yr oeddynt yn myned yn mlaen yn gyflym iawn, ac yn hwylus iawn. Pan

[redacted]



oeddynt tua deuddeg can' milldir y tu hwnt i'r Canaries, yr oedd wyneb y môr mor lawn o hesg fel yr oedd yn debycach i gefn *prairie* nag i gefn y môr. Yr oedd hon yn olygfa newydd i'r morwyr, a pharodd gryn anesmwythder iddynt. Yr oeddynt yn ofni weithiau i'r hesg eu hatal i hwylio yn mlaen, neu y glynent ar y ddaear yn ngwraidd yr hesg, neu yr aent ar draws creigiau a guddid gan ddail yr hesg; ond yr oedd Columbus yn ceisio pregethu er eu cysur fod yr hesg yn arwyddo eu bod yn tynu tua rhyw wlad. Cawsant awel gref o'u tu i'w chwythu yn mlaen drwy'r hesg tewaf, ac ar yr un pryd gwelent adar yn ehedeg uwch eu penau tua'r Gorllewin. Erbyn hyn yr oeddynt bron ddwy fil a haner o filldiroedd y tu draw i'r Canaries, ac wedi morio llwybr hollol anadnabyddus am dros dair wythnos. Yr oeddynt yn dechreu meddwl fod, nid yn unig Columbus, ond fod eu brenin a'u brenines, a'r adar, a'r hesg, a'r cwmpawd, a'r cyfan am eu twyllo, a thorodd eu hofnau a'u dychryn allan yn gwynion cyhoeddus yn erbyn llywodraethwyr eu gwlad am roddi gwrandawiad i ddychymygion, a choel i addewidion estron anghenus fel Columbus. Yr oedd y digalondid wedi ymdaenu drwy y tair llong, ac wedi gorchfygu y swyddwyr yn gystal a'r morwyr. Cynaliasant gynadleddau o'r naill long i'r llall, ac ar ol cydymgyngori dechreuasant haeru eu bod wedi dilyn digon ar y fath anturiaethwr, a'i bod yn hen bryd iddynt droi tua'u gwlad, a bod yn rhaid i Columbus droi yn ol, neu gymeryd ei fedd yn eigion y môr. Deallodd erbyn hyn fod ei sefyllfa yn wir beryglus, ac y byddai yn anhawdd iddo gael ufudd-dod na threfn gan ddynion dan lywodraeth y fath ddychryn, a hiraeth, a siomiant, ac anwybodaeth. Ni wyddai pa foment y byddai i'w grwgnachrwydd dori allan yn wrthryfel llofruddiog. Ni chymerodd arno ei fod yn gwybod am eu cynlluniau i'w erbyn. Edrychai yn wrol a siriol arnynt. Esboniai yn fynych iddynt yr anrhydedd a'r elw iddynt hwy ac i'w gwlad fyddai darganfod gwlad newydd. Bryd arall, dywedai mewn iaith gref, nad allent ddim meddwl am droi yn ol, ar ol dyfod mor bell, a

gollwng eu gafael o'r anrhydedd oedd bron yn eu meddiant, heb fod yn anffyddlon i'w brenin, ac i'w gwlad a'u cenedl, ac iddynt eu hunain, ac i'w holoeswyr. Crybwyllai bryd arall fod yr awelon o'u tu, ac y byddai yn ddiogelach iddynt fyned yn mlaen gyda hwy, na throi yn ol y pryd hyny i'w herbyn. Llwyddodd felly i'w tawelu am rai dyddiau. Trodd ychydig o'i linell i ddilyn ehediad yr adar ; ond nid oedd dim tir yn dyfod i'r golwg. O'r diwedd dacw wŷr ei long yn ymdyru yn gynhyrfus ar y *deck*, ac yn tystio yn ei wyneb nad aent ddim pellach, gan ddweyd mewn iaith fygythiol, fod yn rhaid iddo droi yn ol ar unwaith. Gwelodd fod pob ufudd-dod wedi darfod, fod pob trefn ar ben, ac mai ofer fyddai iddo geisio rhesymu yn eu herbyn, ac erfyniodd yn daer am eu cymorth am dri diwrnod, ac ymrwymodd i droi yn ol os na chyrhaeddent dir mewn tri diwrnod. Er mor gynddeiriog oeddynt am droi tu ag adref, plygasant i'w gais. Yr oedd Columbus yn bur hyderus y caent ryw dir cyn pen tri diwrnod. Yr oedd yr adar yn lliosogi o'u deutu, ac yr oedd yn eu mysg amryw o adar y tir. Yr oedd y môr yn bâshau bob tro y plymient. Gwelwyd pren ag oedd newydd gael ei naddu, a gwelwyd corsenau oeddid newydd dori, yn nofio ar frig y dón. Codwyd cangen o'r môr ac aeron cochion gloywon arni. Yr oedd cymylau yr hwyr yn gwisgo lliwiau gwahanol i arferol. Yr oedd yr awyr a'r awel yn tyneru ac yn cynesu. Yr oedd aroglau y wlad yn dechreu eu cyrhaedd. Yr oedd Columbus yn bur hyderus fod tir yn agos : ac yn mîn nos yr unfed dydd ar ddeg o Hydref, ar ol gweddiau cyhoeddus ar y bwrdd, gorchymynodd i'r hwyliau gael eu plygu, ac archodd i bawb fod ar eu gwyliadwriaeth, rhag iddynt gael eu chwythu i dir yn nhywyllwch y nos. Arosodd pob dyn ar y bwrdd heb gynyg rhoddi hûn i'w amrantau, gan graffu mewn pryder am olwg ar dir. O gylch dwy awr cyn canol nos, pan oedd Columbus yn sefyll ar ben blaen y llong, gwelai *oleuni* yn y pellder, a dangosodd ef yn ddistaw i ddau o swyddwyr y llong. Yr oedd y tri yn ei weled ar unwaith, ac yn ei weled yn symud. Y Pinta oedd

y llong orau o'r tair am hwylio, ac yr oedd yn cadw yn mlaen bron o hyd, ac ychydig ar ol canol nos, dyma floedd lawen o'r Pinta—"TIR, TIR, TIR." Yr oedd dynion y llongau eraill yn araf i'w credu, rhag eu bod yn camgymeryd, a disgwylid yn bryderus iawn am doriad y dydd. Ar wawriad y deuddegfed dydd o Hydref, 1492, diflanodd pob amheuon, gwelent ynys o goedwigoedd hyfryd, a meusydd gwyrddion, a ffrydiau dyfroedd o fewn pum' milldir iddynt. Dechreuodd morwyr y Pinta ganu hymn o ddiolchgarwch, ac unodd gŵyr y llongau eraill yn fyw ac yn gynes yn y gân, gyda dagrau o lawenydd, ac ar ol y gwasanaeth priodol o dalu diolch i'r nefoedd, taflasant eu hunain at draed Columbus, i erfyn arno faddeu iddynt eu hanwybodaeth, a'u hanghredinïaeth, a'u gwrthryfel yn peri iddo gymaint o anesmwythder, trwy geisio lladd ei obaith am ddygiad i ben ei gynlluniau gwerthfawr. Yr oeddynt bron yn ei addoli, gan ei ystyried yn ddyn wedi ei ysprydoli o'r nefoedd i gyflawni amcan uwch cyrhaedd dychymyg uchaf yr oesau a aethant heibio.

Gydag i'r haul godi rhwyfasant eu cychod i dir, gan chwifio eu baneran, a chanu alawonau milwraidd, ac fel yr oeddynt yn nesau i'r tir yr oedd y brodorion yn ymdyru oddeutu y lan, yn llawn o syndod wrth eu gweled hwy, a gweled eu llongau. Columbus oedd y cyntaf i lanio, mewn gwisg hardd, a chleddyf noeth yn ei law, a syrthiodd ar ei liniau, mewn teimlad diolchgar, a'i galon a'i lygad yn llawn, a chusanodd y llawr. Dilynwyd ei siampl gan bawb o'r gwŷr. Codasant lun y groes, a syrthiasant o'i blaen i ddiolch o waelod calon am lwyddiant eu mordaith, ac yna cymerasant feddiant o'r wlad yn enw Llywodraeth Spaen. Yr oedd y brodorion yn dyrfaoedd o'u deutu, ac yn syllu mewn syndod ar eu defodau, ond heb eu deall, ac heb feddwl fawr am y canlyniadau o'u hymweliad. Yr oedd eu llongau a'u harfau tân yn peri dychryn i'r brodorion, y rhai a dybient eu bod wedi disgyn o un o'r bydoedd uchod i ymweled â'r ddaear.

Yr oedd Columbus a'i wŷr bron mor synedig a hwythau.

Yr oedd y llysiau, a'r planhigion, a'r coedydd mor wahanol i'r rhai oeddynt wedi weled yn Europe. Yr oedd y tir yn ymddangos yn ffrwythlawn, er heb fawr o ôl trin arno. Yr oedd yr hinsawdd yn gynes, ond yn nodedig o hyfryd. Yr oedd y brodorion yn rhai o gorff lluniaidd, o liw copr tywyll, ac yr oeddynt yn gwbl noethion, a'u gwallt llaes yn hongian dros eu hysgwyddau. Yr oeddynt yn heinif eu hysgogiad, yn gyflym eu llygad, o edrychiad tyner a gŵylaidd; ond yn ymddangos yn ofnus, yn enwedig ar y cyntaf; ond daethant o radd i radd yn burrhydd a chyfeillgar, ac yr oeddynt yn foddlon i fasnachu, ac yn barod a llawen iawn i roddi yr addurn aur oedd ganddynt am y mân deganau oedd y Spaeniaid yn gynyg yn eu lle. Gwisgodd Columbus ei ditl a'i awdurdod swyddol fel "*Admiral*" y môr, a "*Viceroy*" y wlad newydd, yn ol amodau ei "Charter." Galwodd enw yr ynys yn St. Salvador. Gellid gweled amryw ynysoedd eraill o'i deutu. Gelwir hwynt yn awr y "Bahama Islands." Y mae y fordaith o'r Canaries i'r Bahamas yn dros dair mil o filldiroedd.

Ar ol morio am bythefnos yn mysg yr ynysoedd hyny, daethant i olwg ynys fawr Cuba. Pan laniasant yno, diangodd y brodorion ar y cyntaf, ond denwyd hwy yn fuan i gyfeillachu, a dangosasant bob caredigrwydd yn eu gallu. Yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyny daethant i olwg ynys fawr hyfryd Hayti. Diangodd y brodorion yno wrth eu gweled yn glanio, ond daliasant un o'r gwragedd. Tawelasant ei dychryn trwy eu tiriondeb, a rhoddasant anrhegion iddi wrth ei gollwng ymaith, a phan fynegodd hithau i'w chymydogion am eu caredigrwydd, daethant o bob cwr yn dorfeydd o'u deutu yn yr yspryd a'r dull mwyaf cyfeillgar. Arosasant yn Hayti am fis cyfan i wneud ymchwiliadau, a sicrhau Columbus yn ei adroddiadau nad oedd na phin na thafod fedrai ddarlunio prydferthwch yr ynys; a dywedai am y bobl eu bod mor hawddgar, mor heddychol, mor deg, ac mor hawdd eu trin, fel y gallai dystio ar ei lŵ nad oedd drwy yr holl fyd ddim tirionach pobl na hyfrydach gwlad. Adroddai eu bod yn caru eu cymydogion fel

n, fod eu tymer yn addfwyn, a'u hymadrodd yn ..., ... yn serchoglawn, ac er eu bod heb wisgoedd, ... eu hymddygiad yn foneddigaidd a chanmoladwy. Dyma uuarluniad pwyllog Columbus ei hun o'r brodorion a welodd yn nhiroedd newyddion y Gorllewin.

Yr oedd yr olwg ar y morwyr o Spaen yn gostwng ar eu gliniau ac yn gweddio, ac yn wylo, ac yn canu, ac yn addunedu, ac yn diolch o flaen "Llun y Groes" ar eu glaniad cyntaf yn y byd newydd, yn hynod o hyfryd; ond y mae yn rhwygo y galon i feddwl am eu creulonderau llofruddiog mor fuan ar ol hyny tu ag at y brodorion boneddigaidd a diniwed, caredig a hawddgar, a heddychol a hawdd eu trin.

Yr oedd Columbus yn dychymygu o hyd eu bod wedi cyrhaedd ynysoedd dwyreiniol India a China, y rhai a ddarluniasid gan Marco Polo. Yr oedd wedi gosod ei fryd gymaint ar gyrhaedd India drwy fôr y Gorllewin fel yr oedd yn methu cael goruchafiaeth ar ei gamsyniad gyda golwg ar fesuriad cylch y ddaear.

Tra yr oedd yn aros yn Hayti derbyniodd wahoddiad oddiwrth un o benaethiaid yr ynys i ymweled ag ef, a hwyliodd tu ag yno. Yr oedd y môr yn berffaith dawel, a chan ei fod heb gysgu am dros ddeuddydd, ymneillduodd i'w gaban i gael ychydig o orphwys, gan ymddiried y llyw i'r *pilot*, a gorchymyn iddo beidio ei gollwng o'i law am foment ar unrhyw gyfrif; ond yn anffyddlon i'w ymddiried, rhoddodd y pilot y llyw i ofal bachgenyn dibrofiad a diofal, a chariwyd y llong gyda llif y môr yn erbyn craig. Deffrodd yr ergyd Columbus, ond erbyn iddo neidio i'r bwrdd yr oedd y dwylo wedi gwylltio mewn dychryn ac anobaith. Archodd iddynt gymeryd cwch a bwrw angor y pen ol i'r llong; ond yn lle hyny, rhwyfasant ymaith yn eu dychryn am eu bywyd tu ag at y Nina ag oedd o fewn milldir iddynt. Archodd wedi hyny am dori i lawr yr hwylbrenau er ysgafnhau y llong; ond yr oedd pob peth yn rhy ddiweddar, ymddatdoodd yr hen long gregin; eithr wrth fod y môr mor dawel, gallodd y cychod o'r Nina gyrhaedd yno cyn

iddi suddo, ac achubwyd pawb o'r dwylo, a phob peth ag oedd o ddim gwerth. Yr oedd y Penaeth a'u gwahoddasai yn ofidus iawn oblegyd yr anffawd. Brysiodd i lawr i lan y môr, ac yr oedd yn awyddus i wneud yr oll ar a fedrai er adgyweirio y golled.

Yr oedd Martin Pinzon, Capten y Pinta, yn ddyn balch, hunanol, cenfigenllyd, anffyddlawn, a bradwrus. Yr oeddid wedi ei golli ef a'i long er ys amryw wythnosau. Yr oedd ei long braidd yn gyflymach ac yn gryfach na'r ddwy craill, ac er fod Columbus wedi erchi ac erfyn o'r dechreu am i'r tair llong aros yn nghyraedd eu gilydd, hwyliodd Martin Pinzon ymaith o St. Salvador, gan ddisgwyl gwneud darganfyddiadau, a chael cyfleusderau manteisiol i farsiandio, a thrwy hyny enill enw ac elw iddo ei hun, ar draul drygu Columbus. Yr oedd Columbus ar ol drylliad ei long, ac ar ol colli y Pinta, mewn cyfyng-gyngor. Nid oedd ganddo ond y llong leiaf o'r tair, sef y Nina, ac yr oedd hono yn rhy fechan i gynwys dynion a llwythi y ddwy long; ac felly penderfynodd adael haner ei wŷr yn Hayti, a dychwelyd i Spaen am ychwaneg o longau ac o ddarpariaethau. Yr oedd yr ynys yn un nodedig o hyfryd, a ffrwythlawn, a deniadol. Yr oedd y morwyr am y mwyaf parod i aros yno. Yr oedd penaethiaid a phreswylwyr yr ynys yn hoff iawn iddynt aros, yn benaf er mwyn eu cynorthwyo hwy yn erbyn y "Caribs," sef llwythau ysglyfaethgar o'r ynysoedd Caribbeaidd fyddent yn ymruthro yno weithiau i ladd ac anrheithio. Ac yr oedd yn dda gan Columbus ddal ar yr achlysur i gychwyn sefydliad Yspaenaidd yn y byd newydd. Dewiswyd deunaw ar hugain o'r gwŷr i aros yn yr ynys, ac adeiladwyd amddiffynfa iddynt, ac yna dechreuodd Columbus gasglu darpariaethau tu ag at ei daith adref. Prynodd gymaint o aur ar a fedrai gael gan y brodorion. Urddodd Arada, cyfaill cyfrifol, cymeradwy i fod yn llywydd y sefydliad newydd. Erfyniodd ar y gwŷr i fod yn ufudd i'w llywydd, yn ffyddlawn i'w gilydd, ac i fod yn gyfiawn ac yn gyfeillgar tu ag at y brodorion; addawodd eu canmol wrth awdurdodau

Spaen, ac ymrwymodd i ddwyn adgyfnerthion iddynt mor fuan ag y medrai; ac yna ar y pedwerydd dydd o Ionawr, 1493, cychwynodd tu ag adref, gan alw heibio i amryw o aberoedd Hayti ar ei ffordd wrth gychwyn. Yn mhen deuddydd daeth o hyd i'r Pinta, ar ol ei cholli am dros chwech wythnos. Ceisiodd Martin Pinzon ymesgusodi trwy ddweyd mai y tywydd croes oedd wedi ei wasgu oddiwrthynt, a'i gadw gyhyd oddiwrthynt. Yr oedd Columbus yn gwybod fod ei esgus yn ddisail; ond yr oedd yn well ganddo ei derbyn na myned i unrhyw brawf, am y gallai y naill long fod o wasanaeth i'r llall ar eu mordaith faith tu ag adref. Yr oedd Pinzon wedi casglu ychydig o aur, ond nid oedd wedi gwneud dim darganfyddiadau o unrhyw werth. Yr oedd hyd y fordaith oedd o'u blaen, a gwaelder eu hen longau ar ol pum' mis o forio, a hiraeth y morwyr am eu cartref yn gwneud Columbus yn awyddus am gyflymu gymaint ar a fedrai. Yr oedd ganddo ar ei fwrdd gasgliad gwerthfawr o gynyrchion y gwahanol ynysoedd, ac o wahanol adar, a chryn lawer o aur, a chwech o'r brodorion. Ar ol morio yn llwyddianus am fis, cododd tymestl ofnadwy i'w herbyn. Esgynent i'r nefoedd, disgynent i'r dyfnder, ymdroent fel meddwyn, eu holl ddoethineb a ballodd. Ni fedrent drwy eu gweddiau at Dduw, na'u hymbiliau am gyfryngdod y seintiau, na thrwy ddim o'u swynion ychwaith, dawelu y storom. Yr oedd eu dinystr yn ymddangos yn anocheladwy, a phob gobaith wedi darfod. Disgwylient bob moment gael eu claddu yn y tonau. Yr oedd calon Columbus ei hun yn llesg ynddo gan ing a thrallod; nid yn unig o herwydd y perygl am ei fywyd, ond am y difadid y byd o bob hysbysrwydd am ei ddarganfyddiadau. Hyny oedd yn gwasgu drymaf ar ei galon ef. Yr oedd yn fwy awyddus i gadw coffadwriaeth o'r fordaith, nag oedd am gadw ei fywyd; ac felly yn nghanol nerth y dymestl, pan oedd ei long yn crynu ac yn ocheneidio, ysgrifenodd ar femrwn ychydig o hanes ei ddarganfyddiadau; plygodd y memrwn i fyny mewn lliain olewedig, trodd hwnw eilwaith mewn cŵyr toddedig, a chauodd y cyfan

rn baril gref, a gollyngodd hono i'r tónau mewn gobaith y
ıi rhyw fordeithwyr felly o hyd i hanes a allai fod mor
'sfawr i'r byd. O'r diwedd tawelodd y dymestl ; ond er-
hyny yr oedd y Pinta wedi ei adael yr ailwaith, ac yr
d pob sail i gasglu fod Martin Pinzon wedi ei adael yn fwr-
ıl er cyrhaedd adref o'i flaen, i gael yr anrhydedd i fod y
taf i hysbysu am y "byd newydd." Pan gyrhaeddodd
ımbus yr Azores cadwyd ef yno amryw ddyddiau, o her-
ld dadl â Llywydd Portugiaidd un o'r ynysoedd hyny, a
dag iddo gychwyn oddi yno, cododd ail dymestl, yr hon a'i
ythodd i geisio noddfa yn y Tagus. Gwahoddwyd ef yn
edig gan frenin Portugal i ddyfod i Lisbon, a chafodd yr
ıydedd a'r boddhad o ddarlunio yno lwyddiant ei antur-
ı fawr yn nghlyw y brenin a'r llŷs, ag oeddynt bedair blyn-
ar ddeg cyn hyny wedi gwrthod ei gynygion a diystyru ei
lluniau. Ar ol cael pob anrhydedd a chroesaw yn Lisbon
bum' niwrnod, hwyliodd tua Spaen : ac ar y pymthegfed
d o Fawrth cyrhaeddodd y porthladd bychan o ba un y
ıwynasai, ar ol bod allan am saith mis a phedwar diwrnod.
wr iawn oedd gorfoledd y preswylwyr wrth weled ei long
ıan, dan ei baner, yn dyfod i mewn i'r porthladd, yn llwyth-
ı ffrwythau y byd newydd. Derbyniwyd ef gyda llawen
dd. Canwyd holl glychau, a seiniwyd holl udgyrn y lle.
ıwyd pob gweithfa a phob masnachdy er cael clywed ac
ɔdd yr hanes am lwyddiant ei anturiaeth. Gweithred gyn-
Columbus ar ol glanio, oedd myned i'r cysegr i ddiolch i'w
nhaliwr am ffyniant ei fordaith. Yn hwyr y dydd hwnw
th y Pinta i mewn wedi ei churo yn erwin gan yr ail dym-
a than deimlad dwys o euogrwydd am ei ymddygiad an-
dlawn, aeth Martin Pinzon yn glaf i'w wely, a bu farw yn
n ychydig ddyddiau. Ni chafodd ef ddim o fwyniant y
esaw a'r anrhydedd. Ni ddaw dim da yn y diwedd o un-
w anffyddlondeb a bradwriaeth.

ıeth Columbus oddiyno drwy Seville i Barcelona, lle yr oedd
enin a'r frenines y pryd hyny yn cynal eu llŷs. Ffurfiwyd

gorymdaith fawr o'r pendefigion uchaf eu henwau a'u hurddau i'w arwain i'r ddinas. Cododd y brenin a'r frenines i'w dderbyn yn eu Saloon penaf; ac yno, yn nghanol enwogion y deyrnas, cafodd Columbus yr hyfrydwch o adrodd hanes ei fordaith. Pan yn darlunio ynysoedd y byd newydd, crybwyllodd am hyfrydwch yr hinsawdd, am ffrwythlonedd y tir, am fythol wyrddlesni y coedydd, am y llysiau, a'r ffrwythau, a'r perarogiau; am loyw-liwiau yr aradr; am yr olwg obeithiol oedd yno am aur; ac am addfwynder y brodorion. Yr oedd chwech o honynt yn bresenol gydag ef. Crybwyllodd fod gwaelder eu bythod, a'u dodrefn, a'u hoffer, a'u harfau, yn brawf o'u hanwybodaeth a'u musgrellni; ond ychwanegodd nad oedd wedi cael dim argoelion o eilunaddoliaeth yn eu mysg; ond fod ganddynt grediniaeth addolgar yn y Bod Goruchaf. Terfynodd ei araeth yn y geiriau canlynol: "Fod Duw wedi cadw i freninoedd Spaen, nid yn unig holl drysorau y byd newydd, ond y trysor anrhaethol fwy o gael tyrfa ddirif o eneidiau i'w ddwyn i mewn i fynwes yr eglwys Gristionogol."

Gydag iddo derfynu ei anerch syrthiodd holl dorf bendefigaidd y llŷs ar eu gliniau, tra y canwyd anthem o ddiolch gan gôr y capel breninol. Columbus, ac anturiaeth Columbus, oedd testyn siarad a syndod pawb. Rhoddwyd rhyddid iddo alw gyda'r brenin a'r frenines yr awr a fynai. Yr oedd pendefigion uchaf y deyrnas yn falch o gael ychydig o'i gyfeillach. Taenwyd y newydd am ei ddarganfyddiadau drwy holl wledydd Europe; a chodwyd ei enw ar unwaith i'r bri uchaf. Yr oedd pawb fel yntau yn credu mai ynysoedd Dwyreiniol India oedd y rhai a ddarganfuasai, a galwyd hwy yr "Indies;" ond pan ddeallwyd y camgymeriad, mai nid Indies y Dwyrain oeddynt, dechreuwyd eu galw yn "West Indies;" ac y maent yn cael eu galw felly hyd heddyw.

Ond yn nghanol pob mawredd, yr oedd Columbus yn cofio ei addewid i'r cymdeithion oedd wedi adael yn Hayti, a pharatodd yn ddioed at ail fordaith. Cafodd dair o longau mawrion, a phedair ar ddeg o rai manach; ac oll yn llwythog o bob

rpariaethau i'r sefydliad newydd yn Hayti. Nid oedd dim hawsdra iddo yn awr gael cymdeithion; a hyny o bobl iainc, o deuluoedd anrhydeddus; ond yn gyffredin, nid rhai odi eu dwyn i fynu yn segur ac yn foethus gartref, ydynt y bl oreu am wlad newydd. Yr oedd yn eu mysg lawer o feiriaid yn llawn o sêl i bregethu Cristionogaeth i baganiaid byd newydd. Hwyliodd o Cadiz ar y pumed ar hugain o odi, 1493, i gyfeiriad mwy deheuol na'r tro cyntaf; a'r tir ntaf a gyrhaeddodd, ar yr ail dydd o Tachwedd, oedd un o'r iysoedd Caribbeaidd, yr hon a alwodd Dominica. Ar ol orio am dair wythnos yn mysg yr ynysoedd hyny, a rhoddi wau i Porto Rico ac amryw eraill o honynt, hwyliodd tua ayti; ond erbyn iddo gyrhaedd y porthladd, nid oedd yno b o'i hen gymdeithion i'w groesawu. Deallodd yn lled fuan gwirionedd trwm eu bod wedi cael eu lladd oll. Yr oedd yn hawdd i gael gwybod yr holl wir; ond yr adroddiad oedd fod Spaeniaid yn dyfod allan yn arfog o'u hamddiffynfa i dreisio, anrheithio, a chyflawni pob trosedd yn un chwant; ac i'r odorion lidio wrthynt, ac ymosod ar yr amddiffynfa, a'u lladd . Sylfaenwyd sefydliad arall yno yn ddioed. Tynwyd cyn-n dinas, a dechreuwyd adeiladu ar unwaith; a gwnaed yno neddau cysurus a diogel i'r ymfudwyr oeddynt am aros yno. alwyd enw y ddinas Isabella er anrhydedd i frenines Spaen; d dechreuodd anghydfod a grwgnachrwydd yno yn bur fuan. eallodd y gwŷr mawr moethus fod yn rhaid llafurio cyn gallu yddo; a dechreuasant achwyn fod Columbus wedi eu hudo dicartref. Yr oeddynt wedi dychymygu fod yno ddarnau o r ar wyneb y tir, a bod yno gloddfeydd o berlau; ac nad ld dim yn eisiau ond eu casglu; heb ystyried nad oes dim di, yn y tir goreu, heb hau yn gyntaf. Er ceisio tawelu y vgnachwyr, cymerodd Columbus daith gyda hwy o amryw thnosau drwy wahanol ranau o'r ynys: ac ar ei ddychwel-, penododd ei frawd Diego yn llywydd y sefydliad; a chy-rodd fordaith o dros bedwar mis i chwilio am "Ynys yr r" ag oedd Marco Polo wedi grybwyll am dani. Ei brif

ddarganfyddiad y tro hwnw oedd ynys Jamaica. Ni ddaeth o hyd i "Ynys yr Aur." Effeithiodd ei lafur y daith hono ar ei iechyd, ac aeth yn hollol ddiallu o ran ei gorff a'i feddwl; ac nid oedd gan ei swyddwyr ddim gobaith am ei fywyd; a dychwelasant i Hayti; ac erbyn iddynt gyrhaedd yno, pwy oedd i'w dderbyn gyntaf yn y porthladd ond ei frawd colledig, Bartholomew, wedi dianc o gaethiwed y môr-ladron, ac wedi cael derbyniad croesawgar gan Henri y Seithfed, brenin Lloegr. Erbyn iddo gyrhaedd i Spaen yr oedd Columbus wedi cychwyn i'w ail fordaith. Cafodd yntau lynges yno i'w ddilyn, yn llwythog o ddarpariaethau i'r sefydliad yn Hayti. Bu cyfeillach annisgwyliadwy ei frawd yn foddion i adloni meddwl Columbus, a thrwy hyny i adnewyddu ei iechyd. Yr oedd Bartholomew yn ddyn o lai o athrylith na Columbus, ond yr oedd yn ddyn o graffineb, a phwyll, a phenderfyniad, tra nodedig. Yr oedd y sefydliad wedi syrthio i annrhefn a therfysg yn absenoldeb Columbus. Yr oedd trais a chreulonderau y sefydlwyr gwynion wedi cynddeiriogi y brodorion i wrthryfel; a gwaith gwaedlyd, a maith, a dyrus, fu eu darostwng i ufudd-dod: lladdwyd amryw Spaenwyr, a miloedd lawer o'r brodorion cyn cael tawelwch. Cymerwyd eraill o'r brodorion yn gaethion, ac anfonwyd hwy i Spaen i'w gwerthu yn y gaeth-farchnad. Felly, er yr holl anthemau, a'r gweddiau, a'r addunedau, dechreuodd y Spaenwyr yn gynar ormesu yn dost iawn. Gosodasant dreth ar bob un dros bedair ar ddeg oed,—treth o swm penodedig o aur ar y rhai oeddynt yn nghyraedd yr aur-gloddiau, a phum' pwys ar hugain o *cotton* ar bawb eraill; ac yr oedd y trethoedd hyn i'w talu, nid yn flynyddol, ond bob tri mis. Yr oedd llunio gorthrwm fel hyn yn groes iawn i'r yspryd oedd Columbus wedi ddangos yn y dechreu; ac yn gwbl anghyson â'r egwyddorion oedd wedi arddel: ond yr oedd gelynion iddo yn Spaen, yn cenfigenu wrth ei lwyddiant, ac yn llunio bradwriaethau er ceisio ei ddrygu yn mhob modd yn eu gallu; ac yr oedd yntau, yn ei or-awydd i gasglu aur a phethau eraill i'w hanfon adref, er cadw i fynu enwogrwydd ei anturiaeth, yn ym-

ollwng i orthrymu y brodorion ; a bu yno annhrefn a therfysg am lawer o fisoedd. Yn yr adeg hono, llwyddodd ei elynion yn Spaen i gael gan y brenin a'r frenines i anfon swyddog allan, sef un o Stafellyddion y brenin, i chwilio i ymddygiadau Columbus. Ymddygodd hwnw ar ei ddyfodiad i'r ynys mor drahaus a nwydwyllt fel yr oedd yn cyflym andwyo y sefydliad ; ac yn nechreu y flwyddyn 1496, ar ol gosod ei frawd Bartholomew yn llywydd yn ei le, dychwelodd Columbus i Spaen er esbonio ac amddiffyn ei ymddygiad. Darfu i'w ymddangosiad anniagwyliadwy yn Spaen, a'i ddull pwyllog yn amddiffyn ei ymddygiad a'i ymdrechiadau, a'i esboniad goleu o werth ei ddarganfyddiadau, a'r pwys mawr o wneud defnydd priodol o honynt, gywilyddio a dystewi ei athrodwyr ; a chafodd awdurdod i baratoi llynges newydd i fyned allan y drydedd waith ; ond yr oedd yn llawer mwy anhawdd iddo gael dynion y tro hwn na'r tro o'r blaen. Yr oedd swyddwyr y llywodraeth yn fwy oeraidd, ac yr oedd cenfigen rhai o honynt yn gweithio yn gryf iawn yn ei erbyn, mewn amryw gylchoedd Gwasgodd hyny ef i gynyg y cynllun mwyaf annoeth a niweidiol ag oedd bosibl—sef newid cospau y drwg-weithredwyr oeddynt wedi cael eu dedrydu i weithio yn y carchar-longau a'r mŵngloddiau, a'u halltudio i gaeth-weithio yn Hayti. Buasai mor resymol iddo ddisgwyl casglu grawnwin oddiar ddrain, neu ffigys oddiar ysgall, a disgwyl ffrwythau addfwynder a gonestrwydd oddiar gymdeithas o'r fath sefydlwyr. Ac y mae yn wir alarus i feddwl fel y darfu i Loegr a gwledydd eraill ddilyn siampl Spaen am lawer o oesau, trwy alltudio eu troseddwyr gwaethaf i wenwyno sefydliadau ieuainc, newyddion, eu talaethau tramor. Y mae ymddygiad felly yn hollol mor afresymol a phe byddai i fam gariadus ddewis mamaeth heintus i fagu ei babanod.

Yn niwedd Mai 1498, cychwynodd Columbus ar ei drydedd fordaith, gyda chwech o longau. Cymerodd gyfeiriad mwy deheuol na'r un o'r ddau dro blaenorol ; a glaniodd yn Paria, ar gyfandir Deheubarth America Ar ol morio llawer gyda gororau y cyfandir i wneud ymchwiliadau, gorfu iddo hwylio

achos fod ei hen longau mor gregin. Erbyn iddo ayti, nid oedd yno ond terfysg yn lle trefn. Yr o ei f rd Bartholomew wedi llywyddu yn fanwl yn ol rheolau uniondeb, ond yr oedd y Chief Justice, Roldan, o genfigen ato, am nad oedd yn Spaenwr, ac am nad oedd o uchelwaedoliaeth, wedi codi gwrthryfel yn ei erbyn ; ac felly wedi dyrysu pob gwaith a llwyr atal ffyniant y sefydliad ; a gorfu i Columbus ddefnyddio ei holl ddoniau i gael pethau i ryw drefn. Adferodd y Prif-farnydd i'w swydd, a chyhoeddodd y cai pob terfysgwr faddeuant, ond dychwelwyd at ei ddyledswydd ; ac felly, drwy lawer o bwyll ac o boen, llwyddodd i adferu trefn a thawelwch, o leiaf mewn ymddangosiad. Yn y cyfamser yr oedd ei elynion yn Spaen yn hustyng yn ei erbyn yn ddiorphwys. Yr oedd achwyniadau Roldan ac eraill, yn ei erbyn ef a'i frodyr yn cael eu credu gan awdurdodau Spaen ; ac yr oedd Columbus, oblegyd y terfysg ydoedd o hyd yn nychu y sefydliad, yn methu anfon cyfoeth adref fel yr oeddid yn disgwyl. Yr oedd amryw anturiaethwyr newyddion am gael myned ar ei draws i gasglu y cyfoeth ; a diameu fod amryw o fawrion y Llŷs yn sychedig am ei swydd fel Llywydd y Byd Newydd ; ac yr oedd Ferdinand am gael rhyw achlysur, neu esgus, i dori ei gyfamod ag ef, er gallu ei ddiswyddo, a gosod un o bendefigion y Llŷs yn ei le ; ond yr oedd y frenines Isabella yn parhau yn ffyddlawn iddo. Yn yr adeg hono, yr oedd rhai o'r Yspaenwyr wedi dychwelyd adref ; ac wedi cymeryd gyda hwy rai o'r brodorion i'w gwerthu yn marchnad y gaethfasnach. Pan ddeallodd Isabella fod Columbus ei Rhaglaw, wedi goddef i'w "deiliaid Indiaidd" gael eu caethgludo felly, ffromodd, ac ymwylltiodd yn ei erbyn, ac anfonwyd Bovadilla, un o swyddwyr mwyaf nwydwyllt y Llŷs, i ymchwilio i ymddygiadau Columbus. Pan gyrhaeddodd Bovadilla y sefydliad, yn lle eistedd mewn barn i ymholi ac ymchwilio yn deg a manwl, yn ol yr addysg a'r eirchion a dderbyniasai, rhuthrodd yn ol hen genfigen a rhagfarn ei galon gul hunanol, a chymerodd feddiant o dŷ a dodrefn, a holl lyfrau ac ysgrifau Col-

mbus; ac anfonwyd ef a'i frodyr, yn rhwym mewn gefynau
eiyrn, dan ddedryd marwolaeth, i Spaen i gael eu dienyddio.
ynygiodd swyddog y llong oedd yn eu cario ddatod eu cad-
ynau trymion. Diolchodd Columbus iddo am dosturi ei gar-
ligrwydd, ond gwrthododd y ffafr; gan sylwi eu bod wedi
el eu rhwymo mewn haiarn drwy orchymyn breninol, a bod
un awdurdod yn ofynol i'w gollwng yn rhydd: ac felly
ont yn eu gefynau trymion drwy yr holl fordaith. Pan gyr-
eddasant Spaen, a phan welodd y bobl ddarganfyddwr
eddylgar, a gwrol, a boneddigaidd y byd newydd yn "rhwym
ewn cystudd a haiarn," aeth yn gynwrf gwyllt drwy holl
linasoedd Spaen; a phan ddeallodd Ferdinand ac Isabella
yr oedd y teimlad cyffredinol yn gweithio mor gryf o du
olumbus, darfu iddynt gondemnio eu Cenhadwr Bovadilla yn
iaith gryfaf, am ddefnyddio eu henw a'u hawdurdod hwy i
flawni y fath drais gwaradwyddus â phrif gymwynaswr yr
es. Gorchymynasant ryddhau y carcharorion urddasol yn
lioed, ac anfonasant osgordd anrhydeddus i'w dwyn i'r llŷs:
rymasant y ddedryd oedd i'w herbyn, ac addawsant gospi
wdwr y fath gam. Pan y daeth Columbus i'w gwyddfod,
rodd allan i wylo yn uchel, taflodd ei hun i lawr at eu traed,
bu am hir amser heb allu yngan gair, oblegyd cynwrf ei
eimladau. Diswyddwyd Bovadilla; ond yn lle anfon Col-
mbus yn ol, mewn anrhydedd dwbl, fel y dylasid, anfonwyd
vando, un o farchogion Spaen, i fod yn llywydd yn ei le:
thr addawyd y cai Columbus ei adsefydlu yn holl ragorfreint-
u ei swydd, ar ol gorphwys ychydig yn Spaen, a chael ham-
den i baratoi at fordaith arall o ymchwiliadau.

Yn yr adeg hono, yr oedd Vasco De Gama, mordeithydd
nwog Portugal, newydd ddychwelyd adref o'r India Ddwyr-
niol, ac wedi morio yno, ac oddiyno, o gylch pen deheuol Aff-
ca; ac felly wedi dyfod o hyd i'r ffordd ag yr oeddid wedi
n cymaint am dani; a gorchest mawr De Gama oedd yn
yncu bron bob ymffrost drwy holl Europe. Yr oedd Colum-
us yn credu o hyd fod cûlfor, neu ryw fynedfa, i forio yn mlaen

31

tua Honduras, ac y gallai yntau gyrhaedd i gyrau India y Dwyrain y ffordd hono ; a dychwelyd i Spaen, naill ai i fyny'r Môr Coch, neu ar hyd ffordd newydd De Gama, heibio i ben tir Affrica. Yr oedd Columbus erbyn hyn yn tynu yn hen ŵr, ond yr oedd ei galon o hyd yn sefydlog ar fordaith felly o "gylch y byd." Yr oedd yr "*Idea*" fawr o "fordaith o gylch y ddaear" wedi gwreiddio yn ei galon, a chymeryd meddiant o'i holl feddwl. Yr ydys yn arfer meddwl a dweyd am dano ei fod yn ddyn o alluoedd cryfion, o fyfyrdodau gweithgar, o yspryd gwrol, penderfynol, a dyfalbarhaol: ond nid dyna'r cyfan: yr oedd ei galon yn llosgi ynddo o sêl grefyddol. Yr oedd yn arfer cydnabod Rhagluniaeth yn ei holl symudiadau. Yr oedd yn credu ei fod wedi cael yr anrhydedd o ddarganfod y byd newydd yn ol arfaethau gras y nefoedd ; ac yr oedd yn credu fod Rhagluniaeth yn trefnu iddo fod yn offerynol i enill y byd at Gristionogaeth. Yr oedd ynddo hefyd gryn lawer o sêl "Rhyfelwyr y Groes." Yr oedd yn credu mai efe gai y fraint o enill y "lleoedd sanctaidd" i ganlynwyr Iesu oddiar ganlynwyr y gau-broffwyd. Yr oedd yn credu fod y tri pheth crybwylledig wedi eu cysylltu â'u gilydd yn arfaethau y nefoedd, ac mai efe oedd yr offeryn dewisol i'w dwyn o amgylch. Cafodd yr anrhydedd uchel o gyflawni y cyntaf, sef darganfod America ; ond y mae gan Ragluniaeth offerynoliaeth uwch a a phurach na'r eiddo Columbus, a sêl mwy hunanymwadol ac efengylaidd na'r eiddo Llŷs nac Eglwys Ferdinand ac Isabella i enill y byd at Gristionogaeth.

Hwyliodd Columbus o Cadiz i'w bedwaredd mordaith ar y nawfed dydd o Mai, 1502. Moriodd gryn lawer gyda gororau Deheubarth America, ond methodd gael y fynedfa ddisgwyliedig trwodd i foroedd India y Dwyrain, ac ni wnaeth unrhyw ddarganfyddiad o bwys arbenig. Yr oedd ei hen longau llwydion yn hollol anghymwys at y fath for-deithio ; a gorfu iddo ddewis ac adgyweirio yr un oreu o honynt i ddychwelyd yn ol i Spaen. Effeithiodd y newydd am farwolaeth Isabella yn fawr iawn arno, oblegyd hi oedd y ffyddlonaf o bawb i'w

gefnogi; ac yr oedd ei cholli yn ergyd marwol i'w obeithion am unrhyw gefnogiad pellach, nac am unrhyw gydnabyddiaeth am ei fawr bryder, a'i hirfaith lafur. Dyn oeraidd, eiddigeddus, anniolchgar, cybyddlyd, anghyfiawn, oedd Ferdinand. Yr oedd yn anewyllysgar i wneuthur unrhyw ad-daliad i'r dyn oedd wedi dwyn y fath enill a'r fath ogoniant i'w freniniaeth. Suddodd Columbus i ddigalondid a thlodi, yn wyneb annhegwch Ferdinand a'i Lŷs. Yr oedd wedi cael ei dreulio allan gan y pryder a'r caledi a oddefasai yn ystod ei fywyd ymchwilgar a llafurus; a bu farw yn Valladolid, Mai 20, 1506, yn ddeg a thriugain oed. Bu farw mewn ymostyngiad a thawelwch, dan lywodraeth y parch uchaf i grefydd ag oedd wedi fynwesu drwy holl helyntion ei fywyd. Gydag iddo farw, yr oedd Ferdinand a'i bendefigion yn haner addoli ei goffadwriaeth. Ar ol ei adael yn ei "ddyddiau blin" yn ddigartref, ac yn ddisylw, adeiladasant golofn ardderchog uwch ei fedd yn Seville; ond ni chafodd Seville, nac un lle arall yn Spaen, yr anrhydedd o gadw ei lwch. Symudwyd ei gorff i eglwys gadeiriol St. Domingo, yn Hayti, yn ol archiad ei Lythyr-cymun; ond cafodd ei symud eilwaith i Havanna yn Cuba pan aeth Hayti i feddiant Ffrainc yn 1795.

Yn mhen deng mlynedd ar ol ei farwolaeth daeth mordeithwyr i lawnach adnabyddiaeth nag ef o ynysoedd a gororau America: a darfu i anturiaethwr o Florence o'r enw Amerigo gael yr anrhydedd oesol o roddi ei enw ar Raniad mawr o'r byd ddylasid alw ar enw Columbus. Nid ydym yn cofio i Columbus alw ar ei enw ei hunan yr un o'r manau a ddarganfyddodd: ond perthyna i Amerigo yr enwogrwydd o lunio anwireddau er udganu ei glod ei hun; a'r anonestrwydd o chwenychu anrhydedd oedd yn perthynu yn eglur ac yn gyfiawn i Columbus.

Priodola rhai yr anrhydedd o ddarganfod Cyfandir America i deulu o fordeithwyr enwog o'r enw Cabot, ag oeddynt yn byw yn Lloegr, er yn Venetiaid o genedl. Cawsant Charter a chymorth gan Harri y Seithfed, i wneud ymchwiliadau am

wledydd anadnabyddus: ac aeth John a Sebastian Cabot, tad a mab, allan tua'r Gorllewin, yn 1496, a darganfuasant ynys Newfoundland. Hwyliasant allan eilwaith yn y flwyddyn ddilynol i gyfeiriad mwy deheuol, a dywedir iddynt gyrhaedd Penrhyn Florida: os felly, canfuant Gyfandir America ychydig fisoedd cyn i Columbus ei weled; ond y mae hanes eu mordeithiau yn bur dywyll. Yr oedd Columbus wedi darganfod y West Indies, sef ynysoedd gororau America, dair blynedd cyn eu mynediad hwy allan. Yr oedd wedi bod yno ddwy waith yn mordeithio yn eu mysg; ac yr oeddid wedi taenu ei adroddiadau eglur am danynt, ac am y ffordd i'w cyrhaedd, nid yn unig drwy Spaen a Portugal, ond drwy holl wledydd Europe. Yr oedd hefyd, yn flaenorol i fynediad y ddau Cabot allan, wedi anfon ei frawd Bartholomew i esbonio ei gynlluniau i Lŷs Lloegr, ac y mae yn ddiamheuol mai ei adroddiadau ef, a'i gynlluniau ef, a'i gyfarwyddiadau ef, a'i *fapiau* ef, ddarfu gynhyrfu Harri y Seithfed a marsiandwyr Bristol i anfon allan y ddau Cabot tua "Byd Newydd" Columbus. Columbus oedd y cyntaf o Europe i groesi yr Atlantic. Cyflawnodd ei anturiaeth drwy lu o rwystrau. Gwnaeth awdurdodau Genoa, a Portugal, a Spaen, eu goreu i'w ddigaloni. Efe oedd y cyntaf i osod ei droed i lawr ar diroedd pell y Gorllewin fyd. Efe ddysgodd y ffordd i Cabot, ac Amerigo, a Balboa, a Magellan, a'u holl ddilynwyr, i groesi yr Atlantic; ac EFE ddylai gael yr anrhydedd o hyny.

Cymerai ormod o gylch i ni yn awr gynyg darlunio yn fanwl y cyfandir cyfoethog, a'r ynysoedd ffrwythlawn, a ddarganfyddwyd gan Columbus; ac y mae hyny, mewn ystyr, yn afreidiol; oblegyd fod eu daearyddiaeth, a'u hinsoddau, a'u hadnoddau mor adnabyddus; ond nid anmhriodol fyddai gwneud rhai crybwylliadau am y brodorion.

Byddai yn naturiol i ymholi, yn gyntaf, O ba le y daethant i'r byd Gorllewinol? Golyga rhai i'w rhieni cyntaf gael eu creu yno,—na ymfudodd eu hynafiaid erioed yno o wledydd y Dwyrain,—mai nid pobl o hil Adda ydynt, ond eu bod o gy-

fansoddiad a naturiaeth gwahanol i hiliogaeth hen deulnoedd Asia. Yr wyf fi yn methu eto derbyn y grêd yma. I Adda ac Efa, ar eu cread, y rhoddwyd y gorchymyn "Ffrwythwch, ac amlhewch, a llenwch y ddaear;" ac yr wyf yn credu i Ragluniaeth drefnu ar iddynt allu cyflawni y gorchymyn. Yr wyf yn credu iaith Moses, mai "Efa oedd mam pob dyn byw." Yr wyf yn derbyn barn gryno Paul, mai "O un gwaed y gwnaeth Duw bob cenedl o ddynion i breswylio ar holl wyneb y ddaear." Yr wyf yn credu fod Indiaid y Gorllewin yn anfarwol fel plant Adda,—eu bod yn gyfrifol fel plant Adda,—eu bod yn syrthiedig a llygredig fel plant Adda; a bod modd eu hachub a'u codi drwy gyfryngdod yr Ail Adda. Os gofynir pa fodd, neu pa bryd yr aethant o'r hen fyd i'r byd newydd; nis gellir ateb yn benderfynol. Yr oeddid yn medru morio yn yr hen oesoedd. Bu un fordaith fawr ddiogel yn nyddiau y diluw. Bu amser hir a thraul fawr i baratoi ati. Gwnaed pob gwawd o'r anturiaeth hono, ond atebodd y dyben; ac nid anghofiwyd byth yr hanes. Nid yw Culfor Behring rhwng Asia ac America ond pymtheg milldir ar hugain o led; a dichon ei fod yn gulach na hyny yn yr hen oesoedd. Nid gorchest fawr oedd croesi yno; a dichon fod mur terfyn culach na hyny mewn manau anadnabyddus yn ein hamser ni. Anhawdd gwybod pa le y mae y terfyn rhwng y ddau gyfandir yn y cyrau Gogleddol hyny, gan fel y mae y tir a'r dwfr yn ymblethu i'w gilydd yno. Yr oedd hefyd yn rhewi yn llym yn y cynoesoedd, yn amser Jacob ac yn amser Job; a dichon y gellid cerdded ar rew y pryd hyny o Siberia i Greenland, ac o Greenland i barthau o America. Nid oedd yn anmhosibl i fintai o anturiaethwyr groesi yr Atlantic yn yr hen oesoedd, fel y gwnaed gan Columbus ac eraill yn niwedd y bymthegfed ganrif. Gwnaeth y Greenlanders a'r Laplanders lawer o fordeithiau enbyd yn eu cychod crwyn.

Y mae llaweroedd yn barnu fod yr Atlantic Ocean, neu y Môr Werydd, ag sydd yn awr yn ymdreiglo rhwng Europe ac America, neu o leiaf ran fawr o hono, yn ddyffryn hyfryd, neu

yn wastadedd ëang; ac yn cysylltu cyfandir y Dwyrain wrth gyfandir y Gorllewin. Wrth ddwyn y ddaear o'r tryblith i drefn, dywedodd Duw, "Casgler y dyfroedd oddidan y nefoedd i'r un lle, ac ymddangosed y sychdir, ac felly y bu." A bernir gan amryw haneswyr, a beirniaid, ac athronyddion fod y "sychdir" y pryd hyny yn un cyfandir mawr tramwyadwy, yn cyrhaedd o gyrau eithaf Dwyrein-diroedd Asia hyd gyrau eithaf Gorllewin-diroedd America. Y mae y "sychdir" yn awr yn ddau gyfandir, sef yr un Dwyreiniol, yn cynwys Europe, Asia, ac Affrica, yr hwn a elwir yr "Hen Fyd;" a'r un Gorllewinol, yn cynwys y ddwy America, yr hwn a elwir y "Byd Newydd:" ac y mae yr Atlantic wedi ymlenwi, ac yn ymdreiglo rhyngddynt. Tueddir fi i feddwl fod yr "Hen Fyd" a'r "Byd Newydd" unwaith yn un cyfandir; ac y gellid teithio ar y "sychdir" o eithafoedd y Dwyrain i eithafoedd y Gorllewin: a bod y mor llydan ydys yn awr yn groesi wrth ddyfod o Gymru i'r Unol Dalaethau, y pryd hyny yn wastadedd ëang, tua thair mil o filldiroedd o led. Cofnodir fwy nag unwaith yn hen Groniclau y Beibl mai yn nyddiau Peleg y "rhanwyd," neu y gwahanwyd, neu y torwyd y ddaear: a golygir i hyny gymeryd lle drwy orlifiad y môr mawr o'r Gogledd, neu o'r De, nes llenwi yr holl wastadedd neu waelodion a elwir yn awr y "Mor Werydd:" ac mai felly y "rhanwyd," neu y gwahanwyd Europe ac America oddiwrth eu gilydd. A bernir hefyd mai yn yr adeg hono y ffurfiwyd "Môr y Canoldir," drwy i ryferthwy y gorlifiad mawr yn nyddiau Peleg dori drwy fwlch Gibraltar a chymeryd meddiant o'r wlad fawr isel oedd y pryd hyny yn derfyn, neu gysylltiad rhwng Europe ac Affrica. Y mae yn sicr fod rhyw ystyr pwysfawr i hen gofnodiad y Beibl am "raniad y ddaear yn nyddiau Peleg:" a thueddir fi yn gryf i gredu ei fod yn arwyddo rhyw raniad, neu holltiad, neu rwygiad, neu wahaniad mawr o waith natur, ac nad oes ynddo ddim cyfeiriad at unrhyw raniad o'r ddaear a wnaed gan hyny o bobl oeddynt y pryd hyny yn ei phreswylio. Byddai torwyd, neu holltwyd, neu gwahanwyd, yn gystal cyfieithiad a'r gair "rhan-

wyd;" ac y mae yn hawddach genyf feddwl fod y geiriau "rhanwyd y ddaear," yn arwyddo rhyw raniad, neu wahaniad, neu doriad, neu rwygiad trwy orlifiad y dyfroedd oblegyd rhyw gynwrf yn y ddaear, fel yr aeth yn ddwy ran,—na bod y geiriau yn arwyddo unrhyw raniad o'r ddaear, gan feibion Noah, i fod yn fân adraniadau iddynt hwy a'u teuluoedd. Buasai gwaith anian yn rhanu, neu yn hollti felly y sychdir mawr yn gwneud mwy o argraff ar y meddwl na gwaith ychydig o Batriarchiaid yn ei ranu rhyngddynt: a buasai rhieni myfyriol yn fwy tebyg o alw eu mab yn Peleg er cof am ryw raniad mawr o waith natur, nag am unrhyw raniadau daearyddol o drefniad dynion.

Yr wyf o ganlyniad yn credu i ryw ganghen, neu ganghenau, o wreiddyn Adda ymestyn i wledydd y Gorllewin yn gynar ar ol y diluw, a dichon i ganghenau ieuangach ymestyn mewn oesoedd diweddarach. Gofynir, ysgatfydd, pa fodd y darfu iddynt ddirywio mor fawr, os ydynt yn hanu o deuluoedd enwog hen Batriarchiaid Asia? Gellir ateb mai nid hwy ydynt yr unig lwythau o blant y cwymp ydynt wedi ymollwng i ddirywiad, ac ymlithro i ddyfnderoedd anwybodaeth ac anwareidd-dra. Y mae dirywiad o'r un natur wedi cymeryd lle yn yr Aipht ac Ethiopia, yn Palestina a Babylon, yn Persia ac yn India. Y mae gogwydd y byd wedi bod ar i lawr, ac y mae hanes pob hen genedl i raddau mwy neu lai yn hanes dirywiadau. Dichon y gofynir yn mhellach, Pa fodd yr oedd Indiaid America, os disgynasant o hiliogaeth Adda, yn gwahaniaethu cymaint o ran eu lliw a'u llun oddiwrth Europeaid? Gellir ateb fod llwythau lliosog o frodorion Asia ac Affrica yn gwahaniaethu cymaint o ran lliw a llun a thafodiaith ac arferion oddiwrth Europeaid ag ydyw neb o Indiaid America; ac nid oes neb yn amheu disgyniad yr Asiaid a'r Affricaniaid o achau Adda.

Y mae yn naturiol i ofyn,—o leiaf i Gymro ofyn—A oedd rhai o hil yr hen Gymry yn preswylio yn America yn nyddiau Columbus? Y mae amryw haneswyr a hynafiaethwyr enwog

yn barnu fod; y mae dynion dysgedig, o'r tu arall, yn barnu nad oedd. Yr wyf fi o'r grêd fod llwyth o'r hen Gymry wedi sefydlu yn America cyn amser Columbus. Y mae lluaws o dystiolaethau cryfion i Madoc ap Owain Gwynedd a'i wŷr hwylio i America yn y flwyddyn 1170; ac nid ellir gwadu y tystiolaethau hyny heb siglo ar yr un pryd y seiliau sydd genym i lawer o hen hanesion mwyaf credadwy ein cenedl. Addefir fod y fath Dywysog yn Nghymru yn y ddeuddegfed ganrif ag Owain Gwynedd, a'i fod yn llywydd o egni a dewr-der nodedig; ac iddo ef a'i feibion orchfygu byddinoedd lliosog Harri yr Ail mewn amryw frwydrau gwaedlyd. Addefir iddo enill un fuddugoliaeth enwog ar afon Menai, ac mai Madoc ei fab oedd un o'i brif lyngeswyr,—os nad y prif lyngesydd. Rhaid felly fod ganddo lynges, a bod ei feibion yn gyfarwydd â llongwriaeth. Addefir i Owain Gwynedd farw tua'r flwydd-yn 1169, ar ol teyrnasu ddeuddeg mlynedd ar hugain, ac iddo adael amryw feibion ar ei ol, sef Iorwerth, Hywel, Dafydd, Madoc, a dichon eraill. Addefir fod rhyfel poeth rhwng ei feibion am y goron; a'r adroddiad am Madoc ydyw—iddo mewn gofid oblegyd y rhyfel hyny rhwng ei frodyr, a'r perygl-on, cartrefol a thramor, yr oedd ei wlad ynddynt, ac o herwydd ei archwaeth at fordwyo, benderfynu troi allan i chwilio am gartref tawelach mewn rhyw wlad arall; ac iddo ef a mintai o'i ganlynwyr, hwylio tua'r Gorllewin, gan adael tir yr Iwerdd-on ar eu llaw ddehau; ac iddynt gyfeirio yn mlaen ar eu mor-daith nes cyrhaedd tiroedd hyfryd, ffrwythlawn, helaeth, yn ngwlad machludiad haul: ac iddo ddychwelyd i Wynedd i fynegi am ei ddarganfyddiadau; ac iddo hwylio ymaith yr ail waith, a thros dri chant o'i gydwladwyr gydag ef, mewn deg o longau, gyda bwriad i ymuno â'r cyfeillion oedd wedi adael ar ei daith gyntaf yn y wlad newydd. Dyna'r adroddiad, ac nis gallaf feddwl mai dammeg o ddyfais twyll ydyw. Cyfeirir at ymadawiad Madoc gan amryw o feirdd a haneswyr yr oes hono, a'r oesau cyntaf ar ol hyny; megys Llywarch, a Gwalch-mai, a Caradog, o Lancarfan, a Ieuan Brechfa, a Meredith ap

Rhys, a Chynfrig ap Gronwy, a Guttyn Owain, y rhai a ysgrifenasant cyn darganfyddiadau Columbus. Cyfeirir at yr adroddiad gan Humphrey Llwyd, a Dr. Dafydd Powell ac eraill o haneswyr blaenaf yr oesau ar ol hyny, pan y buasai yn hawddach o lawer i'w wrthbrofi nag ydyw yn y dyddiau diweddaf hyn. Credid yr adroddiad gan amryw haneswyr Seisnig, megys Hakluyt, Marryot, Dr. Campbell, Syr Thomas Herbert, William Penn ac eraill; ac awgryma rhai o honynt yn bur eglur fod y Cymry yn gwybod am wledydd pell y Gorllewin yn hir cyn amser Columbus. Credid yr adroddiad gan William Wynn a Theophilus Evans, y rhai oeddynt yn bur gyfarwydd â iaith, a barddoniaeth, a hanes y Cymry; a chredid yr adroddiad gan yr Hynafiaethwyr Cymreig ymchwilgar a dysgedig William Owain Pugh a Iolo Morganwg. Dywedir fod traddodiad yn mysg yr Indiaid fod eu hynafiaid dewrion yn byw mewn ynys fechan yn mhell yn y Dwyrain. Cyhoeddwyd gan y Spaeniaid iddynt gael yn America un genedl wahanol iawn i'r lleill—wahanol o ran lliw a llun eu cyrff—wahanol o ran eu haneddau a'u harferion—wahanol o ran eu trefniadau gwladol, a'u defodau crefyddol, a bod ganddynt radd o wybodaeth am y grefydd Gristionogol. Prif amcan y Spaenwyr oedd twyllo a lladd yr Indiaid, goresgyn eu gwlad ac anrheithio eu meddianau; ac nid chwilio i'w hanes, na cheisio olrhain eu hynafiaethau; a rhaid addef fod llawer gormod o yspryd Spaen yn yr ymfudwyr cyntaf o Loegr ac o Gymru. Cyhoeddodd rhai Cymry, megis Morgan Jones, Joseph Roberts, a Morris Gruffydd, iddynt gyfarfod yn ddigwyddiadol â rhai o'r "Indiaid Cymreig," ond nid ellir disgwyl byth ond rhyw *haner*-hanesion gan ryw *haner*-dynion felly. Mae'n drueni na buasai rhyw anturiaethwr sclog, cyfarwydd â iaith, ac â defodau yr hen Gymry, yn myned allan i chwilio am danynt yn amser yr ymfudiadau cynaraf o Gymru. Haner can' mlynedd yn ol, cloddiwyd darnau o aur bathol Rhufeinig yn agos i Lexington, Kentucky. Y mae yn sicr i rywrai o achau Europeaidd eu colli yno, ac y mae bron yn sicr iddynt gael eu

li yno ryw bryd rhwng oes Marc Antony a dyddiau Columbus. Cafwyd darnau o lestri priddion a gweddillion eraill yn un ardal, ac nid oes dim sail i gasglu i neb o Europe groesi America, ond y Tywysog Madoc a'i ganlynwyr. Y brif wrthddadl i'r adroddiad ydyw—"Ei bod yn llwyr anmhosibl i Madoc hwylio dros yr Atlantic cyn dyfeisiad cwmpas y morwr." Mewn atebiad i hyn gellir sylwi, ei bod yn ddiogelach i forio ar ganol y moroedd na chyda'u glanau—fod y Pheniciaid a'r Groegiaid, ac yn o debyg yr hen Gymry hefyd, yn gwneud mordeithiau mwy dyrus a pheryglus, a meithach na'r daith o ben deheuol yr Iwerddon i America—fod y Cymry yn forwyr cyfarwydd yn amser Cæsar—fod Madoc yn ddyn meddylgar, anturiaethus, a mwy na hyny yn forwr enwog; a'i fod, fel llyngesydd tywysogaidd, mewn sefyllfa i gael llynges at ei wasanaeth, ac iddo hwylio i rywle: na ddarfu iddo ddim cyfeirio i'r Dwyrain ar draws gwlad ei elyn Harri yr Ail, na ddarfu iddo ddim troi tua'r De i ororau cyngreirwyr ei elyn, na ddarfu iddo ddim anturio tua'r Gogledd i foroedd ac ynysoedd yr iâ, nad oedd ddim yn anhawdd iddo, ar ol gosod ei fryd ar hwylio heibio i ororau deheuol yr Iwerddon tua'r Gorllewin, gadw at y cyfeiriad hyny, yn enwedig mewn tymor hafaidd o'r flwyddyn, pe na buasai yn edrych byth i'r wybrenau ond ar yr haul pan yn codi ac yn machludo. Yr oedd wedi bod yn hwylio moroedd Prydain lawer tro yn oriau y nos, ac y mae'n lled debyg ei fod yn ychydig o seryddwr. Yr oedd gan y Cymry lawer o fanteision ac o gymelliadau i ddysgu llongwriaeth, drwy eu bod yn preswylio mewn ynys o drafnidaeth helaeth, ac o borthladdoedd cyfleus; ac y mae cyfeiriadau at eu henwogrwydd fel llongwyr mewn llawer o hen hanesion. Felly nis gallaf blygu i'r wrthddadl ei bod yn "anmhosibl" i'r Tywysog Madoc hwylio dros yr Atlantic i Gyfandir mawr y Gorllewin.

Gwrthddadl arall a grybwyllir yw—"Ei bod yn rhyfedd, gan i Madoc ddychwelyd unwaith i gyrchu ychwaneg o'i gydwladwyr i sefydlu gydag ef, na buasai yn dychwelyd eil-

waith i'r un dyben." Nid wyf yn ystyried hyny mor ryfedd. Rhoddodd un cynygiad teg i'r rhai oeddynt am y fath anturiaeth i'w ddilyn. Y mae'n bur debyg iddo ef a'i gymdeithion gael llawer o wrthwynebiad gan eu cymydogion, a dichon nad oedd ddim am wneud ail gynygiad; neu dichon iddynt wneud ail gynyg, ac i'r llynges hono golli, neu fethu dyfod; neu dichon i'r tywysog farw yn lled fuan ar ol ei ail ymadawiad. Nid oedd ddim mor rhyfedd iddynt o radd i radd anghofio hen wlad eu profedigaethau. Y mae heddyw, yn yr Unol Dalaethau, yn enwedig yn hen Dalaethau Pennsylfania a Virginia, filoedd lawer o hil y Cymry, oes y mae heddyw, yn oes y mordeithio a'r gohebu, ddegau o filoedd o hil y Cymry na wyddant ddim o iaith eu hynafiaid, na dim o hanes eu hynafiaid, na dim am hynodion ardaloedd genedigol eu hynafiaid, na dim am eu carenydd sydd yn byw yno yn awr, er nad oes nemawr dros gan' mlynedd er pan ddaeth eu hynafiaid drosodd o Gymru i America. Y maent wedi hebrwng pob adgofion am eu hynafiaid i dir angof; ac nid rhyfedd i hiliogaeth canlynwyr Madoc yn yr "hen amser gynt," pan nad oedd na llythyr na llyfr byth yn tramwy rhwng y ddwy wlad, anghofio iaith a hanes eu hynafiaid, a hen helyntion gwlad eu tadau.

Gwrthddadl arall a grybwyllir ydyw—"Ei bod yn rhyfedd na buasai rhai o'r ymchwilwyr anturiaethus ac enwog o Spaen, a Portugal, a Ffrainc, a Lloegr yn dyfod o hyd i'r Indiaid Cymraeg." Nid wyf yn ystyried hyny mewn un modd yn rhyfedd, oblegyd nid oedd neb o honynt yn deall eu hiaith, na neb o honynt yn meddwl chwilio am danynt. Yr oeddynt yn ymchwilwyr hyfion ac enwog am diroedd ac am drysorau yr Indiaid; ond nid oeddynt yn enwog am unrhyw ymchwiliadau dyngarol er helaethu cylch y gwybodaethau a'r celfyddydau, a chynyg goludoedd yr efengyl i'r Indiaid; ac yr oeddynt wedi llofruddio myrddiynau digyfrif o honynt, ac wedi dychrynu, a chwalu, a chreuloni y llwythau a weddillasant cyn i neb o'r Cymry feddwl chwilio am yr "Indiaid Cymreig." Dichon y gall fod rhai o'u hiliogaeth 'eto ar wasgar, neu yn llwythau

cymydogaethol, yn nhiriogaethau mawrion y Gorllewin, naill ai ar y mynyddau neu yn y dyffrynoedd; ond y maent yn llawer mwy Indiaidd, ac yn llawer anoddach eu hadnabod yn awr nag oeddynt yn amser yr ymfudwyr cyntaf ar ol Columbus.

Gellid ymholi eto—Pa olwg oedd ar yr Indiaid yn amser cychwyniad y sefydliadau Spaenaidd yn eu mysg? Y mae yn amlwg eu bod yn lliosog iawn, eu bod yn filiynau ar filiynau yn hulio yr holl gyfandir mawr o gyrau uchaf y Gogledd i gyrau isaf y De, yn gystal a'r ynysoedd cymydogaethol. Mae'n debyg fod poblogrwydd y byd newydd y pryd hyny yn llawer mwy nag ydyw yn bresenol, a chymeryd y brodorion a'r Europeaid gyda'u gilydd. Y mae'n amlwg hefyd fod llawer o wahanol lwythau o honynt dan eu gwahanol lywodraethau. Y mae yn amlwg hefyd fod rhai llwythau o honynt wedi syrthio yn îs mewn anwybodaeth ac anwareidd-dra na llwythau eraill. Y mae'n amlwg hefyd eu bod bron oll yn rhy hoff o fywyd crwydraidd a segur. Gallasent wneud gwisgoedd iddynt eu hunain o cotwm, a defnyddiau eraill, ond yr oeddynt yn foddlon heb wisgoedd, am fod hyny yn arbed iddynt ddosbarth mawr o drafferthion bywyd. Gallasent adeiladu iddynt eu hunain anneddau cyfleus a chysurus, ond yr oeddynt yn foddlon i fyw yn y bwthyn gwaelaf, neu dan gysgod y llwyn. Gallasent amaethu y ddaear, ond yr oedd yn well ganddynt fywyd o segurdod er gorfod byw yn dlotach. Nid oedd dim yspryd rhag-ddarbod yn eu mysg, na dim tuedd at gywreinrwydd, na dim awydd i ymchwilio. Nid oedd ganddynt ddim sefydliadau at gefnogi na meithrin celfyddyd na llenoriaeth. Nid oedd dim o'r Beibl ganddynt, na dim llyfrau eraill, ac nid rhyfedd eu bod wedi llithro yn isel. Dywedir eu bod yn lliosog iawn yn Peru a Mexico, a bod ganddynt yno lywodraethau mwy trefnus nag mewn parthau eraill o America. Dylid addef bod rhai llwythau o honynt yn cadw i fynu yspryd ac arferion Nimrodaidd a Sabeaidd, a bod y cyfryw yn hoff o ryfela ac anrheithio. Dywedir am y Caribs, brodorion rhai o'r Ynysoedd Caribbëaidd, eu bod yn dysgu eu plant i ymladd, a lladd, ac

anrheithio o'u mebyd, a'u bod yn arfer gwledda ar gyrff eu carcharorion rhyfel yn nydd gorfoledd eu buddugoliaeth : ond yr oedd llwythau lliosog eraill o honynt, fel y dywed Columbus, "ar ei lŵ," yn dirion, ac addfwyn, yn foneddigaidd a chymydogol, yn heddychol a hawdd eu trin : yr oeddynt yn anwybodus, ond yn ddiniwed ; yr oeddynt yn anwariaid tlodion, ond yr oeddynt yn barod i gymeryd eu dysgu a'u llywodraethu ; ac yr oedd ganddynt galon dyner i fedru teimlo yn ddiolchgar am bob cymwynas a charedigrwydd. Yr oedd gan bron bob llwyth o honynt ei benaeth, ac is-benaethiaid ; ac yr oeddynt yn dysgu ufuddhau i'w blaenoriaid. Yr oeddynt yn credu fod Un Bod Goruchaf, ac y dylid ei ofni a'i barchu ; ac yr oeddynt yn credu bod sefyllfa ddyfodol o wobr a chosb yn aros dynion yn ol eu hanian a'u hymddygiadau yn y bywyd presenol. Yr ydys wedi cadw mewn coffadwriaeth araeth hen frodor boneddigaidd o Cuba wrth estyn basgedaid o ffrwythau yn anrheg i Columbus. Yr oedd ei araeth yn amlygiad o'i yspryd heddychol ef a'i gymydogion, ac o'u parch uchel at eu hymwelwyr gwynion. Ystyr ei eiriau oedd fel y canlyn :

"Pa un ai duwiau ydych ai dynion ydych, nis gwyddom ni. Daethoch i'r tiroedd hyn â nerth ag y byddai yn ynfyd i ni geisio ei wrthwynebu, pe byddem am wrthwynebu. Yr ydym oll gan hyny at eich trugaredd. Os dynion ydych, darostyngedig i farwoldeb fel ninau, rhaid eich bod yn gwybod fod bywyd ar ol y bywyd hwn, lle y bydd cyfran dynion da a dynion drwg yn bur wahanol. Os ydych gan hyny yn disgwyl eich bod i farw, ac yn credu, fel ninau, fod pob un i gael ei wobrwyo mewn sefyllfa ddyfodol, yn ol ei ymddygiad yn y sefyllfa bresenol, ni wnewch chwi ddim niwed i neb o'r rhai na wnant ddim niwed i chwi."

Yr oedd yr hen Indiad boneddigaidd a heddychol, dan deimlad o'i gyfrifoldeb, ac bron ar derfyn ei yrfa, yn dweyd yn dlws ac yn effeithiol ; ond yr oedd yn camddeall anian ac amcan y Cristionogion anghristaidd, a'r ffyddloniaid anffyddiog, a'r crefyddwyr ofergoelus, a'r gweddiwyr gwaedlyd o Spaen.

Ac y mae hyn yn ein harwain at un gofyniad arall,—sef, Beth a ddaeth o'r brodorion "heddychol a hawdd eu trin" ar ol i'r Spaenwyr ddyfod o hyd i'w hetifeddiaethau? Nid oes dim tywyllwch am y modd y dylid ateb y gofyniad; ond nid oes yr un galon dyner ac ystyriol all feddwl am ei ateb heb deimlo yn glaf a drylliog. Gyda bod Columbus wedi darganfod y "Byd Newydd," yr oedd anturiaethwyr o bron holl wledydd Europe yn ymwylltio i ruthro am y cyntaf i gael rhan o'r anrhaith. Mynodd Llywodraethau Spaen a Portugal lythyrau awdurdod gan y Pab i gymeryd meddiant o'u holl diriogaethau. Yr oedd y fileiniaid llofruddiog am gymeryd meddiant o honynt hwy a'u heiddo yn enw Cristionogaeth. Yr un hawl oedd gan y Pab i'w rhoddi i Spaen a Portugal ag oedd gan ei "dad" gynt i gynyg "holl deyrnasoedd y byd" i'r Gwaredwr, os syrthiai i lawr i'w addoli. Yr oedd "Grant" y Pab, ar ryw olwg, yn fwy diaflaidd, na chynygiad y diafol; ond yr oedd yn dangos y dylanwad oedd gan Babyddiaeth yr oes hono ar lywodraethau Europe. Wedi cael y fath "Grant" gan ei "Sancteiddrwydd" y Pab, yr oeddynt yn fwy hŷf i lofruddio ac anrheithio. Nid oes yr un meddwl all ddirnad eu creulonderau tu ag at y brodorion. Yr oeddynt yn defnyddio pob dichell yn eu gallu i ddwyn eu heiddo, a'u rhyddid, a'u heinioes oddiarnynt. Yr oeddynt weithiau yn eu trethu heb drugaredd; bryd arall yn eu gorfodi i fasnachu ag Europeaid ar amodau hollol afresymol. Yr oeddynt yn caethiwo myrddiynau o honynt i weithio yn y mŵngloddiau, lle y byddai pedwar o bob pump yn meirw oblegyd eu caledwaith afiachus cyn pen y flwyddyn gyntaf o wasgfeuon eu caeth-lafur. Cyfrifir gan y Spaeniaid eu hunain i wyth miliwn—wyth mil o filoedd—o frodorion Peru gael eu lladd felly yn nghaethiwed y mŵn-gloddiau. Yr oedd llwythau lliosog o'r Indiaid nad ellid eu plygu i weithio felly mewn caethiwed. Yr oeddynt yn dewis marw yn hytrach na hyny; ac ymgodent i ymresymu ac i ymladd am eu hiawnderau; ac arfer y Spaeniaid oedd dyfetha y cyfryw o'r tir ac o'r ffordd cyn gynted ag y medrent,

beth bynag fyddai y draul a'r galanas. Bu byddinoedd am flynyddoedd lawer yn llofruddio yn ddiorphwys. Yr oeddynt yn lladd eu miloedd bob dydd. Yr oedd eu lladdedigion oll yn filiynau digyfrif; ac erys yr euogrwydd yn warth ar eu coffadwriaeth, ac yn felldith ar eu gwlad a'u cenedl yn oes oesoedd. Y mae yn gysurus i feddwl nad oes gan Spaen yn awr yr un droedfedd o dir, dan ei llywodraeth, drwy holl diriogaethau Deheubarth America. Bu rhwysg ei hawdurdod unwaith yn cyrhaedd dros bron yr holl gyfandir, ond y mae iau haiarnaidd ei gormes wedi cael ei dryllio. Y mae y preswylwyr sydd yno yn awr yn rhai o achau cymysg. Y maent o waedoliaeth ag sydd o ran yn Europeaidd, ac o ran yn Indiaidd. Nid oes genyf ddim yn erbyn i wahanol genedloedd ymgymysgu felly. Gall fod yn foddion i wneud cenedloedd y byd yn fwy cyfeillgar, ac yn fwy unol. Gall fod yn gymorth i ddatod canol-furiau y gwahaniaeth sydd rhyngddynt, ac i'w crynhoi yn nghyd i fod yn un pobl,—"pan y bydd un gorlan ac un bugail." Y mae goleuni Cristionogaeth yn graddol ymdaenu yn eu mysg, ac y mae y gwybodaethau a'r celfyddydau yn dilyn. Y maent yn dringo i fyny o radd i radd mewn gwybodaeth a gwareiddiad. Y mae eu galluoedd meddyliol yn cryfhau, ac y mae eu rhinweddau cymdeithasol yn cael mwy fwy o feithriniad. Bu tori iau Spaen yn orchest ddrud iddynt. Bu yn ymdrech waedlyd a phrofedigaethus; ond y mae ganddynt yn awr amryw lywodraethau annibynol; ac y mae eu hymestyniad yn barhaus am uwch gwareiddiad a pherffeithiach rhyddid. Y mae eu rhagorfreintiau a'u cysuron yn lliosogi, a gobeithio y parhant i liosogi, ac y cânt eu hir fwynhau mewn tangnefedd.

Y mae tu ag ugain o Ynysoedd y West Indies yn awr dan lywodraeth Lloegr; ond yr oedd y Spaeniaid wedi dyfetha y brodorion bron yn llwyr cyn i Loegr eu henill. Nid oedd dim cymaint ag un o Indiaid Jamaica wedi ei adael pan y daeth i feddiant Lloegr ddau can' mlynedd yn ol. Yr oeddynt wedi cael eu llwyr ddiwreiddio o'r tir yn hir cyn hyny. Y mae yn

wir alarus i feddwl ddarfod i Loegr, yn ol siampl gwledydd eraill Europe, ddwyn yn mlaen eu sefydliadau yn y West Indies drwy "Gaeth-wasanaeth," a hyny am lawer oes. Nid oes dim llawer dros ugain mlynedd er pan ryddhaodd ei chaethion yno. Y mae sail i obeithio fod ei threfedigaethau yno yn awr ar y ffordd i lwyddiant dan ddylanwad ei sefydliadau rhyddion, ei moddion addysg, a'i Christionogaeth.

Y mae yr adolwg ar hanes Columbus a'i ymchwiliadau yn cymhell tri sylw i'n hystyriaeth.

1. Mai anfoneddigaidd ac anniolchgar, ie, mai anghyfiawn o'r fath anghyfiawnaf, yr ymddygodd breninoedd Spaen a Portugal a'u gweinidogion tu ag at Columbus. Yr oedd wedi cynllunio ei fordaith yn ei feddwl, ac ar ei *fap*, ddeunaw mlynedd cyn iddo gael cynorthwy o un man i wneud ei anturiaeth. Gwrthododd awdurdodau Genoa, ei ddinas enedigol, ei gynygiadau gyda dirmyg. Cynllwynodd John o Portugal i geisio dwyn ei enw a'i enill oddiarno, trwy dwyll a brâd. Cadwodd Ferdinand o Spaen ef yn y tywyllwch am lawer o flynyddoedd, gan ddywedyd wrtho, dro ar ol tro, "Dos ymaith ar hyn o amser; pan gaffwyf fi amser cyfaddas mi a alwaf am danat." Ac yn y diwedd, ar ol yr holl oedi, a'r gohebu, a'r cynadleddu, darfu i lywodraeth gref, gyfoethog, Spaen, wrth ei gychwyn i'w fordaith fawr, roddi iddo dair o hen longau bychain cregin, na buasai Lloegr nac America yn awr ddim prin yn eu defnyddio i gario cerig calch ar hyd eu camlesydd: ac nid oedd y llongau a gafodd i'w dair mordaith dilynol nemawr, os dim gwell na'r tair cyntaf: a gadawsant ef yn ei hen ddyddiau, ar ol ei holl bryder, a'i lafur, a'i ddarganfyddiadau pwysfawr, i derfynu ei oes mewn iselder a thlodi; ac i farw yn ddigyfeillach, yn ddinawdd, ac yn ddigartref; ond yr oeddynt yn ei dderchafu hyd y sêr, ac bron yn addoli ei goffadwriaeth, ar ol dydd ei farwolaeth; a lled Spaenaidd yn wir y mae llywodraethau y byd yn mhob oes yn ymddwyn tu ag at eu cymwynaswyr penaf.

2. Fod dynion hawddgar a da, pan dan rym profedigaethau,

yn mynych ymollwng i gyflawni yr ysgelerderau gwaethaf. Nid oes dim yn fwy amlwg nad un o brif ddymuniadau Columbus wrth astudio ei anturiaeth, ac ar hyd ei fordaith fawr, ac ar ol darganfod y byd newydd, oedd enill y brodorion drwy addfwynder; a'u hyfforddi, drwy eiriau a siamplau, i gofleidio Cristionogaeth; ond caledwyd ef wedi hyny, drwy dwyll golud ac anrhydedd, i ymddwyn yn ormesol ac yn greulawn tu ag at yr Indiaid. Pwy allasai feddwl, wrth ei glywed yn eu canmol wrth lywodraeth Spaen fel y bobl mwyaf heddychol a hawdd eu trin ar wyneb yr holl ddaear, y buasai mor fuan ar ol hyny yn "cydymfoddloni" a'i swyddwyr cybyddlyd a gwaedlyd i'w trethu mor anghyfiawn, a'u gwerthu i gaethiwed, a'u traddodi i farwolaeth? Yr oedd calon Isabella y frenines ar y cyntaf yn llosgi ynddi o yspryd tosturi a dial, pan y clywodd fod ei deiliaid newyddion Indiaidd yn cael eu trin mor anghyfiawn, a'u gwerthu i gaethiwed; ond daeth hithau o radd i radd, nid yn unig i gynefino â'r drwg, ond i'w gymeradwyo a'i amddiffyn. Y mae yn ddiamheu fod llaweroedd o'r Offeiriaid Pabaidd a aethant allan gyda Columbus, yn awyddus ac yn selog iawn ar y cyntaf i enill yr Indiaid i rwymyn eu heglwys Gristionogol; ond dysgasant yspeilio cyn gynted a neb o'r ymfudwyr; ac aethant yn fuan, wrth ganlyn y fyddin, mor waedwyllt am eu lladd a'u dyfetha a neb o waedgwn y filwriaeth. Yr oedd yr esgob Pabaidd, selog, a doniol, Las Casas, yn un o'r rhai mwyaf teg, tynergalon, a boneddigaidd o holl ganlynwyr Columbus. Anturiodd ei fywyd lawer tro wrth noddi, ac amddiffyn yr Indiaid gorthrymedig. Dadleuodd eu hachos mor rymus a dyfal-barhaol fel y cafodd gan lywodraeth Spaen sefydlu cyfreithiau er amddiffyn iawnderau yr Indiaid; ac enillodd iddo ei hun y cyfenw anrhydeddus "*Protector of the Indians;*" ond yn ei sêl dros Indiaid America, anogodd awdurdodau llywodraeth Spaen i brynu Negroaid o Affrica i fod yn gaethweision yn eu lle; ac felly daeth y "*Protector of the Indians*" i fod yn un o dadau yr "*African Slave Trade.*" Yr oedd yr un galon selog gynes ag oedd yn dyner at yr Indiad, yn greu-

gro. Y mae anghysonderau calon felly yn rhy hesbonio. Byddai llywodraeth Spaen weithiau, o ddyngarwch, yn llunio deddfau llymion er amyr Indiaid; ond byddent yn union ar ol hyny, mewn msau o gybydd-dod, yn anfon adgyfnerthion i'r anrheithwyr oedd yn eu llofruddio. Y mae meddwl am y fath bobl yn dwyn i'r cof yspryd ac ymddygiad Hazael, brenin Syria. Gallasid meddwl unwaith wrth ei iaith a'i foes mai dyn teg, teimladwy, a diniwed ydoedd. Pan yr ymollyngodd gwr Duw i wylo wrth feddwl am y drygau a wnai efe yn Israel, gofynodd Hazael, mewn dull a llais boneddigaidd, Paham y mae fy arglwydd yn wylo? Dywedodd yntau, am fy mod yn gwybod y drwg a wnai di i feibion Israel; eu hamddiffynfeydd hwynt a losgi di â thân, a'u gwyr ieuainc a leddi â'r cleddyf, a'u plant a bwyi, a'u gwragedd beichiogion a rwygi. A Hazael, yn ngwres ei dosturiaethau, a ddywedodd, Pa beth, ai ci yw dy was, fel y gwnai efe y mawr beth hyn? Ond trodd, ac ymgaledodd, ac ymgreulonodd y boneddigaidd Hazael wedi hyny i losgi a lladd, i bwyo ac i rwygo yn ol gair gwr Duw.

3. Y buasai golwg hyfryd erbyn heddyw ar Gyfandir America, ac yn enwedig ar ddyffrynoedd Deheubarth America, dyffrynoedd llydain breision yr Amazon, a'r La Plata, a'r Orinoco, pe buasai y Cristionogion selog o Spaen a Portugal yn ymddwyn tu ag at y brodorion yn ol egwyddorion Cristionogaeth. Y mae yn ddigon i ddryllio unrhyw galon i feddwl am greulonderau barbaraidd Pizarro a'i wyr yn Peru, a Cortez a'i wyr yn Mexico. Ofer oedd i offeiriaid Pabaidd geisio enill y brodorion at Gristionogaeth, tra yr oedd y fath Gristionogion dichellgar a chreulawn a Pizarro a Cortez a'u cydanrheithwyr gwaedlyd yn cyflawni eu llofruddiaethau. Pan oedd offeiriad unwaith yn darlunio nefoedd ac uffern sefyllfa ddyfodol, gofynodd hen frodor iddo, I ba le yr oedd y Spaeniaid yn bwriadu myned? O, i'r nefoedd, meddai'r Offeiriad. Ni awn ni ynte i uffern, meddai'r hen frodor; oblegyd gwyddom pa fath nefoedd fydd lle y byddwch chwi. Mewn rhai manau

y Spaeniaid wneud byr waith wrth eu dyfetha
'hyfel ddim ond fel rhyfel bleiddiaid ag ŵyn; ond bu-
esoedd heb l wyr ddarostwng Indiaid Chili a Colum-
ai parthau eraill o'r cyfandir; er eu bod, dan ryw es-
gilydd, yn llofruddio bron yn feunyddiol.
dd golwg ardderchog iawn ar wastadedd mawr hyfryd
Mexico, pan oresgynwyd y wlad brydferth hono gan
lri chant a deugain mlynedd yn ol. Yr oedd hen
ludog Mexico, prif-ddinas yr ymerodraeth, mewn ynys
yn nghanol llyn mwyaf y gwastadedd. Yr oedd tair
wahanol ochrau y wlad i'r ddinas drwy ddyfroedd
y llyn; a phob un o honynt tua thair milldir o hyd;
ei hadeiladu a'i murio a'i phalmantu o feini mawrion,
l cadarnaf a harddaf. Yr oedd digon o led ar bal-
b mur i ddeuddeg o farchogion i deithio ochr yn ochr.
dorau yn y muriau hyny i'r badau hwylio drwyddynt
ochr i'r llall; ac yr oedd pont symudol uwchben pob
rau. Yr oedd gwneuthuriad ffyrdd y muriau hyny
ngos mwy o gywreinrwydd, a dichon fwy o lafur, na
uriad muriau Babylon: ac yn wir y mae y darluniad
o Montezuma, yr ymerawdwr;—y darluniad a roddir
lau a'i wisgoedd, o'i balas a'i ddodrefn, o'i osgordd a'i
ion, o drefn ei dŷ a'i fwrdd, o'i ddanteithion a'i ddiod-
frwythau a'i beraroglau, ac o'i gadair fawr oreuredig
n y byddid yn ei gario dan gapan cysgodfawr o blûf
wedi ei baddurno ag arian a pherlau, yn peri i un
m hen freninoedd gwledydd hynaf y Dwyrain pan yn
u gogoniant. Y diffyg mwyaf yn Mexico, a ymddeng-
awr, oedd, nad ydoedd yno ddim meirch na cher-

dd y Mexicaniaid wedi clywed am ddyfodiad Cortez
niaid i gyffiniau eu gwlad; ac yr oedd yr adroddiadau
eirch, a'u magnelau, a'u llongau, a'u dewrder, a'u cyf-
wedi creu dychryn drwy'r ddinas; ac wedi gwasgu yr
lwr ei hun i gyfyng-gyngor pa beth i'w wneud. Yr

...am arfogi a threfnu ei fyddinoedd i'w gwrth-... ac yr oedd ei frawd, a rhai o'i gyngorwyr dros hyny; ... oedd ei nai, etifedd ei goron, a'i gyngorwyr eraill, dros eu derbyn gyda charedigrwydd a chroesaw; ac felly anfonwyd yr etifedd a phrif arglwyddi y llŷs i'w cyfarfod i'w gwahodd i'r ddinas, ac aeth yr ymerawdwr, a'i holl lŷs, a'i osgordd i'w cyfarfod at borth mawr y llyn, a chawsant y croesaw siriolaf ac anrhydeddusaf. Cawsant gartrefi mewn palasdai, a'u gwleddа â'r pasgedigion, ac â'r melysion. Dangosodd yr ymerawdwr ei hun iddynt drefn ei dŷ, a'i lŷs, a'i farchnad, a'i deml. Y mae y darluniad a roddant o farchnad y ddinas yn dangos ei bod yn fawr, yn llawn, yn boblog, ac yn nodedig o drefnus Yr oedd ei le priodol yno i bob cangen o fasnach-nwyddau. Yr oedd yno ddosbarth at yr addurniadau cywrain o waith aur, ac arian, a meini gwerthfawr: a dosbarth at y mentyll a'r dillad; a dosbarthiadau i'r pluf, a'r crwyn, a'r offer, a'r dodrefn, ac at y cig, a'r adar, a'r pysgod, a'r melys-fwydydd, a'r llysiau, a'r ffrwythau, ac o amgylch *square* y farchnadfa, yr oedd ystordai yr ŷd a'r peilliaid; ac yr oedd masnachdai y ddinas hefyd yn y cylch hwnw. Yr oedd tri o lŷsoedd barn yn nghanol y farchnadfa, i derfynu pob dadleuon rhwng y prynwyr a'r gwerthwyr. Cydnabyddai y Spaeniaid eu hunain nad oedd yr un farchnad gyffelyb iddi drwy holl ddinasoedd Spaen; a'u bod yn rhagori o ran trefn a llawnder ar ddim oeddynt wedi weled yn Rhufain, na Chaer Cystenyn, nac un parth arall o Europe.

Arweiniodd yr ymerawdwr ei ymwelwyr o'r farchnadfa i deml, yr hon oedd ar ddull "*pyramid square*," yn bum' uchder, a chylch pob uchder yn fwy na'r un oddiarno; ac felly yr oedd lle i rodfa hyfryd o amgylch gwaelod pob uchder. Ar nen yr uchder uchaf yr oedd allor yr aberthau o faen Jasper mawr. Esgynid i'r nen ar hyd cant a phedair ar ddeg o risiau meini. Yr oedd y golygfeydd hyfrydaf o nen y deml ar y llyn, a ffyrdd y llyn, a threfydd a phalasau glanau y llyn, a'r meusydd a'r coedwigoedd o amgylch y llyn, ac yn enwedig

ar y gerddi nofiadwy yn llawn o flodau a choed ffrwythau, yn ymsymud drwy eu gilydd ar wyneb y llyn, a bwthyn haf y perchenog yn nghanol pob gardd. Yr oedd adeiladau eu dinasoedd a'u trefydd o geryg dymunol naddedig, ac o goed cedrwydd o'r gweithiad goreu. Yr oedd poblogaeth dinas Mexico y pryd hyny yn fwy na phoblogaeth Llundain—yn dri chan' mil o eneidiau, ac yr oedd poblogaeth y trefydd cymydogaethol yn ol yr un cyfartaledd. Yr oedd yn amlwg oddiwrth adeiladau y ddinas, a ffyrdd y llyn, a phethau eraill, ei bod yn ddinas o fawr hynafiaeth. Y mae sail i gasglu fod y cyn-breswylwyr yn genedl o hynafiaeth mor bell a'r Chineaid, a'r Assyriaid, a'r Aiphtiaid, a'r Ethiopiaid ; a dichon pe buasai hynafiaethwyr o yspryd a dysgeidiaeth Richardson, a Humboldt, a Stephens, a Layard yn cael chwilio i hynafiaethau y Mexicaniaid yn amser Cortez, y buasent yn dyfod o hyd i brofion fod y cynfrodorion yn gangen o un o hen ymerodraethau hynaf yr hen fyd ; ond dinystriwyd y ddinas a'i holl hynafiaethau gan ddwylaw llofruddiog a barbaraidd y Cristionogion yspeilgar o Spaen. Yr oedd Cortez yn bwriadu hyny o'r funud gyntaf yr aeth allan. Gwnaeth faner ardderchog ac addurn ei hymylwaith o aur ac ysgarlad. Yr oedd "llun y groes" yn ei chanol, ac arfau breninol Spaen o'i hamgylch, ac oll o aur o'r gwaith cywreiniaf, ac argraff Lladin oddidan y groes o'r ystyr a ganlyn : "Frodyr dilynwch y groes sanctaidd hon, gyda gwir ffydd, a than nawdd hon, nyni a orchfygwn." A thrwy ddichell a brad o'r fath ddyfnaf a chreulonaf gorchfygodd, a chyflawnodd ei amcan. Yn mhen ychydig fisoedd ar ol iddo godi ei faner, yr oedd hen ddinas Mexico, a'r dinasoedd cymydogaethol, wedi eu distrywio, a'r preswylwyr wedi eu lladd. Drylliwyd ffrwyth diwydrwydd a llafur, a gwaith cywreinrwydd a chelfyddyd llawer oes a chenedlaeth ; a gwnaed un o'r dyffrynoedd prydferthaf a ffrwythlonaf yn y byd bron oll yn anial anghyfanedd, ac erys melldith yr erchyllwaith ar enw ar ac enaid Cortez dros holl oesoedd y ddaear, a thros oesau diderfyn y bywyd dyfodol. Ei holl ddyfais tra yn derbyn car-

vydd y Mexicaniaid oedd cynllunio y ffordd effeithiolaf .yfetha, a chael meddiant o'u gwlad a'u dinasoedd cyfnog, a threfnus, a dedwydd, a'r rhan gyntaf o'i gynllun saidd oedd cymeryd yr ymerawdwr, Montezuma, yn garch-. Pan osododd ei law arno, gan ddweyd ei fod yn garcharor, ymgynddeiriogodd Montezuma am foment; ond pan welodd filwyr Spaen o'i ddeutu, a phob un o honynt a'i law ar ei gledd, torodd allan i wylo, a phlygodd fel yr oen i'w gaethiwed; ac yr oedd Cortez yn medru ei lywodraethu a'i drin yn hollol yn ol ei ddymuniad, a gorfodwyd ef i fod yn offeryn i dwyllo a gorthrymu ei ddeiliaid. Llosgwyd pedwar o'i brif gyngorwyr o flaen ei lygaid am ryw ffrae rhyngddynt â rhai o filwyr Spaen. Hudwyd a gorfodwyd ef wedi hyn i drosglwyddo ei ymerodraeth i frenin Spaen. Yr oedd ef a'i arglwyddi yn wylo yn chwerwdost, ac bron ymddryllio gan drallod wrth wneud y trosglwyddiad; ac yr oedd yr olygfa mor effeithiol, nes oedd hyd yn nod offeiriaid a milwyr Spaen yn methu peidio wylo wrth weled eu cyfyngder. Denwyd yr ymerawdwr wedi hyny i roddi i fyny hen gronfa o drysorau oedd ganddo, o aur, a thlysau, a pherlau, gwerth o leiaf saith miliwn o ddoleri. Dyfethwyd wedi hyny, yn ol sêl duwioldeb Spaenaidd, lawer o brif ddelwau y Mexicaniaid, a mynwyd rhan o'u teml fawr i gyflawni gwasanaeth yr offeren—mewn capel lledrad. Teflid ar y Mexicaniaid bob dirmyg fedrid ddychymygu er eu cynhyrfu i wrthryfela, yn eu hen wlad eu hunain, yn erbyn awdurdod eu harglwyddi gwynion newyddion o'r wlad bell, ac o'r diwedd llwyddwyd i gynhyrfu eu cynddaredd. Codasant yn ddegau o filoedd, amgylchasant amddiffynfa y Spaeniaid, ac yr oedd y brwydro yn ofnadwy o'r ddau tu. Lliosog oedd lladdedigion arfau tân y Spaeniaid, ac aml hefyd oedd lladdedigion saethau y Mexicaniaid. Gwelodd Cortez ei bod yn llawn bryd iddo gynyg rhyw ammodau o heddwch, a gorfododd yr ymerawdwr i wisgo ei fantell ymerodrol, a myned i ben y gaer, i wneud cynygion i'w ddeiliaid; ond yr oedd eu cynddaredd yn rhy boeth i dderbyn unrhyw

gynygion hyd yn nod o enau eu hymerawdwr, yr hwn bob amser, cyn hyny, a haner addolent fel un o hiliogaeth y duwiau. Taflwyd ceryg ato, a chafodd archoll yn ei ben. Nid oedd yr archoll yn farwol, ond aeth yr ergyd at ei galon, gan ei fod wedi dyfod o law un o'i ddeiliaid ei hun. Gwrthododd adael iddynt rwymo ei friw, a gwrthododd bob lluniaeth; torodd ei galon, a bu farw yn nghanol ei ddyddiau. Wrth ei weled yn marw yr oedd Cortez ei hun yn wylo wrth gofio am y driniaeth a gawsai. Rhoddwyd ei gorff i fyny i'w geraint a'i ddeiliaid; ac yna ail ddechreuodd y rhyfel yn boethach nag o'r blaen. Gwelodd Cortez a'i wyr nad oedd dim gobaith iddynt am eu bywydau ond drwy ffoi o'r ddinas, a gwnaeth ail gais am ryw amodau o heddwch, ond yr oedd yn rhy ddiweddar; yr ateb dychrynadwy a gafodd oedd—y caent oll eu haberthu i'r duwiau, nad oedd dim modd iddynt ddianc o'r ddinas, fod pontydd eu ffordd i ffoi wedi eu tori. Penderfynodd Cortez gynyg ffoi y nos hono. Yr oedd yn nos dywell wlawog. Gwnaeth bont gludadwy, i'w chario gan ddeugain o'i wŷr cryfaf. Cychwynwyd mewn trefn tua chanol nos. Cyrhaeddwyd y llifddor cyntaf yn ddiogel. Yr oedd y bont yn ateb ei dyben; ond erbyn iddynt hwy a'u clud ei chroesi, nid fedrid ei chodi i'w chario at yr ail llifddor, yr oedd wedi glynu fel nad oedd na nerth na dyfais fedrai ei syflyd; a phan oeddynt yn y cyfyngder hwn, dyma swn "*drum*" fawr Teml Duw rhyfel Mexico yn siglo y tir, a'r dwr, a'r awyr o'u deutu; a dyma drwst yr ymlidwyr yn dyfod ar eu hol, miloedd o wŷr y bwäau yn eu cychod ar hyd wyneb y llyn, bob ochr i'r ffordd, a miloedd ar hyd y ffordd ar eu hol, a thros eu pont newydd, a dyma'r saethau yn chwifio i'w mysg o bob tu. Yr oedd yr adran flaenaf o'u byddin erbyn hyn wrth yr ail llifddor, yn disgwyl cludwyr y bont yn mlaen, iddynt gael croesi mewn trefn; ond pan y deallasant fod y bont wedi glynu fel nad ellid ei symud, yr oedd y terfysg a'r dychryn yn annarluniadwy. Neidiodd amryw o'r Spaeniaid i'r llyn, a dringasant i'r cychod i geisio ymladd â'r Indiaid, ond lladdwyd amryw o hon-

ıoddwyd eraill, cymerwyd eraill yn garcharorion, diangıydig i dir drwy nofio a dringo y mur, a thrwy lenwi y muaaor a phob clud oedd ganddynt, ac a chyrff eu lladdedigion. Diangodd Cortez, a'r ddau gapten enwog Sandoval ac Alvarado. Yr oedd y tri yn sefyll yn ddewrwych yn nghanol y swn a'r saethau. Hwy oeddynt y rhai olaf i groesi y llifddor olaf; a chyn i Alvarado groesi, yr oedd arfogion y cychod wedi llenwi pob ochr i'r llifddor er ei atal yn mlaen, a gelynion y tir yn bloeddio ar ei sodlau i'w gymeryd yn garcharor, er cael aberth enwog i'w duw rhyfel; ond yn y foment enbyd hono, rhoddodd Alvarado flaen ei waywffon hir ar ryw ran o'r drylliau oedd yn y llifddor, a neidiodd i'r ochr arall, dros arfau ei elynion, ac ymaith ag ef mewn moment allan o'u cyrhaedd. Yr oedd yn naid bywyd iddo, a naid heb ei chyffelyb ydoedd; a gelwir y fan hono hyd heddyw yn "*Naid Alvarado.*" Erbyn i Cortez gyrhaedd y gwastadedd a rhifo ei wyr, cafwyd fod tri o bob pedwar wedi eu colli, a'u bod wedi colli eu holl fagnelau, a'u holl arfau tân; ond er hyny ymladdasant eu ffordd i Villa Rica, lle yr oedd sefydliad bychan o'u cydwladwyr mewn amddiffynfa. Cawsant adgyfnerthion yno yn hollol annisgwyliadwy. Yr oeddid wedi clywed yn Hayti, ac hefyd yn Spaen am rwysg creulawn Cortez yn Mexico, ac yr oeddid wedi anfon llynges a byddin er atal ei rwysg, ac i'w ddwyn yn garcharor i Spaen; ond daeth Cortez ar eu gwarthaf, a chymerodd y llyngesydd a'i swyddogion yn garcharorion, a denodd y milwyr oll i daro o'i ochr ef drwy addaw iddynt eu rhan o anrhaith Mexico. Denodd lawer o'r Indiaid hefyd ag oeddynt wedi bod yn elynol i Mexico i ddilyn ei faner; ac felly, ar ol parotoi cychod cludadwy i'w defnyddio ar y llyn, ac wedi ennill meddiant o'r arfau oeddid wedi amcanu i'w erbyn, a threfnu ei fyddinoedd dan eu priodol gapteniaid, dechreuodd ymdaith yn ol tua Mexico, a bu ymladd ofnadwy ar hyd y ffordd, ac ar y llyn; ac yr oedd pob argoel unwaith y buasai y fuddugoliaeth yn troi o du y Mexicaniaid. Collodd Cortez bron haner ei fintai ef o'r fyddin wrth wneud un o'i

ymosodiadau, a bu bron iawn i'r gelynion ei ddal yntau. Taenodd offeiriaid Mexico y gair y pryd hyny, fod eu duwiau yn cyhoeddi y byddai y Spaeniaid wedi eu lladd bob un cyn pen wyth niwrnod. Rhoddodd y cyhoeddiad hwnw yspryd newydd i'r Mexicaniaid; a phan gyrhaeddodd y gair am hyny wersyll Cortez, ciliodd ei gyngreirwyr Indiaidd yn ol ar unwaith, gan wrthod cymeryd unrhyw ran yn yr ymladd. Yn y cyfwng hwnw, yn ol ei gyfrwysdra arferol, archodd Cortez i'w wŷr gilio yn ol am wyth niwrnod, er argyhoeddi yr Indiaid fod eu hoffeiriaid a'u duwiau yn proffwydo celwydd. Llwyddodd ei ddyfais. Digalonodd y Mexicaniaid o herwydd cael eu siomi yn y brophwydoliaeth; ac erbyn hyny yr oedd newyn yn dechreu yn y ddinas drwy fod ei gwarchaewyr o bob tu yn cau i fyny y ffyrdd i'w marchnad: ac yn fuan ar ol hyny yr oedd hen brif ddinas ymerodraeth Mexico, a llawer o'r dinasoedd cymydogaethol, yn nghyda'u myrddiynau preswylwyr, wedi cael eu distrywio gan Cortez a'i filwyr. Dyn cryf ofnadwy oedd Cortez o ran corff, a chalon, a meddwl. Fel un engraifft o'i wroldeb a'i ddiysgogrwydd mewn adegau o ddyryswch ac o berygl, gellir crybwyll iddo, pan oedd ei filwyr a'u bryd ar droi yn ol, ddistrywio y llongau fel nad allent ddychwelyd. Yr oedd ganddo yn gyffredin ddylanwad anarferol ar ei filwyr, ond yr oeddynt unwaith wedi ymollwng i ddigalondid, gan ystyried fod ei fwriad i oresgyn Mexico â chyn lleied o filwyr, yn un rhyfygus a hollol anobeithiol, ac felly penderfynasant fynu troi yn ol tua Hayti; ond pan oeddynt yn parotoi at gychwyn, llwyddodd Cortez i allu distrywio y llongau; a phan oeddynt yn cynlluuio terfysg a gwrthryfel oblegyd hyny, llwyddodd eilwaith i'w tawelu trwy resymu fod yr hen longau yn anghymwys at y fordaith heb y perygl mwyaf. Yr oedd ei ddyfais yn un o hyfdra mawr, ond atebodd ddau ddyben pwysfawr iddo. Meddianwyd ei filwyr gan yspryd newydd pan ddeallasant fod yn rhaid iddynt naill ai gorchfygu, neu gymeryd eu gorchfygu; a bu y llongwyr o hyny allan yn adgyfnerthiad mawr i'r fyddin fechan oedd yn ei ddilyn.

n credu yn ddiysgog y gallasai hen ddinas Mexico eddyw mor enwog o ran ei phoblogaeth, a'i threfn, d, a'i chyfoeth â'r rhai penaf o ddinasoedd Europe sai fod mor enwog a Madrid, a Berlin, a Lisbon, a a Paris, a Llundain, ac yn fwy enwog o ran iachus-rw sefyllfa, a hyfrydwch golygfeydd, nag yr un o honynt, pe buasai yr Yspaeniaid, yn ol y ddoethineb sydd oddi uchod, yn hyfforddio y brodorion yn y celfyddydau, ac yn eu hegwyddori yn y gwybodaethau anadnabyddus iddynt; ac yn eu denu, mewn dull addfwyn a gostyngedig, dan ddylanwad gwareiddiol a dyddanol gwirioneddau ac ordinhadau Cristionogaeth. Pe gofynid, O ba le y daeth rhyfeloedd ac ymladdau Pizarro a Cortez a'u canlynwyr? gellid ateb, mai o'u meluschwantau, a'u cybydd-dod, a'u dialgarwch. Pe gofynid, A ddisgynodd eu "doethineb" oddi uchod? gellid ateb, naddo; ond mai "daearol, anianol, cythreulig," ydoedd; oblegyd y "ddoethineb sydd oddi uchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlon, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, annadleugar, a diragrith." Yr wyf, gan hyny, yn ail grybwyll y gallasai gwastadedd hyfryd Mexico fod yn fwy poblog ac yn fwy goludog heddyw nag yr un gwastadedd yn Europe pe buasai Cortez a'i olynwyr yn ymddwyn tu ag at y Mexicaniaid yn ol "y ddoethineb sydd oddi uchod;" ond gan iddynt arfer eu cyfrwysdra creulawn i "gynllwyn ac i dwyllo," a dilyn eu doethineb "daearol, anianol, cythreulig," i'w hanrheithio a'u llofruddio, bydd eu gwaed ar eu cydwybodau, tra bydd eu heneidiau yn bodoli.

## GORESGYNIAD INDIA GAN BRYDAIN.

---

Y mae dwy India : India y Dwyrain, ac India y Gorllewin. Y mae gan Brydain diriogaethau ëang yn y ddwy. Y mae yn estyn ei theyrnwialen i'r Gorllewin, nid yn unig i fyny i'r Gogledd-orllewin, dros New Brunswick, a Nova Scotia, a'r ddwy Canada, ac ynysoedd Newfoundland, Cape Breton, a Prince Edward ; ond i lawr i'r De-orllewin dros ran o Guiana yn Neheubarth America, a thros Jamaica, Trinidad, ac oddeutu ugain o ynysoedd eraill môr mawr y Gorllewin. Y mae yn-ei hestyn hefyd yn mhell i'r De, dros Australia fawr, a llawer o fân-ynysoedd môr mawr y De. Eithr yn yr India Ddwyreiniol y mae ei thriogaethau mwyaf poblog, a mwyaf gwerthfawr, a thu ag yno yr ydym yn awr am droi ein golygon.

Y mae yr India Ddwyreiniol yn ddwy ran, y ran fawr y tu yma i'r Ganges, a'r ran y tu draw i'r Ganges. Yn y ran y tu yma i'r Ganges y mae Bombay, Madras, Bengal, ac Affghanistan. Y tu hwnt i'r Ganges, y mae Talaethau Assam, Aracan, Amherst, Tavoi, Mergui, Malacca, Pegu, Birmah, a Malay. Y mae ynys fawr hyfryd Ceylon, ac amryw ynysoedd eraill, ar ororau India, yn perthynu i Brydain.

Y mae dwy ffordd o Loegr i'r India Ddwyreiniol ; un ar hyd y môr, i lawr yr Atlantic, drwy y Bay of Biscay, a chyda gororau gorllewinol Spaen a Portugal a chyfandir Affrica, heibio i ynys St. Helena, lle y bu yr hen Bonaparte yn terfynu ei oes mewn caethiwed, ac oddi yno o gylch y Cape of Good Hope, a chyda goror dwyreiniol Affrica, yn lled agos i ynys fawr Madagascar, i'r porthladd y byddir yn rhwym iddo. Dyna oedd llinell yr hen daith, ac yr oedd yn cymeryd o bedwar i bum' mis o amser.

Gelwir y daith arall, "*Yr Overland Route,*" er fod bron y cyfan o honi ar hyd y dwfr. Byddai cystal genyf weled rhan-

au o'r "*overland*" daith hono a nemawr o fanau ar wyneb y ddaear. Y mae yn dechreu, fel y daith arall, drwy i'r teithydd forio i lawr yr Atlantic, gyda gororau Spaen a Portugal, heibio i aber hyfryd y Tagus, a dinas loyw Lisbon; yna bydd yn troi o'r Atlantic ar yr aswy, heibio i Cape Vincent, a Cape Trafalgar, lle y bu Nelson yn enill ei enwogrwydd a'i angau; ac yn mlaen drwy gulfor Gibraltar, gan adael ar ei aswy y graig fawr lle y mae gan Loegr un o'r amddiffynfeydd cryfaf yn y byd, wedi cael ei dal ganddi er ys cant a haner o flynyddoedd, er gwaethaf pob ymosodiad o'r eiddo Ffrainc a Spaen, a'u holl gynorthwywyr. Wrth adael Gibraltar hwylia y teithydd yn mlaen i Fôr y Canoldir, a chyda ei ochr deheuol, heibio i Algiers ar oror Affrica, ac yn mlaen hyd Malta, lle y glaniodd Paul a'i gymdeithion o'u llongddrylliad. Y mae Malta yn awr yn perthynu i Loegr. Y mae yn ynys o olygfeydd hyfryd, mewn hinsawdd iachus, yn ddeg milldir a thriugain o hyd, wrth naw o led, ac y mae yno borthladd ardderchog i longau alw, neu angori i orphwys, pan ar eu hynt heibio. Ar ol wythnos o forio wedi gadael Malta, cyrhaedda y teithydd hen ddinas enwog Alexandria, yr hon a sylfaenwyd gan Alexander Fawr, mewn lle hynod o hyfryd a manteisiol, ar fin y môr, yn ngwaelod bras yr Aifft isaf. Yr oedd Alexander yn arfaethu iddi fod yn brif ddinas ei ymerodraeth, ond ychydig o'i gogoniant gafodd ef fwynhau, gan iddo farw yn more ei rwysg, yn ddeuddeg ar hugain oed, a'i enaid yn newynu am rywbeth gwell i'w lenwi na gloddest a gogoniant y byd. Bu Alexandria yn fawr ei chyfoeth, ac yn uchel ei henw, ar ol ei ddyddiau ef. Yr oedd yn llawn o'r adeiladau godidocaf, a dywedir fod yno "library" gyhoeddus o saith gan' mil o lyfrau; ond dinystriwyd y temlau addurnedig, a'r palasau godidog, a llosgwyd y llyfrau gwerthfawr, difrodwyd ei chyfoeth, a difwynwyd ei gogoniant gan gynddaredd barbareidd-dra RHYFELWYR. Y mae rhai o adfeillion ei hen lysoedd marmor i'w gweled yno hyd heddyw. Yn ymyl yno y mae llyn Marëotis, lle y gwnaeth rhyfel ddifrod arswydus yn nghof rhai sydd eto yn fyw. Yr

oedd y llyn mewn lle hyfryd iawn, a changen o'r Nile yn llifo iddo; ond yr oedd ei wyneb yn is o amryw droedfeddi na gwyneb y môr. Yr oedd cefn cul o dywod yn derfyn rhyngddynt, ond torodd ysprydion didrugaredd rhyfel fylchau yn y clawdd terfyn hwnw, a rhuthrodd y môr hallt gwyllt drwy'r adwyau i'r llyn croyw, a gorchuddiwyd tri chant o bentrefydd bychain prydferth, a'r holl berllanau a'r gerddi a'r hâf-lwyni a addurnent ymylau y llyn. Cauwyd yr adwyau wedi hyny i geisio adenill y tiroedd hyfryd oeddid wedi golli; ond yr oedd yn rhy ddiweddar, erbyn yr haul sychu y dwfr hallt oedd yno, yr oedd y gwaelod oll wedi myned yn graig wen ddiffrwyth o halen; ac y mae yn ddiwerth hyd heddyw, wedi ei roddi i fyny yn llythyrenol i halen. Wrth Alexandria y mae y colofnau marmor mawrion a elwir "Pompey's Pillar," a "Cleopata's Needles." Y mae pob un o'r "Needles" yn dringain troedfedd o hyd, yn un dernyn o fynor caboledig, ac yn llawn o arwyddluniau wedi eu cerfio yn y dull cywreiniaf. Y mae y "Pillar" yn ddeg troedfedd a thriugain. Yn ymyl yno y mae maes y frwydr lle y lladdwyd Abercromby.

Hwylia y teithydd yn ei flaen o Alexandria ar hyd y camlas mawr am wyth milldir a deugain, i angorfa gyfleus ar y Nile, lle y cà agerddfad i'w gludo i fyny hyd hen afon enwog yr Aifft am chwe' ugain milldir i Cairo, ac yno y mae yn nghanol cylch mawr o hen ryfeddodau cyfoeth a chelfyddyd gwlad y Pharoaid. Yn ei ymyl y mae gardd ac ymolchfa ynys Rhode, lle y cafodd merch Pharao Moses bach yn wylo, yn y cawell brwyn, yn nghanol yr hesg ar fin yr afon. Ar ei aswy y mae Rameses lle y gwersyllodd llwythau Israel, i wledda ar oen y pasg, dan arwydd y gwaed, y nos bwysig cyn cychwyn i'w taith. O'i flaen, draw ar y gwastadedd anial sych tywodog, y gwelir y "pyramidiau oesol" yn derchafu eu penau, y rhai dichon a adeiladwyd yn amser caethwasiaeth plant Israel, i fod yn fedd-adeiladau i rai o deyrn-ormeswyr rhwysgfawr yr Aifft; y maent felly yno er cyn dyddiau Moses, ac y maent yn debyg o fod yno hyd chwalfa danllyd di-

amser. Yn ninas Cairo y mae y gaerfa gref a adeiladwyd gan Saladin Fawr. Ac o fewn deng milldir i Cairo y mae coedwig wedi *petrifyo*, neu droi yn geryg. Y mae y coed a'r canghenau, o bob llun ac o bob maint, yn ddarnau toredig, ar wasgar; ond y maent wedi ymnewid i fod mor galed ar gallestr. Pa bryd y bu hyny, nid oes yr un daearegwr na hanesydd a all ddweyd, na pha fodd y bu hyny, nid oes yr un fferyllydd a all esbonio. Yn uwch ar yr afon y mae adfeilion Memphis, ac yn uwch eilwaith y mae adfeilion Thebes, prif ddinas yr Aifft uchaf, y rhai oeddynt yn hen ddinasoedd breninol o'r gwychder mwyaf. Yn uwch eilwaith y mae ynys odidog Philoe yn llawn o adfeilion yr hen demlau mwyaf godidog. Ac yn uwch na hyny, yn Nubia, neu Ethiopia, y mae ynys hir Meroe, rhwng dwy gainc o'r afon; ynys ffrwythlawn brydferth nodedig, dros dri chan' milldir o hyd, ac yn yr ynys hyfryd hono y mae adfeilion Meroe, prif-ddinas breninoedd a breninesau Ethiopia. Nid oes mewn unrhyw barth o'r byd y fath adfeilion enwog, adfeilion o'r fath ddefnyddiau, o'r fath faintioli, o'r fath addurnwaith, a'r fath hynafiaeth, ag a geir gyda glenydd y Nile—adfeilion temlau, a thyrau, a phalasau, a beddgolofnau; ac yn nghanol yr adfeilion mawrion enwog hyny o'r marmor goreu, y mae yr Arabiaid a'r Ethiopiaid yn awr yn byw yn eu bythod clai. Y mae adfeilion y palasau marmor yn pregethu yn effeithiol fel y mae treiglad amser yn effeithio ar yr adeiladau cadarnaf; ac y mae y cabanau clai budron a gweigion sydd yno yn awr yn pregethu yn effeithiol fel y mae syrthni a diogi yn sicr o arwain i angen a thlodi, a hyny yn y parthau brasaf o'r byd. Y mae golwg wahanol iawn yno yn awr i'r hyn ydoedd pan oedd breninoedd a breninesau Ethiopia yn teyrnasu yno, ar eu gorseddfa uchel, yn eu sidanau, a'u haur, a'u perlau, ac yn gwledda ac yn yfed gwin, yn eu palasau teg, yn nghanol eu peraroglau. Y mae yn alarus i feddwl fel y mae afreolaeth, a thrais, a diogi, wedi gweithio y byd i lawr mewn llawer hen fangre odidog, fu gynt yn uchel ac yn enwog o ran ei threfn a'i chyfoeth.

Y mae yn bryd bellach i'r teithydd adael Dyffryn y Nile, a chludir ef mewn cerbyd mawr anesmwyth ar hyd ffordd arw, am bum' milldir a phedwar ugain, i Suez, ar y gainc orllewinol o ben uchaf y "Mor Coch." Y mae yr hen ffordd yr aeth Moses, ac Aaron, a Miriam, a llwythau Israel ar hyd-ddi o Rameses, drwy Succoth ac Etham, i wersyllu o flaen Pihahiroth, rhwng Migdol a'r môr, ar gyfer Baalsephon, ar y law aswy iddo; ond y mae ef i gymeryd ei agerddlong yn y fan y parthwyd y môr i lwythau Israel fyned drwodd ar dir sych. Y mae argoelion fod y blaen hyny i'r Mor Coch yn lletach y pryd hyny o bum' milldir nag ydyw yn awr. Moria y teithydd rhag ei flaen holl hyd y Mor Coch am dros bymtheg can' milldir, gan adael dyffryn hir y Nile ar ei law dde, ac anialwch Mynydd Sinai, a hen wersyllfanau plant Israel ar ei aswy, ac ar ei aswy yn is i lawr yn Arabia, y mae hen ddinasoedd y gau-broffwyd, Mecca a Medina, a hen wledydd Hafila, a Sheba, ac Ophir. Ar ben isaf y Môr Coch y mae'r teithydd yn morio yn ngolwg gororau Arabia, ac y mae yn cael galw yn Mocha ac yn Aden; ac yna, wedi myned drwy gulfor Babel Mandeb, y mae Môr India yn lledu o'i flaen, ac y mae i fyned yn union ar ei draws, am bron ddwy fil o filldiroedd, nes glanio yn Bombay; ond os bydd am fyned i Madras, neu Calcutta, bydd raid iddo gylchynu Cape Comorin, neu ben isaf tir India. Yr ydys yn myned o Loegr i India yn awr, ar hyd yr "Overland Route," mewn deugain niwrnod. Y mae llawer o son wedi bod yn ddiweddar am ffordd unionach, ar draws cyfandir Europe, i wneud y daith mewn ugain niwrnod, a gellid cael cynllun felly i ben yn fuan, ac yn hawdd drwy gydweithrediad heddychol llywodraethau y gwahanol wledydd fyddid yn groesi, a byddai cael myned i India mewn ugain niwrnod, yn lle mewn chwech ugain, fel yn yr hen amser gynt, yn enill mawr i holl farsiandiaeth Europe ac Asia.

Wrth feddwl y fath enill, a'r fath anrhydedd, a'r fath gysur, i holl hen wledydd Europe ac Asia fuasai llinell hardd o reilffordd gref o Brydain i India, i fod yn dramwyfa rydd i'w cyd-

'od yn gyfrwng eu cyfeillgarwch, ac yn rhwymyn ac wrth ystyried mor ysgafn gorchwyl i'w cyd-allu-sai ei gwneud, y mae'n achos o siomiant ac o syndod i n sy'n dymuno tangnefedd, a chyfoeth, a chysur y byd, asai tramwyfa fawr rydd felly wedi cael ei sefydlu er ys r o flynyddoedd. Buasai ei thrafnidaeth uwchlaw pob . Buasai darn Europe o honi yn myned trwy gyrau inc, a Belgium, a Thywysogaethau Germany, a heibio i rland, a thrwy Dalaethau Austria a Turkey, gyda gor-chaf hen diroedd Itali a Groeg, hyd Gaer Cystenyn ar y Bosporus ; a buasai y darn Asiaidd o honi yn ymest-rwy hen gylchoedd enwog Asia leiaf, a thrwy gyrau Syria alestina, a thrwy ganol hen fangreoedd anwyl y Patri-archiaid ar odrau Ararat, ac yn nyffrynoedd yr Euphrades a'r Tigris, a meusydd Eden, a hen diriogaethau y Mediaid a'r Persiaid, i'r cyrau gogleddol o India. Buasai reilffordd felly yn gynorthwy gwerthfawr i rwymo teyrnasoedd yr Hen Fyd yn un mewn cwlwm masnach ; a buasai cwlwm masnach yn bleth, y bleth gyntaf, o gwlwm tynach tangnefedd ; a buasai cylymau cydfasnach a chyfeillgarwch yn parotoi y ffordd i gar-iad ac undeb yr efengyl. Peth di-efengyl, os nad di-enaid, ydyw i ddyn haeru ar ei gyfer, fod cyfleusderau a chysuron tramwyfa fawr felly yn bethau anghyraeddadwy ; oblegyd nid oes dim yn eisiau er eu cael, ond i'r galluoedd cryfaf a gwar-eiddiaf droi eu bryd a'u doniau i ymgais am danynt, yn lle gwario eu nerthoedd i wyllt ymgyrhaedd am "ogoniantau" rhyfel. Buasai y ganfed ran o dreulion eu rhyfeloedd yn gwneud tramwyfa felly ar draws haner y byd yn un o'r cyf-leusderau perffeithiaf, ac yn un o fuddioldeb ac enwogrwydd anfarwol.

Wedi bwrw golwg frysig ar y daith i India, y mae yn na-turiol i ni ddywedyd ychydig eiriau am y wlad a'i phreswyl-wyr. Mewn gwlad mor ëang nid ydys i ddisgwyl yr un hin-sawdd, na'r un ffrwythlonedd, na'r un adnoddau, na'r un cyf-leusderau yn mhob man. Y mae yno fynydd-dir a dyffryndir,

a ffynonau yn cerdded rhwng y bryniau, ac afonydd yn llifo drwy y dyffrynoedd. Ar draws y Gogledd y mae mynydd-oedd uchel yr Himalaya yn ymestyn am bymtheg can' milldir, a'u copa uchaf yn dros wyth mil a'r hugain o droedfeddi o uchder, yr uchaf fel y bernir yn y byd. Ar draws canol y wlad y gorwedda mynyddoedd y Vindhya, ac y maent oddeu-tu yr un uchder a'r Wyddfa a Chadair Idris. Ac yn Nehen-barth India yr ymgyfyd mynyddau mawrion y Ghauts yn ddwy res, un ar yr oror ddwyreiniol, a'r llall ar yr oror orllew-inol. Y prif afonydd ydynt yr Indus (a roddodd yr enw i'r wlad) y Ganges, (afon sanctaidd y Brahminiaid) y Brama-pootra, y Sutlej, Iumna, Gogra, Nerbudda, Taptee, Hoogly, Godavery, Kistna, a Cavery; ac yn y parth dwyreiniol y mae yr Irawaddy, Saluen, Menam, Mekong a Sangkoi. Gyda glenydd yr afonydd hyn y mae dyffrynoedd breision llydain yn gwisgo yr harddwch prydferthaf, ac yn dwyn dau gynhauaf y flwyddyn o gnwd toreithiog. Eu prif gnydau gauaf ydyw gwenith, haidd, ac Indrawn; eu cnwd haf yw *rice*, yr hwn hefyd yw eu prif gynaliaeth. Y mae yn y glynoedd, ac ar y llethri goedwigoedd mawrion lle y tyfa amrywiaethau o'r coed goreu, a rhai o honynt mor fawrion fel na byddai coed mwyaf Pryd-ain ond fel corachod yn eu hymyl. Megir yno ddefaid a gwartheg, a chamelod, a bualod, ac elephantiaid; ac y mae hyd yn nod yr elephant ardderchog yn cael ei ddofi a'i ddysgu at wasanaeth dyn. Yr ydys yn codi yno Indigo, cotwm, co-coa, a'r sugar cane, ac y mae y cynyrch yn cynyddu, ac yn debyg o ddwyn elw mawr i'r wlad, yn enwedig i'w hamaeth-wyr a'i masnachwyr. Y mae yno amrywiaethau o goedydd y ffrwythau melysaf. Yr ydys hefyd wedi cael prawf boddhaol y gellir codi *tea* yno. Y mae yn alarus i addef fod yno lawer o opium ac o dybaco yn cael eu codi i dlodi teuluoedd, ac i nychu cyrff ac eneidiau y rhai sydd yn eu defnyddio. Y mae y pryf-sidan yn ei hinsawdd a'i elfen yno yn rhoddi pedwar cnwd y flwyddyn; ac y mae rhai parthau o India yn gyfoethog o fwnau a pherlau.

rodorion India, neu y cyn-breswylwyr, yn Hindw-
wn perthynas i'w hanes a'u cymeriad gellir sylwi
bod yn genedl o fawr hynafiaeth. Y mae eu gwlad
r nês i hen wledydd meibion Noah nag ydyw i Loegr.
byddir yn teithio i India o wastadedd tŵr Babel, a
ied yno ar hyd y tir trwy Persia. Y mae yn bur
ganghenau o dylwyth Noah sefydlu yno yn fore iawn
diluw. Y mae llawer o bethau yn profi hynafiaeth yr
dwaid. Cyfansoddiad iaith eu llyfrau cysegredig—hen ad-
on Ellora, Benares, a manau eraill—y cyfeiriadau at India
eir mewn hen hanes-lyfrau—y prawf sydd genym fod y Groegiaid a'r Rhufeiniaid gynt yn cael llawer o'u marsiandiaeth penaf o India—trefn India pan oedd Alexander yn ceisio ei goresgyn ; ac y mae tablau a thraddodiadau amseryddol ei dysgedigion, er eu bod yn anghyson ac anghywir, yn profi fod eu gwraidd yn estyn yn ol i ymyl y diluw ; a bod ganddynt gystal hawl i hynafiaeth ag unrhyw genedl sydd yn awr yn bodoli. Mae seiliau i farnu fod India yn flodeuog cyn fod Groeg yn enwog, a'i bod mewn bri uchel pan yr oedd yr Aifft yn ei gogoniant. Y mae arwydd-luniau cywrain cerfiedig hen adfeilion ardderchog temlau rhyfedd Ellora yn profi yn eglur eu bod cyn hyned a themlau a phyramidiau glynoedd y Nile, yn yr Aifft ac Ethiopia.

2. Y mae'r Hindwaid yn bobl grefyddol, ond yn dra choelgrefyddol. Y maent yn hoff o addoli, yn selog, a hael, a defosiynol, a rheolaidd wrth addoli ; ond y mae defodau creulawn yn llygru ac anurddo eu haddoliad. Y mae ganddynt eu "hysgrythyrau," y rhai a alwant "Vedas," ac esboniadau arnynt, a alwant "Shastres." Y mae eu Beibl yn bedwar llyfr, y cyntaf, ar natur doniau ysprydoliaeth ; yr ail, ar ddyledswyddau duwioldeb ; y trydydd, ar ddefodau crefyddol ; a'r pedwerydd, ar y Bod Goruchaf. Esboniad eu hysgrythyr ar y Dudwdod ydyw, fod un Bod goruchaf, a bod tri o is-dduwiau, neu o alluoedd dwyfol, yn deilliaw oddiwrtho, Brahma, y Crewr ; Vishnu, y Cynhaliwr ; a Shiva, y Dinystrydd. Y

Dinystrydd sydd yn cael mwyaf o addoliad. Credant fod cynen yn bod weithiau rhwng y duwiau hyn, drwy fod y naill yn gormesu ar diriogaeth y llall. Y mae ganddynt dros dri chan' miliwn o fân dduwiau, i gynrychioli bron bob rhinwedd, a phob bai, a phob gweithred. Y maent yn addoli amryw greaduriaid, megys y fuwch a'r sarff, a rhai coedydd a llysiau; ac yn addoli, gyda'r parch uchaf, ddyfroedd y Ganges; a darfu i filoedd o famau, ar anogaeth eu dysgawdwyr, daflu eu mabanod i'r afon, a'u taflu eu hunain wedi hyny i'w dyfroedd sanctaidd, fel y ffordd gyflymaf i gyrhaedd gwynfyd. Y mae'r ddefod greulawn o losgi y weddw gyda chorff ei phriod wedi ei diddymu.

3. Y mae'r Hindwaid o ran trefn eu cymdeithas wedi ymranu i bum' dosbarth, *neu castes*. Yr uchaf yw y Brahminiaid, sef eu hoffeiriaid, a'u dysgawdwyr, a'u cyfreithwyr, a'u barnwyr gwladol, a disgwylir iddynt oll fod yn ddysgedig, yn heddychgar, yn gyfiawn, ac yn hunanymwadol. Yr ail ddosbarth ydyw eu tywysogion milwraidd a'u rhyfelwyr, a disgwylir i'r cyfryw fod yn awyddfrydig am "ogoniant," yn wrol yn y frwydr, ac yn dyner wrth eu carcharorion. Y trydydd dosbarth yw eu hamaethwyr a'u marsiandwyr, a disgwylir i'r cyfryw fod yn ddiwyd a gofalus. Y pedwerydd yw eu llafurwyr, neu eu gweithwyr, a gofynir i'r cyfryw fod yn amyneddgar a ffyddlawn. A'r dosbarth isaf yw y rhai sydd wedi colli eu lle yn eu dosbarthiadau priodol, y rhai a gyfrifir oblegyd hyny yn ddiarddeledig ac aflan, ac a gedwir gyda'r gorchwylion iselaf. Ond dywedir fod canolfur y gwahaniaeth rhwng y gwahanol ddosbarthiadau yn cael ei fylchu yn gyflym,yr hyn sydd yn argoel er daioni am wanychiad eu rhagfarn, ac am eu cael i dir mwy rhydd i astudio athrawiaethau Cristionogaeth.

4. Y mae'n amlwg fod amryw o'r gwybodaethau a'r celfyddydau wedi bod, er ys llawer o oesau, mewn bri uchel yn eu mysg. Y mae ganddynt alluoedd naturiol cryfion a chyflym pan yn cael cyfle a chymelliad i'w defnyddio. Y maent yn hoff o farddoniaeth, ond ar ol mewn cerddoriaeth. Y mae

rhai o honynt yn ddysgedig mewn rhifyddiaeth, a mesuriaeth, a seryddiaeth. Y mae gwëad eu sidanau a'u muslins yn dangos cywreinrwydd, ac y maent yn enwog am liwio. Y mae cyfansoddiad, a threfn, ac addurn eu temlau yn dangos archwaeth at adeiladu. Y mae eu seiri a'u gofaint, yn enwedig eu gofaint aur, mor gywrain a medrus a neb geir yn Europe, ac y maent yn barod i astudio pob dyfeisiau newyddion. Y maent hefyd yn enwog am gerfio a gweithio mewn ifory, a gosodiad perlau; ac y maent yn lled gyfarwydd â magwriaeth anifeiliaid, ac â rhai o ddeddfau amaethyddiaeth. Ond y mae lle i ofni eu bod wedi dirywio yn yr oesoedd diweddaf, eu bod wedi myned yn fwy esgeulus, ac yn fwy diawch at bob cywreinwaith a gwybodaeth. Y mae bod yn hir dan ddylanwad coelgrefydd, a than iau gormes, yn sicr o ddarostwng, a llygru, a thlodi pob cenedl o ddynion yn mhob parth o'r byd.

5. Y mae haneswyr o bob dosbarth yn cyduno i grybwyll fod cymeriad yr Hindwaid yn cael ei addurno â llawer o rinweddau cymdeithasol, yn enwedig pan y maent bellaf o gyrhaedd llygredigaethau a gormes "Cristionogion" a Mahometaniaid. Profir eu bod er yr hen oesau, yn mhell cyn amser y Cæsariaid, nid yn unig yn goleddwyr llenyddiaeth, ac yn gywreinwyr celfyddyd, ond eu bod yn ddiwyd, a boneddigaidd, a thosturiol; eu bod yn arfer cymedroldeb, cynildeb, a lletygarwch; a bod "yspryd addfwyn a llonydd," cartrefgar, ystyriol, plygedig, ac ufudd, yn cael ei fynwesu a'i feithrin ganddynt; ac y maent wedi cadw cryn lawer o'r yspryd "gwerthfawr" hwnw hyd heddyw, er trymed eu gorthrymderu, ac er amled y profedigaethau a daenwyd o'u deutu gan Europeaid glythion, anllad, anrheithgar, a llofruddiog, Y mae eu dosparthiadau uchaf yn ymgadw bron yn hollol oddiwrth gig-fwydydd, ac yn byw yn benaf ar rice, a llaeth, a llysiau, a ffrwythau. Y maent o ran eu cyrff yn dàl a lluniaidd, ac ystwyth a heinif, o liw tywyll a melynaidd; ond y mae y dosparth uchaf bron mor wyn ag Europeaid, a hyny, mae'n debyg, am eu bod yn gallu ymgadw yn y tŷ, neu dan y cysgodlwyn, allan o gyrhaedd gwres yr haul.

6. Y mae caethwasiaeth, a chaethfasnach yn cael eu goddef yn India, a hyny yn nghylchoedd awdurdod uchaf Llywodraeth Prydain. Y mae llawer o deuluoedd Hindwaidd yn cael eu gwasgu i dlodi ac angen, naill ai mewn canlyniad i ormes eu gorthrymwyr, neu drwy eu hafradlonedd a'u musgrellni, neu drwy gystuddiau, neu o herwydd tymhorau o brinder a newyn, a chroes-ragluniaethau. Mewn amgylchiadau o gyfyngder felly, y mae eu cyfreithiau yn goddef i rieni werthu eu plant i gaethiwed. Y maent yn gwneud hyny, nid o ddiffyg serch atynt, ond er eu hachub rhag newynu. Rhesyma awdurdodau Lloegr fod yn anhawdd i atal y ddefod; ond ni buasai dim llawer o waith ei hatal pe buasai teuluoedd India yn cael chwareu teg i enill eu bywioliaeth.

Wedi taflu golwg ar y wlad a'i phreswylwyr, mae'n bryd gofyn bellach, Pa fodd y daeth y fath wlad fawr bellenig i feddiant Lloegr? Rhag i neb gasglu fy mod am i bob cenedl ymgadw gartref heb symud byth dros ei throthwy na'i therfyn i weled unrhyw barth arall o'r byd, yr wyf am grybwyll rhai pethau a olygaf yn gyfreithlawn, ac anrhydeddus, a chanmoladwy; a rhai pethau a ystyriaf yn anghyfreithlawn a beiadwy i wlad wneud.

1. Yr wyf yn ystyried ei bod yn gyfreithlawn a chanmoladwy i wlad roddi pob cefnogiad i seiri celfyddgar adeiladu llongau; y llongau trefnusaf at eu cludaeth, hwylusaf at eu llywio, cyflymaf at forio, a chryfaf i ddal y dymestl, a fedrant wneud.

2. Ei bod yn gyfreithlawn ac yn ganmoladwy i wlad anog dosparth o'i gwyr ieuainc i astudio deddfau morwriaeth, ac i chwilio llwybrau a ffyrdd y moroedd.

3. Ei bod yn ganmoladwy i wlad anog a chynorthwyo ymchwilwyr celfyddgar ac anturiaethus, boneddigaidd a dyngarol, yn deall daeareg a mŵnau, a llysieuaeth, a hinsoddaeth, a gwahanol ganghenau celfyddyd, a deddfau anian, i ymweled â gwahanol wledydd, ac i wneud ymchwiliadau buddiol. Y mae canoedd o ddynion felly megys Park, a Cook, a Banks, a

Burkhardt, a Buffon, a Belzoni, a Buckland, a Cuvier, a Humboldt, a Syr William Jones, a Syr Stamford Raffles, a Clarke, a Heber, a Coke, a Carey, a Martyn, a Philyp, a Moffat, a Layard, a Livingston, a John Williams, wedi bod o wasanaeth gwerthfawr i'r byd.

4. Ei bod yn ganmoladwy i'r cyfryw gasglu gwybodaeth o bob natur o holl gylchoedd ei hymchwiliadau er enw ac enill iddynt eu hunain ac i'w gwlad, ac er budd cyffredinol i'r byd oll : a'i bod yn ganmoladwy o radd uchel i'r cyfryw drosglwyddo gwybodaeth i'r bobloedd yr ymwelant â hwy ; a'i bod yn ganmoladwy o'r radd uchaf iddynt gymeryd gyda hwy i'w cyfranu, neu i'w cyfnewid, hadau pob llysieuyn maethlawn, a phob pren ffrwythlawn, a phob grawn cynyrchiol, a chynllun pob dyfais fuddiol ; a phlanu ar yr un pryd yn mhob man lle y cant gyfle egwyddorion pob gwybodaeth a phob celfyddyd. Y mae'r cyfryw yn haeddol o gael safle yn y rhes uchaf fel cymwynaswyr eu cyd-ddynion.

5. Ei bod yn gyfreithlawn i'r cyfryw, pan yn gwneud eu hymchwiliadau, gymeryd meddiant, yn enw y Llywodraeth a'u hanfonodd allan, o'r tiriogaethau a ddarganfyddant heb neb yn eu meddianu.

6. Ei bod yn gyfreithlawn i'r cyfryw fasnachu, ond masnachu yn deg, â phawb a gyfarfyddant yn mhob parth o'r byd.

7. Ei bod yn gyfreithlawn i'r cyfryw brynu tir yn y man y mynant, er codi gweithdai, a masnachdai, ac anneddau arno ; ac er ei drin a'i ddiwyllio.

8. Y byddai yn ganmoladwy iawn i'r cyfryw drwy bob deuiadau, a rhesymau, a chyngorion, a phob moddion moesol yn eu cyrhaedd, i wneud eu goreu i ddiwreiddio pob egwyddorion drwg, a phob arferiadau niweidiol o holl gylchoedd dylanwad eu cyfathrach a'u siampl.

9. Yr wyf yn credu hefyd ei bod yn gyfreithlawn ac yn anrhydeddus i wlad, ar ol rhoddi pob gorchymyn a phob anogaeth i'r cyfryw ymddwyn yn foneddigaidd, ac yn onest, ac yn

gariadus at bawb, yn mhob man, ac ar bob amgylchiad, amddiffyn eu cam yn bwyllog, ac yn benderfynol, ac yn gyhoeddus ger bron y byd, yn erbyn trais yspeilwyr a llofruddion. Yr wyf yn credu fod pob peth o'r natur a nodwyd, nid yn unig yn gyfreithlawn ond yn anrhydeddus; ond o'r tu arall, yr wyf yn barnu ei bod yn anghyfreithlawn a beiadwy i wlad, yn enwedig i hen wlad gref, waraidd, wybodus a chrefyddol,

1. Gychwyn neu gefnogi unrhyw fasnach niweidiol, megys masnach opium, neu wirodydd, neu dybaco, neu gamblo, neu buteiniaeth, neu ddyn-ladrad yn mysg pobl anwybodus a dibrofiad.

2. Ei bod yn anghyfreithlawn a beiadwy i hen wlad gyfoethog, ddylanwadol i enyn, neu hysio cynenau rhwng tywysogaethau cymydogaethol, er mwyn iddi hi ei hun gael maes lletach, a chyfle hawddach i grib-ddeilio a budr-elwa, oddiwrth derfysgiadau a rhyfeloedd y fath gynenau rhwng cymydogion.

3. Ei bod yn ymddygiad beiadwy a gwarthus i hudo y gwan i rwymiadau nas gall eu cyflawni, a'i rwydo i dori ei air, a'i gynhyrfu i drin ac i daeru, a'i wasgu i droseddau eraill, er mwyn cael achlysur i'w ddirwyo â threthi afresymol, neu er mwyn cael esgus i ymosod arno er cymeryd oddiarno ei holl feddianau. Hawdd ydyw i'r blaid ysgyrnygu a thaeru fod yr oen yn llwydo y ffrwd wrth yfed o honi oddidano, a neidio arno i'w larpio am hyny; a hawdd ydyw i'r cryf a'r cyfrwys ddyfeisio esgus i anrheithio y gwan, ac i larpio y diniwed a'r diamddiffyn.

4. Ei bod yn feiadwy a gwarthus i astudio a defnyddio "*tricks cyfraith*" i weu rhwydau o ddarnau cyfrodeddedig o hen gyfreithiau Brahminaidd, a Mahometanaidd, ac Europeaidd, i ddal a dyrysu y dibrofiad a'r diniwed, er ei yspeilio o'r oll sydd ganddo. Yr wyf yn ystyried pob *trick* o'r natur hyny yn annheg, yn annynol, ac yn anghyfreithlawn.

Yn awr y gofyniad mawr yw, Ai yn ol deddfau uniondeb cymdeithasol? Ai yn ol cyfreithiau tegwch rhwng cymydog-

ol rheolau auraidd gonestrwydd, y daeth Lloegr i 'iogaethau ëang India? Yr wyf am i bob un nwmo yr hanes, ac astudio yr amgylchiadau yn fanyl- gofalus, a barnu drosto ei hun yn bwyllog a diduedd. i wedi ceisio gwneud hyny mor deg a diragfarn ag y ac yr wyf yn ofni mai nid yn ol deddfau masnach deg ..d yn ol cyfreithiau iawnder rhwng gwr a gwr, y Lloegr i feddiant o'i hymerodraeth fawr yn India; ac o dwyll a thrais, os bu yno orthrymu ac anrheithio, yno ar *scale* mor fawr, â llaw mor uchel, a than liw u, ag y bu gorthrymu ac anrheithio erioed mewn un- wlad, yn unrhyw oes, na than unrhyw oruchwyliaeth.

.. ceisio amgyffred y pwnc, naturiol ydyw ymofyn, Pa bryd y daeth India dan Lywodraeth Lloegr? Ai yn amser Caradoc a Theulu Brân Fendigaid? Ai yn amser Hengist a'r Saxon- iaid? Ai yn amser Arthur a'i farchogion? Ai yn amser William y Gorchfygwr, a Duciaid Normandy? Ai yn amser Richard galon llew, a'i gyd-wroniaid o Ryfeloedd y Groes? O nage. Nid yn yr oesau tywyll hyny. Ai ynte yn amser Owen Glyndwr, neu ryfelwyr y Ddau Rosyn, neu Harri y Ffydd, neu Mari Waedlyd, neu Charles Ferthyr, neu yr hai- arnaidd Oliver Cromwell? O nage. Nid yn yr amser cyn- hyrfus hyny. Pa bryd ynte y bu hyn? mewn amserau di- weddarach, yn nyddiau goleuach a gwareiddiach y Georgiaid a'u huchel-swyddwyr Clive a Hastings, a Wellesby, a Welling- ton? ïe, ac mewn rhan fawr yn y dyddiau diweddaraf hyn, yn amser Victoria a'i Governors, a'i Generals Auckland a Har- dinge, a Gough, a Dalhousie, a Syr Charles Napier, a Syr Harri Smith.

Y gofyniad nesaf ar mwyaf pwysig ydyw, Pa fodd y daeth India i feddiant Lloegr? Yr wyf yn ofni y rhaid ateb mai trwy dwyll a thrais; yr wyf yn ofni yn wir y gellir profi mai trwy ormes a rhyfel.

Yn niwedd y flwyddyn 1600 corfforwyd "*Company*" i fars- iandio i'r "East Indies. Yr oedd y company hwnw, yn ol ei

"*Charter*," i gael yr India Ddwyreiniol iddynt eu hunain. Nid oedd yr un masnachydd arall, na'r un company arall, i hwylio llong o Loegr i unrhyw ran o'r cylch mawr hwnw. Yr oedd hyny yn annhegwch creulawn, yn y cam cyntaf, â deiliaid eraill Lloegr; yr oedd yn niweidiol i yspryd anturiaeth, yn drosedd o ddeddfau masnach deg, ac yn achos o lawer o anfoddlonrwydd ac o gwyno drwy'r holl deyrnas; ond llwyddodd y company, drwy lwgr-wobrwyo y Llywodraeth, i ddal gafael yn eu gorfaelaeth am ugeiniau o flynyddoedd. Yr oeddynt yn cludo i India aur, arian byw, plwm, a phob math o frethynau, i'w cyfnewid yno am berlau, porcelain, sidan, calico, tea, pepper, drugs, saltpetre, a phethau eraill, ac yr oedd eu marsiandiaeth weithiau yn lled enillfawr. Cawsant o radd i radd, drwy foneddigeiddrwydd o'r ddau tu, genad i godi amryw fasnachdai mewn gwahanol fanau ar ororau India; ac yn y flwyddyn 1715, yn mhen cant a phymtheg mlynedd ar ol eu corfforiad, cawsant ryddid i brynu darn helaeth o dir yn Bengal, fel ffafr, am fod un o feddygon y company wedi gwella Ymerawdwr Delhi o'i glefyd; a dechreuodd dylanwad swyddogion ariangar a hirben y company gyflym gryfhau ac ymledu.

Yr oedd dau fath o bobl yn India pan y dechreuodd marsiandwyr Lloegr ymwthio i'w mysg, ac ymyryd â'u trefniadau. Heblaw y brodorion Hindwaidd, yr oedd yno lwythau o Fahometaniaid ag oeddynt wedi enill meddiant, drwy goncwest, o ranau helaeth o'r wlad, er ys tros chwe' chant o flynyddoedd, ac yr oedd yr hen genfigen a'r elyniaeth yn parhau mewn llawer cylch rhwng yr Hindwaid a'r Mahometaniaid. Yr oedd hyny yn fantais i'r crib-ddeilwyr anrheithgar oeddynt yn ymwthio yno o Loegr, Holland, Ffrainc a Portugal, a rhai o wledydd eraill Europe. Yr oedd gan Portugal amryw sefydliadau yn India gan' mlynedd o flaen Lloegr. Dechreuodd Holland ymwthio yno oddeutu yr un pryd a Lloegr. Ac yn mhen can' mlynedd ar ol hyny, corfforwyd company gan Ffrainc yn ol cynllun un Lloegr; ac yr oedd company Ffrainc

yn ymwthio yn mlaen yn brysur, ond yr oedd y flaenoriaeth yn mhob ystyr, nid yn unig o ran amser, ond o ran nerth a nifer sefydliadau, ac o ran cyfoeth a dylanwad gan Loegr; ac yr oedd cenfigen gref o'r dechreu rhwng marsiandwyr Ffrainc a marsiandwyr Lloegr. A phan y torodd rhyfel allan rhwng y ddwy wlad yn 1744, cyrhaeddodd ei ddylanwad andwyol i India, a chwythwyd y genfigen oedd yn mudlosgi yno o'r blaen, yn fflam wyllt oddeithiol ar unwaith. Yr oedd gan Ffrainc yno y pryd hyny ddau Raglaw, Dupleix yn Pondicherry, a Labourdonnais yn ynys Mawritius, a llwyddasant ar ol byr warchae i gymeryd Madras, prif sefydliad Lloegr yno y pryd hyny; a phe buasai dau raglaw Ffrainc yn medru cytuno â'u gilydd, y mae pob lle i gasglu y buasent yn cael y llaw uchaf yn India. Yr oedd Dupleix o'r dechreu a'i holl fryd ar weithio Lloegr o India, er rhyddhau y ffordd i enill ymerodraeth i Ffrainc yno; ond yr oedd Labourdonnais yn llawer mwy cymedrol ei awydd, a dychwelodd ef adref i Ffrainc i esbonio i'w company eu hamgylchiadau yno. Yr oedd Dupleix, ar ol hyny, yn cael ei ffordd yn fwy rhydd i gario yn mlaen ei gynlluniau yn erbyn Lloegr, ac i ymyryd â holl gynenau tywysogion India, er cael cryfhau awdurdod, a helaethu tiriogaethau Ffrainc yno; ac yr oedd ef a'i gyd-swyddwyr yn gweithio mor gyfrwys, drwy dynu un tywysog i lawr, a chodi arall i'w le, fel yr oeddynt yn cael eu hystyried gan yr Hindwaid o bob dosparth yn ddoethach ac yn ddyfnach pobl na'r Saeson. Yr oedd Ffrainc yn dringo i fyny yno yn gyflym y pryd hyny. Yr oeddynt ar fin cymeryd un o sefydliadau eraill Lloegr; ond yn y cyfwng hwnw, daeth adgyfnerthion o Loegr yn yr iawn bryd i achub y sefydliad hwnw, a gorfu i Dupleiz a'i filwyr ffoi, a brysio i amddiffyn Pondicherry rhag ymosodiad llynges Lloegr. Gyda hyny, cyrhaeddodd y gair yno fod heddwch wedi ei adsefydlu a'i gyhoeddi rhwng Ffrainc a Lloegr, a bod eu sefydliadau yn India i aros fel yr oeddynt cyn y rhyfel. Ond ni newidiodd y newydd am heddwch ddim ar galon Dupleix. Nid oedd dim a ddigonai ei chwant ef ond

cael India oll i feddiant Ffrainc; ac yr oedd yn parhau i astudio ei gynlluniau cwmpasog a dyfnion er cael ei ddymuniad i ben. Yr oedd amheuaeth a dadl gyda golwg ar ditlau dau o dywysogion Deheubarth India; ac yr oedd dau eraill yn ymgais am eu gorseddau. Lleisiodd Dupleix a'i wŷr dros yr ymgeiswyr, a chynorthwyasant hwy i gasglu ac i drefnu eu byddinoedd; ac ar ol brwydr waedlyd, a lladd y ddau hen dywysog, derchafwyd dynion Dupleix i'w lle, a phenodwyd Dupleix gan y ddau i fod yn brif weinidog eu tywysogaethau.

Yn yr adeg dywell hono, pan yr oedd Ffrainc, drwy gyfrwysdra Dupleix, yn codi yn gyflym, a Lloegr i'r un graddau yn myned i lawr, darfu i lanc o Loegr, llanc ieuanc uchelfrydig, awyddfrydig, gwrolgalon, a chyfrwys, o'r enw Robert Clive, ddechreu codi ei ben, a gwneud ei ôl yn India. Yr oedd wedi myned yno fel ysgrifenydd i un o sefydliadau y company, ond gwaith diflas i un o yspryd uchel a bywiog ac ystyfnig fel Clive, oedd eistedd, dan lygad meistr, wrth ddesc ysgrifenydd; ac yn y terfysg a'r dychryn pan gymerwyd Madras gan y Ffrancod, diangodd Clive o gaethiwed ei swyddfa, ac ymunodd â'r fyddin, a phrofodd yn fuan fod ganddo fwy o chwaeth at fywyd milwraidd, nag at ofalon swydd ysgrifenydd. Cafodd ei osod yn gapten ar fintai o bum' cant o filwyr, 200 o Saeson, a 300 o Hindwaid; ac yr oedd mor frwdfrydig am gymeryd y maes, fel yr erfyniodd am genad i ymosod ar Arcot, prif ddiddinas tywysogion etholedig Ffrainc. Coronwyd ei anturiaeth â'r llwyddiant mwyaf "gogoneddus." Enillodd y ddinas ar ruthr, a gorfu i Dupleix a'i ddynion gilio o'r cyrhaedd. Achosodd hyny "dro ar fyd" yn y parth hwnw o'r wlad; ac ar ol yr orchest hono, cymerodd Clive fordaith i Loegr er mwyn ei iechyd. Yr oedd hyny yn y flwyddyn 1752.

Yn y cyfamser denodd Dupleix ddau o dywysogion eraill India i daro gydag ef, ac addawodd eu codi i orseddau y tywysogion a noddid gan y Saeson; a bu brwydro gwyllt a gwaedlyd rhwng y ddwy ochr. Yr oedd dau dywysog o du Lloegr, ond yr oedd pedwar mewn cyngrair â Ffrainc, ac yr

edi addaw llawer o dir ac o gyfoeth i Ffrainc am eu wyo i enill buddugoliaeth ar ddynion Lloegr. Pan dodd yr adroddiad i Ffrainc ac i Loegr am y modd yr isiou eu dau company yn cynhyrfu rhyfeloedd yn i i'r deiliaid teg a gonest yn y ddwy wlad, ardystio yn erbyn y fath ormes barbaraidd ac andwyol, fel y arwyddwyr y ddau company gyfarfod yn Llundain s, a chytunasant i anfon dau genadwr dylanwadol i n dros Loegr, ac un dros Ffrainc, i geisio heddychu y eidiau, ac i ddwyn pethau i well trefn. Cytunodd y adwr fod Ffrainc i roddi i fyny bob hawl i'r tiriog- u oedd Dupleix wedi enill drwy ryfel, a'i bod i foddloni ar y sefydliadau oedd ganddi cyn y rhyfel. Ar hyny dychwel- odd Dupleix i Ffrainc dan deimlad dwys o siomedigaeth, o herwydd dyrysu ei gynlluniau, ac am fod ei wlad mor anniolch- gar iddo, ar ol iddo gysegru ei amser a'i lafur a'i holl ddoniau mor ffyddlawn i'w gwasanaethu a'i derchafu. Dychwelodd y ddau genadwr hefyd i Ffrainc i roddi cyfrif o'u llwyddiant, gan feddwl eu bod wedi terfynu pob dadl, a thawelu pob terfysg; ond gydag iddynt gefnu ar India, yr oedd y genfigen mor gref ag erioed rhwng y ddau company yno; a phan ail enynodd y rhyfel rhwng Ffrainc a Lloegr yn 1756, ail daniodd y ddau company am ryfel yn India, a llwyddodd swyddwyr Ffrainc i gynhyrfu Surajah Dowld, tywysog galluog Bengal, i luniaethu rhyfel yn erbyn company Lloegr. Casglodd fyddin o ddeu- gain mil o wŷr traed, a deng mil ar hugain o wŷr meirch, a phedwar cant o elephantiaid, ac ymosododd ar Calcutta, a gorfu i'r preswylwyr Prydeinig ffoi i'w llongau, er ceisio noddfa mewn rhyw sefydliadau eraill. Drwy ryw gamgymeriad, gad- awyd mintai fechan o Saeson ar ol, y rhai a gymerwyd yn garch- arorion rhyfel, a gwthiwyd hwy y noson hono i "hen garchar" fuasai gan y Saeson yno, a elwid y "Blackhole;" ond erbyn y bore yr oeddynt wedi meirw oll, ond tri ar hugain, o gant a chwech a deugain; a golwg alaethus arnynt, wedi marw o fygiad, yn eu tyndra, yn awyr wenwynig eu daeargell. Yr

oedd Clive erbyn hyn wedi cyrhaedd yn ol i Madras, ac anfonwyd ef yn ddioed a byddin o naw cant o Brydeinwyr, a phymtheg cant o Sepoys, sef Indiaid wedi eu dysgu i ryfel, mewn pump o longau, i dalu'r pwyth i'r gelyn. Rhuthrodd Clive ar warthaf y gelyn, torodd ei rym, adgymerodd Calcutta a'r holl eiddo oedd ynddi, a chymerodd hefyd ar ol hyny brif sefydliad Ffrainc yn Bengal; ond yn lle dychwelyd i Madras, yn ol yr eirchion oedd wedi dderbyn, penderfynodd aros yn Bengal, gan farnu fod maes cyfoethocach yno iddo enill elw ac enw iddo ei hun, ac i'w wlad nag oedd oddeutu Madras. Diswyddodd hen dywysog Bengal trwy ddichell a rhyfel. Cododd un arall i'w le, a rhwymodd hwnw i dalu yn ddrud am yr anrhydedd oedd yn gael felly drwy ddylanwad Clive. Yr oedd i dalu 10,000,000 o Rupees i'r company, 5,000,000 i breswylwyr Prydeinig Calcutta, 2,000,000 i'r Hindwaid yno, 700,000 i'r Armeniaid, 2,5000,000 i'r lynges, 2,500,000 i'r fyddin, 280,-000 i Drake y Governor, a 240,000 yr un i dri o swyddwyr eraill y company. Yr oedd y cyfan yn £2,697,750 o arian Lloegr. Gwaith hollol ofer i dywysogion India oedd ceisio ymwneud, mewn unrhyw ffordd â dyn mor lawdrwm ac mor hirben a Clive, pa un bynag fyddent ai am gyfamod ag ef, ai am ryfela yn ei erbyn. Yr oedd yn ormod o ddyn iddynt ar bob tir, ac yn mhob man. Lladdwyd yr hen Nabob wrth ryfela yn ei erbyn, a gwerthodd y Nabob newydd ei hun a'i deyrnas yn hollol i afael yr Arch-Nabob Clive. Methodd gyflawni ond prin haner ei ymrwymiadau, a rhy brin yr oedd yn gallu boddhau ei ddeiliaid, na'r Prydeinwyr, na'r tywysogion cymydogaethol. Cododd mab hynaf y Mogul Emperor yn ei erbyn, a ffurfiodd gyngrair â dau dywysog eraill i'w gyfnerthu, ac arweiniasant eu byddinoedd i Bengal, er enill y freniniaeth oddiarno; ond heb ofni grym y tri, na llid yr ymerawdwr, na dim arall, na neb arall, ymdeithiodd Clive gyda brys i gyfarfod y tri, a gorchfygodd a chwalodd eu byddinoedd; ac yr oedd Nabob Bengal erbyn hyn mor falch o ddewrder Clive, ac mor ddiolchgar iddo am ei amddiffyniad, fel y rhoddodd iddo yr

holl *rent* oedd i ddyfod i'w drysorlys oddiwrth y company, yr hyn oedd yn llawn £30,000 yn y flwyddyn. Gwnaed Clive drwy yr amod hyny yn arglwydd tiroedd y company. Ar ol sefydlu, yn y dull a nodwyd, uwchafiaeth Lloegr yn Bengal, dychwelodd Clive yr ail waith i Loegr.

Wrth glywed am rwysg Clive yn Bengal, hwyliodd Ffrainc lynges i India, dan lywyddiaeth Count De Lally, er darostwng grym Prydain yno, ac adsefydlu uwchafiaeth Ffrainc. Cymerodd Lally Fort St. David, ac ymosododd a'r Madras, gan fwriadu myned oddiyno i Bengal, ac anrheithio y cyfan oll oedd gan Brydain yn mhob parth o India; ond cyn iddo hollol gyflawni ei gynlluniau, cafodd milwyr y company adgyfnerthion o Loegr, a gorchfygwyd Lally gan y dewrwych Colonel Coote, a chymerwyd oddiar Ffrainc ei holl sefydliadau; a chafodd Lally, druan, ar ei ddychweliad i Ffrainc, ei ddienyddio, eisiau gallu "ymladd yn well" ar feusydd pellenig India. Yr oedd yn greulawn yn y Ffrancod i aberthu y fath hen filwyr i ddialedd eu balchder, ar ol iddo wneud ei oreu ar faes dieithr iddo, a hyny ar ol gwasanaeth ffyddlawn o bum' mlynedd a deugain yn achos ei wlad.

Erbyn hyny yr oedd Lloegr wedi tori grym Ffrainc yn India, ac nid oedd dim anhawsdra bellach ar ei ffordd i sefydlu ei hymerodraeth yno, ond yn unig darostwng a phlygu yr hen Dywysogaethau ysig a sigledig oedd yno ar eu gogwydd yn adfeilio. Ar ol yr holl drafferth oedd y Company wedi gymeryd i ddiswyddo ac i gylchynu angau hen Nabob Bengal, ac ar ol yr holl drafferth o godi un arall, o'u dewisiad eu hunain, i'r orsedd yn ei le, darfu iddynt yn bur fuan syrthio allan â'u dyn eu hunain; a mynu diswyddo hwnw, am ei fod yn methu talu digon iddynt am y codiad ar anrhydedd oedd wedi gael ganddynt; a chodasant un arall i'r Nabobiaeth yn ei le. Yr oedd yr un a fwriasant ymaith yn rhy feddal ganddynt, ond trodd yr un newydd yn rhy fauwl iddynt; yr oedd yr hen un yn rhy lac ganddynt, a'r newydd yn rhy dýn iddynt; yr oedd yr hen un yn rhy ddiog a rhy afradlon i

allu casglu iddynt; yr oedd y newydd yn rhy graff ac yn rhy gyfiawn i allu eu boddhau. Y gwir yw, yr oedd eu cribddeil-aeth a'u gorfaelaeth yn anoddefadwy. Yr oeddynt yn honi hawl i ddwyn yn mlaen eu holl farsiandiaeth yn ddidoll, tra yr oedd y brodorion yn talu toll ar eu holl nwyddau. Yr oedd-ynt felly yn mynu elw dwbl iddynt eu hunain ar draul andwyo holl farsiandiaeth y brodorion. Yr oedd y Nabob newydd a'i ddeiliaid yn cwyno yn dost yn erbyn y fath anghyfiawnder; ond cwbl ofer oedd eu holl gwynion. O'r diwedd, wedi blino ar eu gorfaelaeth, diddymodd y Nabob bob toll a threth oedd ar fasnach; a sefydlodd fasnach rydd i'r brodorion fel i'r es-troniaid trawsion o Loegr: ond ymgynddeiriogodd y Company wrth ei weled felly yn myned yn rhy gyfrwys iddynt; a hyny ar dir mor anrhydeddus, ac mor deg. Yr oeddynt yn cael maes rhydd a phob tegwch fel masnachwyr, ond cynllwynasant yn union i lunio rhyfel yn ei erbyn; a gorfu iddo ffoi am ei ein-ioes o'i wlad: eithr darfu i'r "Great Mogul," a Nabob Oude, wrando ei gŵyn, a chydymdeimlo â'i gam, a myned i gyngrair ag ef, er ei gynorthwyo i adenill ei Nabobiaeth; ond ar ol brwydro gwaedlyd, collodd y dydd; a gorfu iddo ffoi eilwaith; a gorfu i'w gyngreirwyr blygu, a phlygu yn isel iawn, i awdur-dodau mawrfrydig Lloegr. Erbyn hyn yr oedd Clive wedi cyrhaedd India y drydedd waith; wedi cael ei "greu" yn Lord gan ei frenin, ac yn cael ei alw gan laweroedd "The *Great* Lord Clive of India;" ac yr oedd wedi mynu cael ei urddo gan y Company yn Llywydd Bengal, ac yn "Comman-der in Chief" eu byddinoedd. Yr oedd yn sefyll am fod yn ben yn y Llŷs, ac yn ben yn y fyddin. Yr oedd yn anhawdd gan y Company ymddiried y fath awdurdod iddo, yn enwedig am ei fod wedi cychwyn cyfraith arnynt, oblegyd eu bod yn ceisio cadw oddiwrtho yr ardreth o £30,000 yn y flwyddyn oedd Nabob Bengal wedi addaw iddo: ond nid oedd gan-ddynt ddim i'w wneud ond plygu i'w uchel-gais, am na fedrent gael neb medrusach na galluocach nag ef i amddiffyn a hel-aethu eu llywodraeth yn India. Yr oedd wedi cyrhaedd yno

n bryd i wneud cyfammod â'r tywysogion gorch-
a seliwyd gweithred yn Awst 1765 i ddyogelu bron
frynoedd y Ganges isaf i Loegr.

...nnen blwyddyn a haner ar ol hyny dychwelodd Clive ...ad ei enedigaeth i fwynhau yr urddas a'r golud oedd ... ei hun drwy ei ddeall a'i ddewrder yn llysoedd, ...sydd India; ond ychydig iawn o fwynhad a gafodd. ...nob teimlad goleu dyngarol a gonest yn ffieiddio ei ...th anghyfiawn, ei ddichell ddofn, a'i ormes gwaed-... ll amser ei filwriaeth yn India. Fel un engraifft o ...rif swyddwyr yr East India Company yn twyllo yr ...id gellir crybwyll i farsiandwr cyfrifol anturio ei fywyd i gynorthwyo Clive yn un o'i gynlluniau. Addawyd gwobr fawr iddo am ei ffyddlondeb; a gwnaed dwy weithred er dyogelu ei dâl iddo,—un iddo ef, ac un i swyddfa Clive. Gwnaed y ddwy weithred yn ol ffurf manylaf cyfraith. Rhoddwyd copi hardd y papur coch i'r marsiandwr i'w gadw er ei ddwyn yn mlaen ar gyflawniad y cynllun. Gwnaeth ef ei ymrwymiad yn ffyddlawn. Anturiodd ei fywyd yn ol ei addewid. Llwyddodd y cynllun yn ei holl ranau; ond pan ddaeth y marsiandwr yn mlaen i geisio ei wobr, hyspyswyd ef nad oedd "copi y papur coch" yn werth dim iddo. Yr oedd yr ymrwymiad am y tâl wedi ei adael allan yn fwriadol. Gwrthodwyd ei hawl, a chwarddwyd am ben ei ddiofalwch a'i anwybodaeth. Trodd ymaith yn drist; ond effeithiodd y siomedigaeth gymaint ar ei galon fel y dyrysodd ei feddwl, a bu farw yn wallgof-ddyn. A oedd ymddygiad felly yn deilwng o sefyllfa uchel y "Great Lord Clive?" Dichon ei fod yn cofio yn ei drallod wrth farw, am wallgofrwydd y marsiandwr twylledig Omichund; ac am brudd-der a gwasgfeuon myrdd o drueiniaid eraill a fradychwyd i'w dinystr ganddo ef a'i gydswyddwyr. Dygwyd cyhuddiad yn ei erbyn i'r Senedd, yn 1773, ei fod wedi camddefnyddio ei awdurdod swyddol er casglu golud anghyfiawn; ac yr oedd y prif-weinidog dros y cyhuddiad: yr oedd yr olwg ar ei achos yn dywyll iawn, ond yr oedd dylanwad

arian a doniau y Company, a dylanwad Clive a'i gyfreithwyr; ac yn enwedig hoffder pobl Lloegr o "ogoniant milwraidd," yn ddigon i guddio ei luaws pechodau; ac i'w ddiogelu o gyrhaedd y gosp fwgwthiedig: ond ni fedrai yr adgofion am ei orchestion, na'r olwg ar ei gyfoeth, ddim dwyn heddwch i'w feddwl. Yr oedd clwyfau anaele yn ei gydwybod. Ymollyngodd i brudd-der anwelladwy; a phan dan lywodraeth trallod calon, ac iselder yspryd, terfynodd ei fywyd â'i law ei hun, pan yn haner caut oed.

Yr oedd pobl ystyriol Lloegr yn anesmwytho fwy fwy wrth glywed o bryd i bryd am y gormes a'r anrhefn, a'r terfysg a'r rhyfel oedd yn parhaus ffynu yn India. Deallwyd fod y Company yn suddo i ddyled, er fod gweision y Company, ar ol byr wasanaeth, yn dychwelyd adref yn werth eu hugeiniau a'u canoedd o filoedd: ac felly, ar ol llawer iawn o ymdriniaeth â'r achos yn y Senedd, cytunwyd ar drefn newydd; sef, bod "Governor General," penodedig gan y goron, i gael £23,000 y flwyddyn o gyflog; a'i fod i gael bwrdd o bedwar o gynghorwyr i'w gynorthwyo, ar gyflog o £8,000 yr un; a bod ei Lŷs i gael ei gynal yn Calcutta. Yr oedd cyfarwyddwyr y Company yn groes iawn i'r cyfnewidiad, ond gorfu iddynt blygu.

"*Governor General*" cyntaf India oedd Warren Hastings o goffadwriaeth hiroesol. Yr oedd wedi bod cyn hyny dan y Company mewn swyddau uchel, fel aelod o'u cyngor yn Madras; ac fel llywydd Bengal. Yr oedd yn swyddog effro, pwyllog, craffus, a nodedig o weithgar; ac wedi cyrhaedd adnabyddiaeth manwl o amgylchiadau India. Yr oedd ganddo ddigon o ben, ond rhy fach o gydwybod. Yr oedd yn llawn o gyfrwysdra, ond yn brin o onestrwydd. Bu yn Governor General am ddeuddeg mlynedd. Yr oedd hen lywodraethau India, ar adeg ei dderchafiad i'w swydd uchel, yn hynod o ddyrus eu hamgylchiadau; ac yr oedd Hastings yn ddigon cyfrwys i ddal ar bob adeg, ac i ddefnyddio pob achlysur er eu gwanychu a'u dyrysu fwy fwy; a hyny yn unig er cryfhau awdurdod, a helaethu ymerodraeth y Company: a gweithiodd at

[redacted]



hyny yn ddyfal ac yn effeithiol. Cryfhaodd eu gafael yn y talaethau oedd ganddynt, a helaethodd hefyd eu terfynau. Dyna'r prif nôd oedd o hyd yn ei olwg; ac arferai enyn cynhenau, neu eu terfynu, bob amser, yn y modd goreu er cyrhaedd ei amcan. Am ei ochr ei hun yr oedd ei holl ofal; nid oedd yn gofalu dim am y lles cyffredinol. Yr oedd yn gyfrwysach gormeswr na Clive, er yn llai o ryfelwr. Llithrodd i ryfel â Mahratta wrth geisio helaethu rhaglawiaeth Bombay; a bu wedi hyny mewn rhyfel llawer trymach â'r dewrwych Hyder Ali, Tywysog Mysore. Yr oedd Hyder Ali, trwy ei ddewrder a'i gyfrwysdra, wedi tyfu i fod yn gadarn ac yn hŷf. Yr oedd yn ofalus i gadw ei deyrnas mewn trefn dda, ac yr oedd drwy hyny yn ei chryfhau a'i chyfoethogi yn barhaus. Bu am gryn ysbaid mewn cyngrair â'r Prydeinwyr; ond yr oedd yn cwyno yn chwerw ar eu hanffyddlondeb a'u cribddeiliaeth a'u traha, a throdd i fod yn elyn marwol iddynt. Ac i'r dyben o'u darostwng, casglodd fyddin o bron gan' mil o wyr: ac yr oedd amryw o brif gapteniaid Ffrainc yn ei gynorthwyo. Gorchfygodd fyddinoedd Lloegr yn Madras; a goresgynodd yr holl wlad oddeutu yno; ac yr oedd awdurdod Lloegr yn India, yn ol pob argoel, yn ymyl ei dranc: ond profodd Hastings y pryd hyny ei fod yn "ddyn mawr" mewn adeg o ddyryswch ac o berygl. Taflodd gapteniaid aneffeithiol Madras o'r neilldu; ac anfonodd y rhyfelwr enwog Syr Eyre Coote i wrthsefyll Hyder Ali; ac enillodd Coote a'i ŵyr fuddugoliaeth fawr waedlyd Porto Novo, a thrôdd y dydd o du Lloegr. Bu farw Hyder Ali yn fuan ar ol hyny, mewn oedran teg, yn 1782, a gadawodd ei orsedd i'w fab Tippo Saib; yr hwn oedd yn dywysog ieuanc o'r un yspryd ag yntau.

Yr oedd Lloegr yn teimlo ddwysach, ddwysach fod terfysgoedd a rhyfeloedd India yn warth i'w cymeriad; a galwyd Hastings adref i roddi cyfrif o'i oruchwyliaeth; a chyhuddwyd ef o flaen uchel Lŷs y Senedd o orthrymu y brodorion trwy eu trethu yn warthus, a'u terfysgu yn barhaus, a'u handwyo yn gyflym yn mhob dull arall. Yr oedd Seneddwyr penaf Lloegr

yn hŷf gyhoeddi yn ei wyneb ei fod wedi tori ei holl gyfammodau, ac wedi bradychu pob tywysog, ac andwyo pob talaeth ag oeddynt wedi ymddiried yn ei addewidion. Parhaodd ei brawf am dros saith mlynedd; ond cafodd ei ryddhau drwy yr un dylanwad ag oedd wedi achub Clive; ond gorfu iddo dalu "costau" ei brawf ag oeddynt wedi chwyddo i dros ddeng mil a thriugain o bunnau; ond yr oedd wedi enill digon yn India i allu talu hyny o ddirwy, ac i fyw fel pendefig am weddill ei oes.

Yr oedd trais a chamreolaeth y company yn parhau i fod yn destun dadleuon anorphen, yn y Senedd, ac yn mhob cylch arall drwy Loegr. Yr oedd Pitt a Fox a'u pleidwyr yn cydfarnu y dylid trefnu rhyw fesurau mwy effeithiol nag oeddid wedi sefydlu eto er cyfyngu eu hawdurdod; a ffurfiwyd "Board of Controul" i arolygu mesurau ac ymddygiadau y company, ac i fynu cyfrif o'r arian a'r cyllidau oedd eu swyddwyr yn gasglu yn India. Aeth Lord Cornwallis allan yn lle Hastings, dan orchymynion pendant a manwl, i lywodraethu yn ol egwyddorion teg, ac mewn yspryd heddychgar. Gweinyddodd yn o deg am beth amser; ond torodd allan bob yn dipyn yr hen awydd i helaethu terfynau awdurdod Lloegr yno, a dyfeisiwyd dadl â Tippoo Saib, ac ail ddechreuwyd rhyfel â Mysore. Parhaodd y rhyfel hwnw â Tippoo Saib am bron naw mlynedd. Dangoswyd llawer o ddewrder milwraidd o'r ddau tu. Gwarchaeodd Cornwallis ar Seringapatam, prif ddinas Mysore, yn 1792, a phlygwyd Tippoo Saib i ddeisyf ammodau heddwch. Rhwymwyd ef i roddi i fyny haner ei dywysogaeth, ac i dalu iawn o £3,500,000 yn aur, ac i roddi i fyny ei ddau fab fel gwystlon. Cyflawnodd Tippoo ei ymrwymiadau trymion, a rhyddhawyd ei feibion; ond ail enynodd y rhyfel yn fuan ar ol hyny, ac yn 1799, darfu i Marquis Wellesley, dilynydd Cornwallis, gymeryd Seringapatam, a lladdwyd Tippo Saib, a chymerwyd meddiant o'i deyrnas gan y gorchfygwyr.

Gyda bod y rhyfel gwaedlyd â Tippoo Saib wedi ei der-

[redacted]



fynu, cynygiodd Wellesley ran o'i deyrnas i'r Mahrattas, ond iddynt blygu i fod dan deyrnged i Loegr, a chynal byddin Brydeinig yn eu tiriogaeth. Gwrthododd y Mahrattas y fath gynyg profedigaethus a gorthrymus, ac oblegyd hyny ymwyllt-iwyd i ryfel â hwy, yr hwn a barhaodd am bedair blynedd; ond llwyddodd Wellesley a'i frawd Arthur—wedi hyny yr "Iron Duke" of Wellington, yr hwn oedd yn dysgu ei grefft "ogoneddus," ac yn dechreu casglu ei lawryf a'i wobrau pryd hyny—i ddarostwng y Mahrattas, ac i gymeryd y rhanau mwyaf o'u tiriogaeth. Galwyd Wellesley adref yn sydyn am ei fod yn rhy hoff o ryfel, ac anfonwyd Cornwallis, sef Cornwallis rhyfel America, allan yr ail waith, ond bu farw gydag iddo gyrhaedd India. Yr oedd yn ddyn o alluoedd cryfion, ac yn ddyn go deg a boneddigaidd, ac yr oedd gan Loegr gryn hyder yn ei ddeall a'i ddoniau. Dilynwyd ef gan Lord Minto, yr hwn a lywyddodd o 1807 hyd 1813, ac a chwanegodd ychydig at diriogaethau Lloegr yno; ond dygodd yn benaf oddiar Ffrainc a Holland. Dilynwyd ef gan y Marquis of Hastings. Bu ef mewn rhyfel hir a drud a gwaedlyd â'r Nepaulese a'r Pindarees ac enillodd lawer o'u tiriogaethau. Dilynwyd ef gan Lord Amherst, a than ei lywyddiaeth ef y bu y rhyfeloedd creulawn â'r Burmese, ac enillwyd llawer o dir newydd drwy y rhyfeloedd drudfawr hyny. Dilynwyd Amherst gan Lord William Bentinck, yr hwn a ymrodd i *gychwyn gwelliantau* yno, yn lle ymyryd yn ddiddiwedd yn nadleuon y tywysogion cymydogaethol. Mynodd ofalu am fwy o gynildeb yn holl swyddfau y company, a thrwy hyny galluogwyd ef i dalu dyledion trymion y rhyfel byrbwyll ac ynfyd â'r Burmese. Sefydlodd goleg meddygol o'r enw uchaf yn Calcutta, meithrinodd addysg, cefnogodd gelfyddyd, ac ymddygodd yn foneddigaidd at yr Hindwaid, gan eu derbyn i'w lŷs ar yr un tir ag Europeaid: a phan y gorfu iddo, ar ol chwe' blynedd o ofal, roddi ei swydd i fyny er mwyn ei iechyd, yr oedd hiraeth dwys a chyffredinol ar ei ol drwy holl dalaethau India. Dilynwyd ef yn 1835 gan Lord Auckland, yr hwn drwy gynyg

yr hen gast o ddiorseddu tywysog Affghanistan, a chodi dyn arall i'w le, a fu mewn rhyfel â'r Affghans am bedair blynedd. Yr oedd y rhyfel hwnw yn un o'r rhai creulonaf a welwyd hyd yn nod ar faes India, a methwyd cyrhaedd yr amcan yn y diwedd. Dilynwyd Auckland gan Lord Ellenborough, ac yr oedd yntau am enwogi ei lywyddiaeth drwy ryw goncwest; ac anfonodd ei fyddinoedd dan Syr Charles Napier i oresgyn Sinde, a'i dwyn dan dreth i Loegr. Ar ol hyny bu Lord Hardinge, a Lord Gough, a Syr Harri Smith yn cyflawni eu gorchestion gwaedlyd yn y Punjamb, er plygu y Sikhs dewrion dan iau Lloegr. Bu Lord Dalhousie wedi hyny yn llywyddu yn India am wyth mlynedd; ac ar ei ddychweliad i Loegr ryw chwe' blynedd yn ol, i fwynhau o ffrwyth ei fuddugoliaethau, ysgrifenodd un am dano yn yr iaith a ganlyn: "Yr ydys yn parotoi yn awr tu ag at roddi croesaw a bri i Lord Dalhousie ar ei ddychweliad adref o India. Y mae wedi bod yn rhag-lywyddu yno gyda rhwysg mawr am wyth mlynedd. Yr ydym yn barod i gydnabod ei fod yn bendefig mor hynaws ac mor gall, ac mor weithgar a'r cyffredin o bendefigion Lloegr; ond y mae yn ffaith, yn ffaith a gyhoeddir gydag ymffrost drwy yr holl deyrnas, ddarfod i gryn ddwsin o dalaethau annibynol India, gael eu cysylltu y naill ar ol y llall, at ymerodraeth fawr Prydain, draw yn y Dwyrain, yn ystod wyth mlynedd ei raglawiaeth. Y mae y Punjamb yn diriogaeth o ddeunaw mil a thriugain o filldiroedd ysgwar, yn cynwys saith miliwn o breswylwyr. Wyth mlynedd yn ol yr oedd yn dalaeth annibynol, dan ei llywodraeth ei hun, y mae yn awr wedi cael ei phlygu dan iau Lloegr. Y mae Berar yn diriogaeth o bedwar ugain mil o filldiroedd ysgwar, ac yn cynwys pedair miliwn o breswylwyr. Y mae Pegu yn diriogaeth o ugain mil o filldiroedd ysgwar, yn cynwys miliwn a haner o breswylwyr. Y mae Oude yn diriogaeth o bedair mil ar hugain o filldiroedd ysgwar, yn cynwys tair miliwn a haner o drigolion. Wyth mlynedd yn ol yr oeddynt yn dalaethau annibynol, dan eu llywodraethau eu hunain, y maent yn awr wedi cael eu plygu

[redacted]



dan iau Lloegr. Gellir dywedyd yr un peth am Sattara, a Iahnsi, a rhai eraill o diriogaethau manach India. Y mae y tiriogaethau a blygwyd felly dan iau Lloegr yn ystod yr wyth mlynedd diweddaf yn gymaint bymtheg waith ar hugain a holl Dywysogaeth Cymru. Y mae yno filiynau ar filiynau o bobl ag oeddynt wyth mlynedd yn ol dan eu llywodraethau cartrefol eu hunain, yn awr wedi cael eu plygu dan iau Lloegr! Ac y mae Lord Dalhousie newydd ddyfod adref i gael ei anrhydeddu a'i wobrwyo am eu gorchfygu a'u darostwng.

Ofer ydyw i bobl Lloegr osod eu dwylaw ar eu mynwesau, a chodi eu llygaid tua'r nef, a chyhoeddi fod yn "rhaid" eu gorchfygu, fod hyny yn ol arfaeth fawr y Drefn dragywyddol, ac nad oedd dim modd byw heb eu hymladd a'u plygu, a'u gosod dan deyrnged, a dwyn eu gwlad oddiarnynt. Ofer ydyw i bobl Lloegr geisio eu diraddio felly. Nid yw hyny ond ychwanegu athrod at ladrad. Y mae pobl India, os cânt degwch, mor "hawdd eu trin" ag ydyw pobl Lloegr. Y maent yn llawn mor gymydogol ag ydyw tylwyth John Bull. Y ffaith yw, a ffaith hysbys i'r byd oll ydyw, yr oeddynt yn ddiweddar yn annibynol, y maent yn awr dan iau Lloegr. A'r cwestiwn pwysig yw, Pa fodd y dygwyd hyny oddiamgylch? Ai trwy arfaethau doethineb a chariad y nefoedd? Nage, ond trwy arfaethau cybydd-dod ac ymyrgarwch Lloegr. Ai trwy ddylanwad addfwynder yr efengyl, a boneddigeiddrwydd hunanymwadol Cristionogaeth? Nage, ond trwy ddichellion anonestrwydd, a chwantau crib-ddeiliaeth, a nwydau dialgarwch calon ddrwg. Ai drwy bryniad, neu ammodau masnachaeth deg? Nage, ond drwy rym arfau rhyfel. Y mae Lloegr fawr gref, gweinidoges Cristionogaeth, patrwn duwioldeb, enaid dyngarwch, amddiffynydd y gwan yn mhob man, newydd fod yn cospi Russia am chwenychu eiddo arall. Y mae Lloegr wedi son llawer yn ddiweddar am ddichellion ac am drais Russia yn ymwthio i "*protectorates*," ac yn llunio "*treaties*" er dwyn o amgylch ei "*dreams of ambition*." Ond nid yw Lloegr byth yn son am ei dichellion ei hun, nac am ei thrais ei

hun pan yn ymwthio i "protectorates" yn mhell draw yn India, ac mewn manau pell eraill. Gwnaeth Lloegr yn yr wyth mlynedd diweddaf lawer mwy o gam â'r gwan nag a wnaeth Russia. Gŵyr y nefoedd hyny, a gŵyr uffern hyny, a gŵyr pawb drwy'r ddaear (ond pobl Lloegr) hyny; a gwybyddir hyny hefyd tra pery dyddiau'r ddaear, ac yn hir hir ar ol iddynt ddarfod. Os clywir haner gair o enau rhyw hustyngwr fod Russia yn gwasgu y gwan, neu yn gogwyddo i siarad â'r gwan yn rhywle, dyna Loegr fawr yn ymsythu yn ddioed i bregethu cyfiawnder, ac i alw ei galluoedd i'r maes i gosbi yr ymyrwr—pan y mae haneswyr goleuaf a gonestaf y y gwledydd yn gorfod ysgrifenu enw Lloegr yn eu cofiyfrau, fel "Arch-orthrymydd y ddaear." Y gwir yw y gwir, a'r gwir a saif, a'r gwir yn yr achos yma ydyw, fod Lloegr yn ysbaid cof llaweroedd ydynt eto yn fyw, wedi gwneuthur mwy o gam â gweiniaid nag a wnaeth unrhyw deyrnas arall, ac y mae clywed Lloegr yn ei chanmol ei hun fel noddwr y diamddiffyn, fel barnydd y gorthrymedig, fel cynorthwywr y tlawd, fel cosbwr y crib-ddeiliwr, ac fel torwr crib y gorthrymydd, yn anoddefadwy. Y mae geiriau chwyddedig ei phariseaeth, nid yn unig yn ffieidd-dra yn ffroenau y nefoedd, ond yn ddrewdod yn ffroenau *pagan*-lysoedd y ddaear.

Yr ydym yn credu ac yn llawen gydnabod fod elfenau gwir fawredd yn Lloegr, ac yr ydym am iddynt gael chwareu teg i weithio allan eu dylanwad er lles y byd. Nid yn reviews rhodresol ei sefydliadau milwraidd y mae nerth ei mawredd, nid yn nifer magnelau ei llongau rhyfel y mae nerth ei mawredd, nid yn amledd bron diderfyn ei segur-swyddau y mae nerth ei mawredd, nid yn areithiau amleiriog ei chroes-bleidiau seneddol y mae nerth ei mawredd; nid dan ganghenau tewfrig ei masnach feddwol y mae nerth ei mawredd; nid llymder ei chosbau ar droseddwyr annedwydd wedi eu gwasgu i angen, neu eu llithio i'w thai-yfed trwyddedig ydyw nerth ei mawredd: nid traha anghyfiawn yr arglwyddi tiroedd yn cadw eu tenantiaid llafurus yn gaeth dan eu traed ydyw nerth ei

mawredd ; nid yn 'olyniaeth' ei heglwys sefydledig y mae nerth ei mawredd ; nage, nage, ond yn niwydrwydd diflino ei dosbarthiadau gweithgar, yn nghywreinrwydd ei chelfyddydwyr, yn anturiaeth ei marsiandwyr, yn y niferi cynyddol o'i mawrion sydd yn astudio cynlluniau i gefnogi a gwobrwyo gweithgarwch a rhinwedd, yn nysgeidiaeth, a doniau, a ffyddlondeb ei hathrawon, yn rhyddid a bywyd ei hargraffwasg, ac yn haelioni egniadau ei chymdeithasau gwirfoddol er Cristioneiddio y byd."

Dyna nodiadau un ar raglawiaeth Lord Dalhousie. Nid rhyfedd ei fod yn taro yn drwm ar ymffrost Lloegr, oblegyd ei bod yn galw pawb y pryd hyny i weled ei sêl yn rhyfela o "blaid y gwan" yn y Crimea, pan yr oedd ar yr un pryd yn rhyfela yn erbyn y gwan draw yn India.

Nid wyf yn gwybod y manylion am y terfysgoedd a'r rhyfeloedd diweddaraf yn India, ac nid oes genyf adroddiad i'w roddi yn eu cylch ; ond yr wyf yn gwybod eu bod wedi profi yn ddrudion iawn, ac yn chwerwon iawn i Loegr ac i'r "gwrthryfelwyr."

Dyna grynhoad byr o hanes Goresgyniad India gan Loegr. Nid wyf yn meddwl fod yr un dyn yn awr yn Lloegr a gynygia gyfiawnhau ei rhyfeloedd yno drwy y can' mlynedd diweddaf. Llais cyffredinol Lloegr ei hun yn awr ydyw, fod yr "East India Company"—a hyny dan nawdd y Llywodraeth—wedi cyflawni anghyfiawnderau a fyddant yn warth oesol i Brydain. Od oes mil-flwyddiant o gyfiawnder a heddwch i wawrio ar y byd, fel yr ydys yn disgwyl, y mae yn sicr y bydd i haneswyr yr oesau cariadlawn a goleu hyny ddarlunio Clives, a Wellesleys, ac Aucklands, ac Ellenboroughs, a Hardinges, a Dalhousies India fel rhai o'r un yspryd a'r Omars; a'r Othos, a Gengis-Khans, a Tamerlanes yr hen oesau tywyll ; ac esboniant i'r byd oll fod Saraceniaid Prydeinig y bedwaredd ganrif ar bymtheg wedi ymddwyn yn greulonach a barbareiddiach yn India, nag yr ymddygodd Saraceniaid Mahometaidd y ddeuddegfed ganrif. Er fod llaweroedd o'r amgylchiadau

duaf wedi cael eu cuddio, neu eu darn-guddio o'r golwg, eto y mae'r "ffeithiau mawrion" yn aros, ac nid ellir byth eu dileu. Y balm sydd gan rai yn awr i glwyfau cydwybod Lloegr yw, fod y llofruddio a'r anrheithio wedi myned heibio—fod India yn awr yn meddiant Lloegr—ac y gwna y Saeson well defnydd o'i goludoedd a'i hadnoddau nag a fuasid byth yn wneud gan yr Hindwaid. Dichon y gall y Saeson wneud gwell defnydd o India nag oeddid yn wneud gan y brodorion, ond ni wna hyny ddim cyfreithloni eu gwaith yn dwyn eu hetifeddiaeth oddiarnynt. Y mae John Bull yn ymladdwr enwog, ond nid yw ei fod yn gallu curo yr Hindw, ar ei faes ei hun, yn ddigon o reswm dros iddo ddwyn ei faes oddiarno. Y mae John Bull hefyd, heblaw bod yn ymladdwr gwych, yn gelfyddydwr, ac yn athronydd, ac yn Gristion o enw uchel, a dichon y gall drin y maes yn well na'r Hindw, ond eto nid yw hyd yn nod hyny yn ddigon i gyfreithloni ei drais yn dwyn y maes oddiarno. Lladrad ydyw lladrad, pa un bynag ai Hindw ai Cristion fydd y lleidr. Nid yw y lleidr athronyddol yn ei ysgarlad, yn ddim gwell na'r lleidr anwaraidd yn ei garpiau, ac nid yw y defnydd a wneir o eiddo lladrad yn newid natur y lladradaeth.

Y mae amheuaeth genyf a ddarfu i Loegr wrth orthrymu ac anrheithio yn India daro ar y ffordd gyflymaf i ymgyfoethogi, heb son dim am y ffordd anrhydeddusaf. Y mae goresgyn India wedi bod yn waith drud iawn i Loegr, ac yr wyf yn credu —ond dichon fy mod yn camgymeryd—y buasai yn llawer cyfoethocach heddyw pe buasai yn masnachu yn deg yn India. Gallasai marsiandwyr, a chelfyddydwyr, a naturiaethwyr Lloegr fod yn ddefnyddiol, nid yn unig er goleuo, ond er cyfoethogi India drwy ystod rhwysg yr East India Company, a buasai hyny wedi troi yn enill mawr iddynt hwy eu hunain, buasent yn cael tâl dauddyblyg am eu doniau a'u dyngarwch. Ond tylodi India a wnaethant, ac yr oeddynt wrth dlodi India yn cymeryd un ffordd effeithiol i dlodi Lloegr hefyd. Yr wyf yn credu pe buasai "Companies" ariangar a rhyfelgar Portugal, a Holland, a Ffrainc, a Lloegr, yn masnachu yn deg yn India,

y buasai India, ac Europe hefyd, erbyn heddyw yn llawer mwy cyfoethog a mwy paradwysaidd.

Haera rhai nad oedd dim modd dysgu yr Hindwaid mewn celfyddyd, nac anianyddiaeth, na dim arall, heb yn gyntaf eu hymladd a'u gorchfygu a'u darostwng, heb eu diraddio a'u baeddu, a'u trin, a dwyn eu heiddo oddiarnynt; ond y mae athrawiaeth felly yn hollol groes i philosophi a phrofiad athrawon goreu a mwyaf defnyddiol pob oes a phob gwlad; a mwy na hyny, y mae yn hollol groes i holl rediad addysg yr Athraw Mawr.

Ond gan fod y camgymeriad a'r camwri ysgeler wedi cael ei wneud, beth a wneir yn awr? Dyna'r cwestiwn ymarferol ddylai gael holl feddwl a holl galon Lloegr. Beth a wneir? Ai ceisio sefydlu llŷs rhaith i brisio y cam a wnaed, er talu iawn i'r rhai a golledwyd? Nage, y mae hyny yn awr yn anmhosibl. Y mae y rhai a golledwyd fwyaf wedi myned i ffordd yr holl ddaear, ac y mae amryw genedlaethau o'u cynrychiolwyr wedi eu dilyn; a rhaid gadael y cyfrifon rhwng y cyfryw a'u hanrheithwyr hyd Lŷs y dydd mawr: ac y mae lle i ofni fod y nifer amlaf o'r cynrychiolwyr sy'n awr yn fyw wedi colli eu hawl drwy wisgo arfau dial, a thrwy droi i anrheithio a chyflawni troseddau eraill yn ol addysg siampl y rhai fu yn anrheithio eu hynafiaid. Beth ynte sydd gan Loegr i'w wneud yn wyneb yr amgylchiadau presenol?

1. Dylai ymroi i fod yn gyfiawn o hyn allan. Yn gyfiawn yn ei masnach; yn gyfiawn yn ei threthiadau; yn gyfiawn yn lluniad ei chyfreithiau; yn gyfiawn yn ngweinyddiad ei llŷsoedd; yn gyfiawn yn nosbarthiad ei breiniau gwladol. Cyflawnwyd yr anghyfiawnderau mwyaf ysgeler yn India dan gochl cyfraith. Byddai yn hawdd i ddadleuydd cyfrwys gael rhyw hen gyfraith Hindwaidd, neu ryw gyfraith Fahometaidd, neu gyfraith newydd Brydeinaidd i gyfiawnhau pob erchyllwaith; ond dylid rhagllaw ymestyn am iawnder i'r Hindw a'r Mahometan, yn gystal a'r Prydeinwr. Cydymgysegred holl lŷsoedd a holl swyddfeydd India i "dori ymaith eu pechodau

trwy gyfiawnder." Bydded y swyddogion yn heddychol, a'r trethwyr yn gyfiawn. Na chlywer mwy son am drais yno; ond "blagured cyfiawnder drwy yr holl dir."

2. Dylid ymroi i ymddwyn yn foneddigaidd tu ag at y brodorion. Ni byddai y gost ond ysgafn iawn i'r Saeson ymddwyn yn foesgar atynt. Ni chollid dim wrth ymddwyn yn foneddigaidd. Yr oedd y talentog Esgob Heber yn cwyno yn dost ar "surly national pride" y Sais yn cadw y brodorion allan o'i gymdeithas, ac ar ei ddull "bullying and insolent" pan yr ymostyngai i siarad â hwy. Dylai llywodraethwyr India edrych o ddifrif am i bob anfoneddigeiddrwydd felly ddarfod,—ddarfod ar unwaith—ddarfod yn llwyr, a darfod am byth. Nid all dim lles ddeilliaw mewn un modd oddiwrth anfoesgarwch ac anfoneddigeiddrwydd. Y mae yr ysgoegyn swyddol bach, balch, cul, teneu, trwyn uchel, "surly, bullying, insolent," ac ynfyd, a geir yn euog o'r fath ymddygiad yn warth i'w genedl ac i'w oes; ac yn hollol annheilwng o le ac enw yn mysg unrhyw ddosbarth o foneddigion.

3. Dylai Lloegr o hyn allan ymroi i fod yn gymwynasgar i frodorion India. Dylai gysegru amser a llafur, a chymeryd poen, a gwneud aberth hefyd, os bydd raid, er lles tymorol ac ysprydol India, er cefnogi pob gwelliantau a phob diwygiadau yno; pob gwelliantau celfyddydol ac amaethyddol, pob gwelliantau mewn gwneuthuriad peiriannau ac offer o bob math, pob gwelliantau mewn diwyllio tir, a gwneuthuriad ffyrdd, ac adeiladiad tai, a choginiaeth bwyd, a darpariad gwisgoedd, a magwriaeth anifeiliaid; ac er pleidio pob moddion addysg, a phob diwygiad cymdeithasol, ac yn enwedig er ceisio dwyn cysuron a gobeithion *Cristionogaeth* i gyrhaedd y brodorion. Nid eu trethu at gynal "eglwys sefydledig," ni byddai hyny ond ychwanegu treth trais o'r fath anghyfiawnaf at y trethi gormesol a ddirwasgwyd oddi yno yn barod; ond eu denu mewn yspryd rhyddfrydig ac addfwyn i astudio ffeithiau ac athrawiaethau yr Efengyl. Y mae nifer mawr o deuluoedd mwyaf dylanwadol Lloegr wedi cael y rhan fwyaf o'u golud-

oedd o India. Y mae dyled dyblyg, oes dyled canplyg, ar y cyfryw i ymgysegru ar unwaith i fod yn gymwynaswyr i India. Y mae yn hen bryd iddynt ddechreu "talu y pwyth" yn ofn y Duw trugarog a graslawn, yn hwn sydd Dduw eiddigus, yn ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth o'r rhai a'i casânt, ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'i carant, ac a gadwant ei orchymynion. Y ffordd, a'r unig ffordd i Loegr ddianc rhag "ymweliadau" y bygythiad, a chael gafael yn "nhrugaredd" yr addewid, ydyw cyffesu "anwiredd y tadau," ac nid ceisio ei guddio, galaru o'i herwydd, ac nid ymogoneddu ynddo, a'i gasau a'i adael, ac nid ei garu a glynu wrtho; a throi yn ffyddiog "gyda gwylder a pharchedig ofn," at yr Hwn sy'n "cadw trugaredd i filoedd o'r rhai a'i carant, ac a gadwant ei orchymynion;" i erfyn, nid yn unig am ei "drugaredd" faddeuol i guddio y pechodau y tu ol i'w gefn, ond am ei ddoniau cynorthwyol i'w galluogi i gyflawni ei rhwymedigaethau pwysig tu ag at y talaethau a oresgynodd, fel yr elo ei chyfiawnder hi allan fel dysgleirdeb, a'i hiachawdwriaeth hi fel lamp yn llosgi; ac fel y delo India eto i "anghofio y trallodau gynt," ac i "ymfendigo yn Nuw y gwirionedd," gan orfoleddu a blodeuo yn dragywydd, yn ddaear newydd, yn yr hon y bydd cyfiawnder yn cartrefu.

## Y GENEDL IUDDEWIG.

Bernir mai y bobl hynaf yn y byd, fel cenedl wedi ymgadw ar wahan oddiwrth bobloedd eraill, ydyw yr Iuddewon. Gallant olrhain eu hachau hyd Abraham, drwy gyfnewidiadau bron bedair mil o flynyddoedd. Nid oes yr un genedl yn y byd yn medru profi eu haniad mewn dull mor eglur. Y maent wedi llifo i lawr yn ffrwd gref drwy yr oesoedd, yn gyfochrog â ffrydiau cenedloedd eraill, ond heb gymysgu â hwy. Y mae yr Assyriaid a'r Babyloniaid, a'r Scythiaid, a'r Spartiaid, a'r Atheniaid, a'r Macedoniaid, a'r Rhufeiniaid, a'r Carthaginiaid wedi eu colli er ys oesoedd yn nhreiglad chwyddedig y llif; ond y mae yr Iuddewon, ar wahan oddiwrth bawb, yn llifo yn mlaen hyd heddyw. Nid yw teuluoedd hynaf barwniaid a thywysogion Europe ond megys er doe wrth eu cydmaru â hen lwythau yr Iuddewon. Pan y mae y teithydd, ar ei ffordd drwy Rufain, yn syllu ar adfeilion cof-adail buddugoliaethau Titus Vespasian yn Judea, y mae yn teimlo ei fod yn edrych ar un o weddillion enwocaf cadernid yr hen oesoedd; ond yr oedd y genedl Iuddewig wedi cyrhaedd dyddiau henaint a phenllwydni yn hir cyn codi cofadail Titus. Pan y mae y teithydd wedi hyny yn sefyll yn nghanol adfeilion Ninife, a Babylon, a Tadmor, a Susa, a phan y mae yn cloddio i'r ddaear, ac yn codi o'r tyrau llwch y meini cerf a'r ceryg nadd, y mae yn teimlo ei feddwl yn ehedeg yn mhellach fyth i flynyddoedd yr hen oesoedd; ond yr oedd yr Iuddewon yn genedl hen ac enwog cyn sylfaenu y dinasoedd hyny, a phan y mae wedi hyny yn craffu gyda syndod ar fedd-gelloedd Pyramidiau yr Aifft, y mae ei feddwl yn cymeryd ehedfa bellach fyth i faes hynafiaethau y cyn-oesoedd; ond dylai gofio fod plant Israel yn eu llawn oed, ac yn eu llawn nerth yn gwneuthur priddfeini tu ag at demlau, a phyramidiau, a "dinasoedd trysorau" tyw-

ysogion yr Aipht. Y oedd Moses yn ddeddfwr yn hir cyn dyddiau Lycurgus, a Josua yn faes-lywydd yn hir o flaen Alexander, a Solomon yn athronydd yn hir o flaen Solon. Yr oedd beirdd yr Iuddewon wedi canu llawer yn hir cyn dyddiau Homer a Virgil; ac y mae eu hanes-lyfrau yn hŷn o oesoedd na hanes-lyfrau Herodotus.

Gelwid y genedl yn yr hen oesoedd yn Hebreaid, dichon ar ol Heber un o hynafiaid Abraham, y pumed o Noah, a'r seithfed o flaen Abraham. Adnabyddid y patriarch ei hun wrth enw "Abraham yr Hebread." "Un o blant yr Hebreaid ...n," meddai merch Pharaoh am Moses bach, pan y caf...ei yn ei gawell yn wylo. "Bydwragedd i'r Hebreesau" y gelwid Siprah a Pua synwyrol a duwiol. "Duw yr Hebreaid" y gelwid yr Arglwydd gan yr Aifftiaid ac eilun addolwyr eraill. At yr "Hebreaid" yr ysgrifenodd Paul ei lythyr ardderchog ar y ddwy oruchwyliaeth, ac yr oedd yn ei arddel ei hun yn "Hebrewr o'r Hebreaid." Gelwid y genedl wedi hyny yn "Had Abraham," ac wedi hyny yn "Israeliaid" neu blant Israel, neu ddeuddeg llwyth Israel, yn ol yr enw newydd a gafodd eu tad Jacob ar ol gorchfygu yn yr ymdrech am y fendith. Gelwid hwy wedi hyny yn "Iuddewon," yn ol enw Judah, am mai llwyth Judah oedd yr enwocaf o lwythau y genedl; a gelwd hwy weithiau "Jeshurun" er dwyn i'w cof eu rhwymedigaethau i fod yn "uniawn," fel dewisedig anwyliaid y nefoedd, fel "breniniaeth o offeiriaid," ac fel "cenedl sanctaidd i Dduw." A gwir sail eu mawredd a'u henwogrwydd, a'u defnyddioldeb, a'u dedwyddwch oedd fod yr Arglwydd o'i ewyllys da, ac er ei fwyn ei hun, wedi eu dewis i fod yn bobl briodol iddo ei hun, i gadw coffadwriaeth o'i enw, ac i fynegi ei foliant, i fod yn eglwys weledig i gadw ei ordinhadau, ac i fod yn dystion trosto yn erbyn coelgrefydd ac eilunaddoliaeth.

Y mae o bwys mawr i ffurfio barn gywir am grefydd y genedl. Dichon fod llawer o'r rhagfarnau fu'n gweithio mor greulawn i'w herbyn drwy yr oesau aethant heibio, wedi tarddu yn

benaf o gam farn am eu crefydd. Dylid cofio fod ei haddysg a'i gwasanaeth o ddwyfol osodiad, ei bod yn cynwys egwyddorion mawrion cadwedigaeth enaid—fod Moses yn athraw at Grist—fod goruchwyliaeth yr Hen Destament yn borth i oruchwyliaeth y Testament Newydd—fod yr aberthau a'r poethoffrymau, a'r arogldarth, a'r aderyn byw, a'r bwch diangol, a'r drugareddfa yn gysgodau o bethau gwell yr efengyl—fod Beibl yr Iuddew yn rhan o Feibl y Cristion—fod ynddo addewidion am Had y Wraig, am y Shiloh, am y Messiah ; a chyfeiriadau lliosog at ddydd Crist, a swyddau Crist, ac at y cymmod drwy'r Iawn, a maddeuant drwy ollygiad gwaed, a chyfiawnhad drwy ffydd yn yr Aberth mawr, a'i fod yn cynwys egwyddorion sylfaenol dechreuad Cristionogaeth. Gwawr dydd yr efengyl oedd goleuni ffyddloniaid yr eglwys Iuddewig. Blaenffrwythau trefn yr iachawdwriaeth oedd eu grasau a'u cysuron. Yr oedd eu crefydd yn ogoneddus iawn yn ei holl arweddiadau. Yr oedd yn ogoneddus o ran ei gweinyddiadau. Pan roddwyd y ddeddf iddynt, cododd yr Arglwydd o Seir, ymlewyrchodd o fynydd Paran, disgynodd o'r nef mewn cerbyd o dân ar Sinai, tòdd ei ogoniant y nefoedd, parodd saethiad ei fellt i uchelderau y ddaear fygu, a rhuad ei daran i'w gorddyfnderau siglo ; ac mor ofnadwy oedd yr olwg ar y tân, a'r cwmwl, a'r tywyllwch, a'r dymestl, fel ag y dywedodd Moses, Yr wyf yn ofni ac yn crynu. Gogoneddus hefyd ydoedd holl ddodrefn a holl addurn y cysegr, yn neillduol y babell sancteiddiolaf. Yno yr oedd y crochan aur a'r manna, a gwialen Aaron a flagurasai, a llechau y cyfammod, ac arch y drugareddfa mewn amdo aur, a'r Shecina yn tanbeidio oddi rhwng cerubiaid y gogoniant, yn ei chysgodi. Hardd iawn hefyd oedd yr archoffeiriad, pan yn ei lawn wisgoedd, yn gweini ger bron yr Arglwydd, a'r mitr ar ei ben, a'r ddalen aur ar ei dalcen, a'r meini coffadwriaeth ar ei ysgwydd, a'r thuser aur yn ei law, a'r Urim a'r Thummim ar ei galon, a'r ddwyfroneg bedair-onglog o ddeuddeg maen gwerthfawr o naddiad sêl, mewn plethwaith aur, ar ei fynwes, a'r ephod o sidan glas a phorphor

ac ysgarlad am dano, a gwegys addurnedig hono o gywrain wnïadwaith, a'r clych aur, rhwng y pomgranadau sidan, wrth ei godreu fel y clywid swn ei symudiadau a'i ysgogiadau wrth wylaidd weini yn y cysegr. Tra addysgiadol ac effeithiol hefyd ydoedd holl wasanaeth y cysegr, lladdiad yr ebyrth taenelliad y gwaed, esgyniad y mwgdarth, seiniad yr udgyrn a chydgynulliad y llwythau ar y gwyliau arbenig i folianu Duw am ei rad ddaioni, ac i erfyn am barhad o'i nawdd a'i diriondeb. Yr oedd cylch eu defodau crefyddol yn ogoneddus hefyd o ran eu hamcanion, sef i ddangos fod Jehofa, er yn ogoneddus mewn sancteiddrwydd, yn barod i drugarhau—fod ei lywodraeth wedi ei sylfaenu ar ras a chyfiawnder—fod dyn yn bechadur—fod pob pechod yn haeddu marwolaeth—nad oes dim maddeuant heb Iawn drwy ollyngiad gwaed—a bod Gwaredwr enneiniedig hollddigonol i ymddangos yn nghyflawnder yr amser, i ddwyn i mewn i gyrhaedd dyn iachawdwriaeth gyflawn a thragywyddol, a hyny mewn perffaith gysondeb ag egwyddorion cyfiawnder. Ac yr oedd defodau eu crefydd yn ogoneddus o ran eu llwyddiant. Trwy bwyso ar yr addewidion a roddwyd y pryd hyny—trwy gredu y tystiolaethau a gyhoeddwyd y pryd hyny—a thrwy fucheddu yn ol yr egwyddorion a eglurwyd y pryd hyny, nerthwyd myrdd o ddeiliaid yr oruchwyliaeth hono i berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw, a thrwy rym ffydd teithiasant lwybr y bywyd wrth oleu y ser, mewn nos dywell a niwliog, ac o'r diwedd diangasant yn fuddugoliaethus trwy borth angau i dawel fro gwynfyd didranc, a hyny cyn i Dywysog eu hiachawdwriaeth gael ei berffeithio trwy ddyoddefiadau.

Diffyg andwyol y genedl Iuddewig oedd gwrthod ymdeithio yn mlaen gyda'r goleuni i gysegr sancteiddiach yr oruchwyliaeth newydd. Gwrthod symud o'r dosparth isaf i ddosparth uwch. Gwrthod myned drwodd o ysgol Moses i ysgol Crist. Gwrthod gollwng eu gafael o'r cysgodau pan oedd y sylwedd wedi ymddangos. Glynu wrth urdd Aaron pan oedd Archoffeiriad mawr urdd Melchisedec wedi ei berffeithio drwy ddy-

oddefiadau. Gwrthod anghofio y pethau o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen. Dal at yr ymadroddion dechreuol, yn lle tynu rhagddynt at berffeithrwydd. Troi yn ol at ddefodau y Lefiaid, yn lle edrych yn mlaen at yr Eiriolwr mawr sy'n gweinyddu wrth yr allor aur o flaen yr orseddfainc. Bwrw ddarfod iddynt gael gafael yn lle cyrchu at y nôd am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu. Cyndyn wrthod addysgiadau a chynygiadau Cristionogaeth trwy ddallineb a balchder eu phariseaeth. Meddwl, gan eu bod yn blant i Abraham, ac yn ddisgyblion i Moses, eu bod wedi cyrhaedd "perffeithrwydd," heb ystyried fod goruchwyliaethau trugaredd yn myned o hyd yn oleuach, ac yn gyfoethocach, ac yn fwyfwy gogoneddus, a bod pob credadyn i fyned rhagddo yn barhaus o ogoniant i ogoniant dan arweiniad ac ymgeledd Yspryd yr Arglwydd.

Bu credinwyr cryfion ac enwog yn aelodau o'r eglwys Iuddewig. Yr oedd tadau, neu batriarchiaid y genedl yn rhai tra hynod o ran eu ffydd a'u hufudd-dod: Abraham ffyddlawn, cyfaill Duw, lletywr angylion, proffwyd offeiriad a brenin ei deulu, athraw ei oes, a thad ffyddloniaid pob oes a chenedl. Isaac, mab yr addewid, anwylyd ei rieni, yr hwn a blygodd i gymeryd ei rwymo gan ei dad ar allor tir Moriah. Jacob, yr ymdrechwr buddugol gyda Duw. Judah ddoeth ei araeth. Joseph y plentyn ufudd, y brawd ffyddlawn, golygwr diwair tŷ Potiphar, dehonglwr breuddwydion Pharaoh, llywodraethwr yr Aifft, a gwaredwr y byd drwy amser saith mlynedd y newyn. Bu barnwyr enwog yn Israel: Moses yr hwn a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh, gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aifft, awdwr rhyfeddodau maes Zoan, arweinydd Israel allan o dir y caethiwed, derbynydd y ddeddf ar Sinai, esponiwr y ddeddf i'r genedl, a'r hwn yn y modd "llarciddiaf" a'u haddysgodd, ac a eiriolodd drostynt, ac a weinyddodd farn iddynt, ac awdwr yr hanesion a'r caniadau hynaf yn y byd. Josua, mab Nun, gwas Moses, a'i ddilynydd, eu harweinydd drwy'r Iorddonen, a gorchfygwr bydd-

inoedd y Canaaneaid. Caleb wrol, gadarn, ufudd, ffyddiog, cludydd y swp grawnwin o ddyffryn Escol, gorchfygwr Amalec, ac etifedd Caer Arba. Othniel mab brawd Caleb, ieuangach nag ef, yr hwn a achubodd Israel o law Cusan-risathain, ac a enillodd lonyddwch i'r wlad am ddeugain mlynedd. Ehwd hyf, gorchfygwr Eglon dew a lluoedd Moab. Samgar yr hwn a darawodd gedyrn y Philistiaid ag irai ychain. Barac, mab Abinoam, gorchfygwr lluoedd Sisera, a'i naw can' cerbyd haiarn. Gedeon, yr hwn a fwriodd i lawr allor Baal, ac a adeiladodd allor Jehofa Shalom yn ei lle, a'r hwn gyda'i dri chan' wr, a'u hudgyrn, a'u piserau, a'u lampau, a ddychrynodd i'w dinystr y Midianiaid a'r Amaleciaid ag oeddynt fel locustiaid o amldra. Jephtha darostyngwr meibion Ammon; a Samson yr hwn a lanwodd ei oes â gorchestion, a'r hwn, wrth farw, a dynodd i lawr dŷ Dagon ar benau tair mil o'i offeiriaid a'i brif addolwyr. Bu offeiriaid enwog iawn yn gweinyddu dros y genedl: Aaron, brawd Moses, a chynalydd ei freichiau, yr hwn a ddewiswyd i'r archoffeiriadaeth drwy i'w wialen flaguro a blodeuo a dwyn almonau mewn un nos pan wedi ei gosod yn mysg gwiail y llwythau eraill ger bron y dystiolaeth. Eleazer ufudd, wylaidd, mab Aaron, a'i ddilynydd yn yr offeiriadaeth. Phineas, mab Eleazer, yr hwn a gafodd "ammod offeiriadaeth dragywyddol," am iddo eiddigeddu dros ei Dduw i wneud cymmod dros Israel, ac atal y pla a dynodd eu hymgyfeillach â Baalpeor, a'u godineb gyda'r Midianiaid. Ac Eli, yr hwn er ei fod yn feiadwy iawn am feddalwch ei ddisgyblaeth fel tad ac fel offeiriad, oedd yn bryderus iawn am yr arch, a phan glybu ei bod wedi ei dal, a syrthiodd i lawr ac a dorodd ei wddf a'i galon ar unwaith. Sadoc, yr hwn oedd yn selog a gweithgar yn amser Dafydd, ac a godwyd gan Solomon i'r archoffeiriadaeth yn lle Abiathar, yr hwn a drodd yn anffyddlawn. Jehoiada, noddwr ac athraw y tywysog ieuanc Joas, yr hwn fu farw yn gan' mlwydd a deg ar hugain oed, ac a gladdwyd yn ninas Dafydd, gyda'r breninoedd; canys efe a wnelsai ddaioni yn Israel tu ag at Dduw a'i Dŷ. Secarias,

mab Jehoiada, yr hwn a laddwyd rhwng y deml a'r allor, o herwydd ei ffyddlondeb yn rhybuddio y brenin a'r bobl oblegyd eu camweddau. Hilcia, cefnogwr Josiah yn ei holl ddiwygiadau. Ezra yr ysgrifenydd cyflym, a Jesua fab Josedec, cymdeithion a chynorthwywyr Nehemiah a Zerubabel. Simon yr union, mab Onias, yr hwn a adolygodd lyfrau yr Hen Destament, ac a gyfleodd y rhai a ysgrifenasid ddiweddaf yn eu trefn bresenol; a Mattathias a'i feibion dewrwych y Maccabeaid, Judas, a Jonathan, a Simon, ac Onias, gwrthwynebwyr egniol yr eilunaddolwr creulawn Antiochus Epiphanes.

Bu gan y genedl hefyd rai breninoedd gwir enwog o ran eu ffyddlondeb i'w Duw ac i'w gwlad: Dafydd fab Jesse, y cerddor a'r bardd, torwr pen y cawr o Gath, gorchfygwr gelynion Israel ar bob llaw, y cyfranwr hael, a'r casglwr effeithiol at adeiladu y deml, ac awdwr profiadol a gwresóg y Salmau a'r Gweddiau. Solomon ei fab, sychedig am ddoethineb o'i febyd, yr astudiwr diwyd a dwfn, athraw pob cangen o athroniaeth, cefnogwr hael y celfyddydau, diwylliwr amaethyddiaeth, noddwr marsiandiaeth, cywreinydd pob addurnwaith, adeiladydd y deml, llefarydd y tair mil o ddiarebion, awdwr y mil a phump o ganiadau, esboniwr gwagedd y byd, pregethwr moesau da, carwr a meithrinwr heddwch rhwng teyrnasoedd, a derchafydd ei wlad i nod uchaf ei chyfoeth a'i gogoniant; yr hwn oedd yn llywydd o yspryd mor gyhoeddus, o ddoethineb mor ëang, o ddoniau mor amrywiaethol, o araeth mor goeth, o foes mor foneddigaidd, o gyfoeth mor fawr, ac o ddylanwad mor helaeth, fel ag yr oedd ei glod wedi myned allan ar led dros yr holl ddaear; ond llygrwyd a nychwyd ei galon yn ei hen ddyddiau gan wragedd dieithr, Aifftesau, Moabesau, Ammonesau, Edomesau, Sidonesau, Hethesau, ac yn enwedig trwy wasanaethu eu duwiau hwynt. Cafodd ei dad drallodion chwerwon yn ei deulu, ac yn ei deyrnas, oblegyd ei aml-wreicaeth; ond tynodd Solomon dduach gwarth ar ei enw, a thrymach melldith ar ei wlad drwy yr un llygredigaeth ac annhrefn. Y mae yn alaethus i feddwl fel y darfu i Solomon

ddoeth, etifedd gorsedd Dafydd, ddigio ei Dduw, ac andwyo ei ddylanwad, a gwarthruddo ei goffadwriaeth, drwy fyned ar ol Astoreth, duwies y Sidoniaid, a Chemosh, duw'r Moabiaid, a Moloch, ffieidd-dra'r Ammoniaid, a bu ei siampl yn niweidiol iawn i lawer o'i olynwyr yn y freniniaeth. Yr oedd Asa, a Jehosaphat, a Hezeciah, a Josiah, er eu gwendidau, yn freninoedd o gymeriad uchel am eu sêl yn erbyn eilunaddoliaeth, a'u hymdrech i ddiwygio y genedl, am eu hoffder o wasanaeth y deml, ac am eu hymddiried yn nhrugaredd eu Duw.

Yr oedd rhai o'r ffyddloniaid a enwyd yn broffwydi, yn gystal ag yn freninoedd; ac at res y proffwydi a'r gweledyddion gellid ychwanegu Samuel, mab gweddiau Hanna, yr hwn, ar ŵyl ei ddiddyfniad, a adawodd hi yn y cysegr i drigo yno byth: bu yn weinidog yr allor er yn fachgen, fel cynorthwywr i Eli oedranus, a bu yn ffyddlawn yn ei alwad fel athraw a cheryddwr Saul, fel eneiniwr Dafydd, fel blaenor ysgol y proffwydi, ac fel barnydd llwythau Israel. Proffwydi enwog yn amser gogoniant mwyaf Israel oeddynt Gad a Nathan. Proffwyd tra nodedig hefyd oedd Elias y Thespiad. Ceryddwr diddderbynwyneb Ahab a Jezebel; yr hwn y bu y crigfrain yn ei borthi wrth afon Cerith, ag y bu y weddw dlawd o Sarepta yn rhanu iddo o'i llonaid llaw am yspaid blwyddyn; yr hwn a gododd ei mab o farw i fyw; yr hwn a enillodd fuddugoliaeth fawr pen Carmel ar y gau-broffwydi; yr hwn yr oedd gweddi ei ffydd yn cloi ac yn dadgloi y nefoedd; yr hwn a holltodd yr Iorddonen â'i fantell, ac a dderchafwyd mewn cerbyd tanllyd i'r nefoedd. Proffwyd hynod arall oedd Eliseus, ei ddisgybl a'i ddilynydd, yr hwn a gafodd ei fantell, a deuparth o'i yspryd; yr hwn a amlhaodd olew y weddw ddyledog, a santeiddiodd dŷ y Sunamees oludog letygar, ac a gododd ei mab o farw i fyw; yr hwn a gyfarwyddodd ddinystr byddinoedd Moab, a ddyrysodd gynllwynion brenin Syria, a ragfynegodd helaethrwydd annisgwyliadwy yn Samaria, a iachaodd wahanglwyf Naaman, ac a wnaeth lawer o wyrthiau eraill. Bu i'r genedl lawer o broffwydi eraill enwog a defnydd-

iol. Y mae darnau o gyfansoddiadau, un ar bymtheg o honynt ar gôf a chadw heddyw yn yr Hen Destament: y pedwar mwyaf, Esay, Jeremi, Ezeciel a Daniel; a'r deuddeg lleiaf, Hosea, Joel, Amos, Obadia, Jona, Mica, Nahum, Habacuc, Sephania, Haggai, Secaria, a Malaci. Y mae eu proffwydoliaethau yn cynwys iaith a syniadau mwy aruchel, a mwy pur na dim ellir gasglu o gyfansoddiadau y doethion paganaidd, er fod y prif awdwyr paganaidd wedi benthyca nid ychydig o'u goleuni a'u gwres o lampau yr Iuddewon ysprydoledig. Y mae genym grybwylliadau am amryw o'r Iuddewon, megys Joseph, Daniel, y Tri Llanc, Ezra, Mordecai, Nehemia, Zerubabel, a Mordecai, yn sefyll yn ddiysgog dros gyfraith eu Duw yn wyneb y profedigaethau tanbeidiaf, a hyny pan oeddynt yn mhell o'u gwlad yn gaethion yn nhir y gelyn. Bu llawer o Iuddewon defnyddiol yn oesau cyntaf Cristionogaeth. IOAN y duwinydd, y dysgybl anwyl, yr apostol llawn o gariad, yr un oedd yn pwyso ar fynwes Iesu ar y swper; yr alltud i Patmos am dystiolaeth Iesu; yr hwn a ysgrifenodd Efengyl felus o'r hyn a welodd ac a deimlodd am air y bywyd, ac Epistolau llawn o gariad, a Datguddiad o'i weledigaethau gogoneddus. PEDR hyf, ffraeth, a selog; edifeiriol am ei ryfyg yn yr ardd, a'i wendid dilynol yn y llys; yr hwn a ymwrolodd ar ol hyny, ac a barhaodd yn ffyddlawn hyd angau. PAUL ddysgedig, disgybl Gamaliel, yr hwn pan yn ei sêl yn erlid yr eglwys, a orchfygwyd gan Iesu ar y ffordd; a'r hwn ar ol hyny a lafuriodd dros Iesu yn helaethach na neb o'i gyd-apostolion: ac a fu mewn blinderau yn helaethach, mewn gwialenodau dros fesur, mewn carcharau yn amlach, mewn marwolaethau yn fynych: gan yr Iuddewon bum waith y derbyniodd ddeugain gwialenod ond un; tair gwaith y'i curwyd â gwiail; unwaith y'i llabyddiwyd; tair gwaith y torodd llong arno, noswaith a diwrnod y bu yn y dyfnder: mewn teithiau yn fynych; yn mheryglon llifddyfroedd, yn mheryglon lladron, yn mheryglon gan ei genedl ei hun, yn mheryglon gan y cenedloedd, yn mheryglon yn y ddinas, yn mheryglon yn yr anialwch, yn mheryglon

ar y môr, yn mheryglon yn mhlith brodyr gau: mewn llafur a lludded, mewn anhunedd yn fynych, mewn newyn a syched, mewn ymprydiau yn fynych; mewn anwyd a noethni; mewn gofal a phryder dros yr holl eglwysi: yr hwn a gipiwyd i fynu i'r drydedd nef i glywed geiriau anrhaethadwy; ac a nerthwyd i efengylu yn mysg y cenedloedd anchwiliadwy olud Crist, nes iddo ennill coron merthyrdod. Dyoddefodd pob un o'r apostolion eraill ferthyrdod oblegyd ei lafur yn nheyrnas Iesu; ond nid oes amser i fanylu ar eu hanes, na hanes Stephan y diacon, a'r merthyr cyntaf; a Luc y Phisygwr anwyl, awdwr ystwyth ei efengyl ac Actau yr Apostolion; a Silas a Barnabas, cymdeithion Paul; a Nicodemus a Joseph, o Arimathea, y seneddwr cyfoethog, ymofyngar, a haelfrydig, a lluaws eraill allasid enwi. Magodd y genedl mewn oesau diweddarach lawer o athrawon dysgedig a gwladgar. Y mae Josephus, hanesydd poblog ei rhyfeloedd a'i hynafiaethau, yn haeddol o'r radd uchel a enillodd drwy ei ysgrifeniadau. Y mae amryw o'u Rabbiniaid wedi bod yn fyfyrwyr ymchwilgar a diwyd, ac wedi bod yn dra gofalus am gadwraeth Ysgrythyrau yr Hen Destament yn ddigoll ac yn ddilwgr, heb ychwanegu atynt, na thynu oddiwrthynt. Y maent wedi arfer y gofal manylaf wrth eu hysgrifenu: ac er dyogelu cywirdeb wrth eu hadysgrifenu, y maent wedi cofnodi yn niwedd pob llyfr rifedi y colofnau, a'r penodau, a'r adnodau, a'r llinellau, a'r geiriau, a'r llythyrenau a gynwysir ynddo: er engraifft, y mae Llyfr Genesis yn cynwys 43 o golofnau, 50 o benodau, 1,534 o adnodau, 4,395 o linellau, 27,713 o eiriau, a 78,100 o lythyrenau. Y mae ganddynt esboniadau helaeth ar yr Ysgrythyrau: ond y mae eu hesboniadau weithiau, fel rhai o esboniadau oesoedd diweddarach, yn llawer llai eglur na'r testyn. Gall fod llawer o draddodiadau y Talmud, ac o arall-eiriadau y Targums, a nodiadau y Masorites yn ddyddorol ac addysgiadol i'r ieithydd a'r hynafieithydd, ond dichon eu bod yn fwy o ddyryswch ac o anhawsdra, nag ydynt o gymorth i ddeall y Llyfrau Ysprydoledig yn eu symledd a'u cysondeb.

Y mae llaweroedd o ferched, a gwragedd, a mamau, wedi bod yn ddefnyddiol yn Israel. Sarah brydferth, wylaidd, letygar, ufudd, foneddigaidd, a ffyddiog, gwraig Abraham, a mam y genedl. Rebecca serchog, synwyrol, gynllungar, weithgar, ddyfalbarhaol, gwraig Isaac. Debora dyner, ofalus, mamaeth Rebecca. Lea, mam Judah. Rahel, mam Joseph. Jocebed ffyddiog a dyfeisgar, mam Moses. Miriam y broffwydes a'r gantores, chwaer Moses ac Aaron. Rahab a Ruth, y rhai, o herwydd eu ffydd a'u hymroad, a impiwyd i'r genedl. Naomi ddyoddefgar, gweddw Elimelec. Achsah merch Caleb, a gwraig Othniel. Debora gref ei chalon a'i hawen, awdures cân seraphaidd y fuddugoliaeth ar Sisera. Jael yr hon a bwyodd hoel y babell drwy arlais Sisera, mam hyderus ddirwestol Samson y Nazaread. Hanna, mam Samuel, daer ei gweddi, a chynes ei chân. Abigail bwyllog, roesawgar, fwyn ei gwen, a'i hyspryd, a'i haraeth, gweddw Nabal daeog gybyddlyd, a gwraig gyntaf Dafydd, Bathseba landeg odiaeth, mam Solomon, yr hon a ddysgodd y "broffwydoliaeth" iddo. Y wraig ddoeth o Abel-bethmaca, "un o heddychol ffyddloniaid Israel," yr hon a achubodd ei dinas rhag dialeddau Joab. Morwynig fechan, feddylgar, Naaman. Esther deg, cyfnither Mordecai, yr hon, drwy ei gweddi, a'i gwroldeb, a'i dawn, a achubodd ei chenedl rhag cynddaredd Haman. Mam ddoeth, ddianwadal, y Maccabeaid. Susanna ddiwair. Elizabeth, mam Ioan Fedyddiwr. Mair, mam yr Iesu. Mair a Martha, chwiorydd Lazarus, hoff gan yr Iesu. Mair Magdalen, yr hon a garodd yn fawr. Mair, gwraig Cleopas. Mair, mam meibion Zebedeus. Y Fair gymerodd boen i weini i Paul. Lois ac Eunice athrawaidd. Dorcas elusengar. Yr arglwyddes etholedig ag yr oedd Ioan yn ysgrifenu ati. Joanna, a Junia, a Persis, ac amryw o'r gwragedd "anwyl" eraill oeddynt "hynod yn mysg yr apostolion." Nid oes neb all byth, byth ddirnad y lles y mae gwragedd a mamau o'r cymeriadau a grybwyllwyd yn ei wneud yn eu teuluoedd ac yn eu gwlad, yn yr eglwys, ac yn y byd.

Dylid addef hefyd fod dynion nodedig o anffyddiog a llygredig, y rhai a ymgaledasant, ac a ymlygrasant dan y breintiau uchaf, wedi bod yn drygu ac yn poeni y genedl. Nadab ac Abihu, meibion Aaron, y rhai a losgwyd a thân oddiwrth yr Arglwydd, am eu rhyfyg yn offrymu tân dieithr ar ei allor. Corah, Dathan, Abiram, ac On, y rhai a lyncwyd yn fyw i uffern am eu gwrthryfel creulawn yn erbyn Moses ac Aaron; a dau gant a deg a deugain eraill, o "wyr enwog, penaethiaid y gynulleidfa, pendefigion y gymanfa," y rhai a ddifawyd gan dân am gefnogi gwrthryfel Corah. Achan yr hwn a guddiodd y diofryd beth yn nghanol ei babell. Hophni a Phinees, meibion Eli, a "meibion Belial," y rhai drwy eu trais a'u llygredigaethau yn ngwasanaeth yr allor, a barasant i'r gynulleidfa ffieiddio offrwm yr Arglwydd. Amnon, cyntaf-anedig Dafydd, treisiwr creulawn ei unig chwaer Thamar. Absalom ac Adonia, meibion Dafydd, y rhai drwy wên deg a gweniaith, a thrwy agweddau rhith-foneddigaidd eu cyrff hardd-deg, a hudasant laweroedd o Israel i'w cefnogi yn eu bradwriaeth yn erbyn eu tad, er dwyn awdurdod ei goron oddiarno. Simei a Seba, y rhai yn nghreulondeb eu gwrthryfelgarwch a felldithiasant Dafydd â melldith dost. Jeroboam mab Nebat, rhwygwr llwythau Israel; gwneuthurwr y ddau lo aur, a'r hwn a wnaeth i Israel bechu. Ac yr oedd pob un o'i ganlynwyr yn y freniniaeth ar ddeg llwyth yr encilwyr, bob un heb eithriad, a hyny er pob rhybydd, a phob cynghor, a phob cerydd, yn rhodio yn ffordd Jeroboam, ac yn hudo a dyrysu y deg llwyth ysgaredig i ymgaledu waeth waeth yn erbyn Duw eu tadau. Yr oedd Ahab, a rhai eraill o honynt, yn waeth, od oedd modd, na Jeroboam ei hun; a darfu i Ahaz, a Manassee ac Amon, ac amryw eraill o freninoedd Judah, rodio yn ffyrdd breninoedd Israel; ac ymhyfhau i ddigio Duw Dafydd eu tad, er byw o honynt yn ei ddinas sanctaidd, a than gysgod porth ei deml. Iuddew oedd Herod Fawr llofrudd barbaraidd plant Bethlehem; llofrudd ei wraig Mariamme a'i ddau fab; a llofrudd nifer mawr o aelodau y Sanhedrim ac o benaethiaid eraill

y genedl. Iuddew oedd y "Cadnaw hwnw" Herod Antipas, hudwr Herodias ei nith, gwraig ei frawd; llofrudd Ioan fedyddiwr trwy lid a dichell ei butain Herodias; a'r hwn a aeth yn gyfaill i Pilat ar adeg y cydfwriad yn erbyn Iesu. Iuddew oedd y coegfalch Herod Agrippa, yr hwn a laddodd Iago, brawd Ioan, ac a draddododd Pedr i garchar, gan fwriadu ei ddwyn allan i'w ferthyru "ar ol y Pasg;" a'r hwn a laddodd y pedwar pedwariaid o filwyr eisiau iddynt hwy fedru lladd yr angel a waredodd Pedr. Iuddewon oeddynt yr Herodianiaid, y rhai a addolent deulu-Herod fel tywysogion eneiniedig y nefoedd. Iuddewon oeddynt yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid y rhai a gynllwynent yn barhaus i geisio rhwydo Iesu yn ei ymadrodd, er cael achlysur i'w draddodi i farwolaeth, yn ol rhyw "gyfraith" Iuddewig, neu Rufeinig. Iuddewon oeddynt Annas a Caiphas, a swyddwyr eu chwil-lŷs. Iuddewon oeddynt y Sanhedrim fawr a roddasant bleidlais eu cyngor yn erbyn yr Iesu. Iuddew oedd Judas Iscariot y bradychwr. O eneuau Iuddewon y daeth y bloeddiau creulawn, "Ymaith ag Ef." "Croeshoelia Ef." "Bydded ei waed Ef arnom ni, ac ar ein plant." Iuddewon oeddynt y gau-gristiau a'r gau-broffwydi a dwyllasant, ac a rwydasant, ac a rwygasant y genedl i'w dinystr yn amser gwallgofrwydd eu cynddaredd yn erbyn Titus Vespasian a'i filwyr; pan y bu, yn ol rhagfynegiad Crist, orthrymder y fath na buasai cyn hyny o ddechreu y byd. Nid ellir dim gwybod pa faint o ddrwg ddarfu i ddynion fel y rhai a enwyd wneud i'w gwlad a'u cenedl, i'w hoes ac i'r oesau dilynol; ac ni cheir dim gwybod hyny, nes y cesglir pawb ger bron y frawdle fawr, pan y bydd y Barnydd anfeidrol ddoeth yn esbonio i ddynion ac angylion yn ngoleuni y dydd mawr, wahanol gysylltiadau cymdeithas, a dylanwad siampl ar y gwahanol gysylltiadau hyny; a phan y bydd yn dangos cymeriad pob dyn yn ei liw priodol, ac yn talu hefyd i bob dyn yn ol ei weithredoedd.

Y mae cyfeiriadau mynych iawn yn cael eu gwneud at WLAD y genedl; ac y mae yn ddifyr i'r meddwl astudio nodweddau

hen wlad mor enwog. Adnabyddir hi wrth wahanol enwau: "Gwlad yr addewid," am fod Duw wedi ei haddaw i'r genedl drwy gyfammod â'u tadau. "Gwlad Canaan," am fod hiliogaeth Canaan wedi bod yn preswylio rhanau o honi. "Palestina," am fod y Philistiaid wedi bod yn gryfion ynddi. "Gwlad yr Hebreaid," "Gwlad Israel," "Gwlad Judea," yn ol enwau y genedl. "Tir Jehofah," am fod llygad yr Arglwydd arno. A'r "Tir Sanctaidd," am ei fod yn faes gweinidogaeth y Gwaredwr. Yno y ganwyd Iesu. Yno y cyflawnodd ei wyrthiau. Yno y pregethodd ei efengyl. Yno y rhoddes ei hun drosom. Yno y gwnaeth ei fedd. Yno yr adgyfododd, ac oddiyno yr esgynodd i'w ogoniant.

Y mae'r wlad yn gorwedd ar dalcen Dwyreiniol Môr y Canoldir, neu ei gwr pellaf o Loegr ac America. Y mae lleoedd a fuont yn enwog yn ymyl â'r Môr hwnw. Gwlad Canaan, fel y nodwyd, ar ei gwr pellaf. Culfor Erewlff, neu Gibraltar, a Tarshish ar Oror Spaen, ar ei dalcen gorllewinol, neu y pen agosaf yma. Tiroedd Gaul, a Rhufain, a Groeg, ac Asia leiaf ar ei ymyl gogleddol. A gwlad yr Aifft a Carthage a chyrau ffrwythlawn eraill o ogledd-dir Affrica, ar ei ymyl Deheuol. Yn y môr enwog hwnw, a elwid gynt "y Môr Mawr" a'r "Môr Eithaf," a "Môr y Philistiaid," a "Môr Tarshish," ond a elwir yn awr "Môr y Canoldir," y mae ynysoedd hyfryd Majorca, Minorca, Corsica, Sardinia, Sicily, Malta, Candia, Elba, Ischia, Capri, Lemnos, Lesbos, Scio, Samos, Kos, Rhodes, Corfu, Paxo, Ithaca, Cephalonia, Zante, Cerigo, ac ynysoedd Ionia, a Lipari, ac amryw eraill; a'r ynysoedd hyny oll, a holl borthladdoedd y "Môr Mawr" hwnw, yn hawdd eu cyrhaedd o borthladdoedd gwlad Canaan.

Byddwn yn rhyfeddu weithiau i wlad mor fechan fod yn faes i gyflawniadau mor bwysfawr, ac yn gylch i gymaint o hanesyddiaeth. Nid yw y wlad i gyd oll ddim cwarter cymaint ag un o Dalaethau helaethaf America. Nid yw y wlad i gyd oll, hen wlad yr Edomiaid, a'r Amaleciaid, a'r Philistiaid, a'r Hethiaid; hen wlad y Canaaneaid, a'r Girgasiaid, a'r Perez-

iaid, a'r Hefiaid, a'r Jebusiaid; hen wlad yr Hariaid, a'r Amoriaid, a'r Moabiaid, a'r Ammoniaid; hen wlad y Cewri, meibion Anac, a'r Emiaid, a'r Suziaid, a'r Cadmoniaid, a'r Rephaimiaid, a'r Zamzumiaid; hen wlad breniniaethau cyfoethog a galluog Judah ac Israel; hen wlad y rhan fwyaf o hanesion y Beibl, nid yw yr hen wlad hono i gyd oll, o gwr i gwr, ddim cwarter cymaint ag un o Dalaethau helaethaf America. Nid yw ddim ond rhyw ddau can' milldir o hyd, wrth lawer llai na chan' milldir o led. Nid yw ei holl arwyneb ond deuddeg mil a chwe' chan milldir ysgwar. Nid yw ond gwlad fechan, ond y mae mewn sefyllfa fanteisiol am drafnidiaeth, drwy fod porthladdoedd Sidon, a Tyre, a Sarepta, ac Achsib, ac Acre, a Cesarea, a Joppa, ac Ascalon, wrth ei hystlys orllewinol; a hen wledydd Mesopotamia, ac Assyria, a Babylon, a Phersia, wrth ei chefn tua'r Dwyrain; ac Arabia, a'r Aipht, ac Ethiopia, a Carthage, yr ochr Ddeheuol iddi; a dinasoedd enwog Asia leiaf yr ochr Ogleddol iddi. Yr oedd ganddi gyfleusderau lliosog a gwerthfawr i gyfathrach a'i chymydogion.

Yr oedd yn boblog iawn yn amseroedd ei llwyddiant. Bernir fod gan Jehosaphat, brenin Judah, fyddin o dros bymtheg can' mil o wyr. Pe tybiem fod gan freninoedd y deg llwyth fyddin felly, byddai hyny yn dair mil o filoedd o filwyr arfog; a rhoddai hyny sail i ni gasglu fod poblogaeth y wlad oll yn mhell dros ddeng mil o filoedd. Y mae'n amlwg ei bod yn wlad nodedig o ffrwythlawn pan yn cynal y fath nifer o breswylwyr. "Mynydd-dir a dyffryn-dir ydoedd, yn yfed dwfr o wlaw y nefoedd." "Tir ag yr oedd yr Arglwydd a'i lygaid arno o ddechreu y flwyddyn hyd ddiwedd y flwyddyn i'w ymgeleddu." Ond oblegyd trais a difrod rhyfeloedd y mae yr hen wlad enwog wedi cael cymaint o wall-ymgeledd ac o gamdriniaeth, drwy bron holl oesoedd Cristionogaeth, fel nad yw ddim yn agos mor ffrwythlawn ag oedd yn amser Dafydd, a Solomon, a Jehosaphat; ond y mae y porfeydd yno eto yn dra ffrwythlawn, a dyferiad y deiliau mêl yn agenau y creigiau mor gyffredin, fel y gellir dweyd ei bod, hyd yn nod yn awr, "yn llifeirio o laeth

a mêl." Yr oedd yn wlad ŷd, a gwin, ac olew; yn rhoddi cyflawnder o'r ŷd goreu, ac o win y winwydden oreu, ac o olew yr olewydden oreu. Ceir yno hefyd ffigys, ac afalau, a phomgranadau, a phob rhyw ffrwythau.

Prif afon y wlad ydyw yr Iorddonen, yn tarddu o odrau Libanus, yn y Gogledd, ac yn llifo i lawr tua'r De drwy ganol y wlad, drwy Lyn, Merom, a Môr Galilea, i'r Môr Marw: a bernir ei bod cyn amser dinystr dinasoedd y gwastadedd, yn llifo drwy ddyffryn Sidim, i'r gainc ddwyreiniol o'r Môr Coch. Y mae yno afonydd a ffrydiau eraill yn llifo rhwng y bryniau, a thrwy y dyffrynoedd,—rhai o honynt megys Arnon, Jaboc, Cherith, a'r Kedron yn llifo i'r Iorddonen; ac eraill, megys Cison, Cana, Gaash, Bezor, Sorek, ac afon yr Aifft yn llifo i Fôr y Canoldir.

Byddai taith drwy wlad Canaan i weled lleoedd fuont mor enwog yn yr hen oesoedd, yn ddyddorol iawn i feddwl cyfarwydd â hanesyddiaeth, a hoff o hynafiaethau. Y mae y wlad yn rhanedig i dair Talaeth—Judea yn y De, Galilea yn y Gogledd, a Samaria yn y canol, rhwyngddynt. Ond pan grybwyllir am y wlad oll, o'r naill gwr i'r llall, dywedir, "O Dan i Beersheba;" am fod Dan yn nghwr eithaf y Gogledd, a Beersheba yn nghwr eithaf y De. Cymered ein meddwl daith yn awr am bum' munud drwy'r wlad, gan gychwyn yn ei chwr isaf yn y De, a myned ar hyd ei chanol i fyny i'w chwr uchaf yn y Gogledd. Y cwr isaf, neu y mwyaf deheuol, fel y nodwyd, ydyw anialwch Beersheba. Yno y bu Hagar a'i mab Ismael yn crwydro mewn lludded a syched wedi darfod y dwfr yn y gostrel. Yno y bwriodd hi y bachgen dan un o'r gwŷdd, gan dynu oddiwrtho megys ergyd bwa, am nad allai edrych arno yn marw; ac yno y bu yn wylo nes daeth yr angel i'w chysuro. Yn Beersheba y mae ffynon y llŵ a gloddiodd Abraham, a'r llŵyn a blanodd yn arwydd ei gyfamod ag Abimelec. Yno yr hoffai ledu ei babell, a chodi allor, ac addysgu ei deulu. Yno y bu Isaac a Rebecca yn preswylio ac yn aberthu. Oddiyno yr aeth Jacob allan i'w daith tua Haran; ac yno y bu yn

aberthu wrth gychwyn yn ei gerbyd godidog tua'r Aifft, i weled ei fab Joseph. Tuag ugain milldir i'r Gogledd o Beersheba, a thua haner y ffordd oddiyno i Jerusalem, y mae Hebron, neu Gaer-Arba, yn mynydd-dir Judea, ar wastadedd Mamre. Yno yr oedd derwen gysgodfawr Abraham; yno y derbyniodd angylion i'w dŷ; ac yno y mae ogof maes Macpela lle y claddwyd Abraham a Sarah, ac Isaac a Rebecca, a Jacob a Lea. Yn agos i Hebron y mae Dyffryn Escol, lle y cafodd Caleb a Josua y swp mawr grawnwin addfed, a ddygasant, ar drosol rhwng dau, at Moses i Cades. Rhyw bum' milldir i'r Dwyrain o Hebron y mae coed Ziph ac anialwch Maon, lle y bu Dafydd yn ymguddio rhag Saul; ac ychydig i'r Gogledd o Hebron y mae ogof Adulam, lle y bu yn ymguddio rhag Achis brenin Gath. Yn agos yno yr oedd dyffryn Elah lle y lladdodd y cawr Goliah â'r gareg o'i ffon dafl. Ar y ffordd o Hebron, o fewn chwe' milldir i Jerusalem, y mae Bethlehem Ephrata, dinas Naomi a Ruth, a Boaz a Dafydd,—y ddinas fechan lle y ganwyd Tywysog y Bywyd. O fewn milldir i Bethlehem y mae bedd Rahel, lle y bu farw ar ei thaith ar enedigaeth Benjamin. Yn agos yno y mae y llynau a wnaeth Solomon i ddyfrhau ei erddi a'i berllanau. I'r Gorllewin o Hebron, ar y gwastadedd, gyda glan y môr, yr oedd gwlad y Philistiaid; a phum' dinas eu harglwyddi: Asdod, lle y dygwyd yr arch ar ol ei dal yn amser meibion Eli, a lle y torodd Dagon ei ben wrth syrthio ar y trothwy o flaen yr arch. A Gath, dinas y cawr Goliah, lle yr anfonwyd yr arch o Asdod, pan y tarawyd gŵyr y ddwy ddinas â chlwyf y marchogion. Ac Ascalon porthladd y Philistiaid, ac erys yno hyd heddyw adfeilion ei gaerau. Ac Ecron prif ddinas y Philistiaid, lle y dechreuwyd y waedd am anfon yr arch tuag adref. A Gaza gref, gaerog, freninol, lle y bu Samson yn cyflawni rhai o'i orchestion. Cariodd ddrysau pyrth Gaza, y ddau bost a'r bar, ar ei ysgwyddau, i ben y bryn gyferbyn â Hebron: yn Gaza y bu mewn gefynau pres yn malu yn y carchardŷ; ac yn Gaza, wrth farw, yn nydd cymanfa yr aberth mawr diolch i Dagon

am ei ddal, y tynodd i lawr Dŷ Dagon am ei ben, ac am benau tair mil o'i brif addolwyr. Bu Gaza unwaith yn gaer mor gadarn fel y bu Alexander a'i fyddinoedd am ddau fis yn methu ei chymeryd: ond, mae gogoniant dinasoedd cewri Philistia wedi hen ymadael. Ryw ugain milldir i'r Dwyrain o Hebron yr oedd gwastadedd isel gwelltog Sidim, lle yr oedd Sodom a Gomora yn llawn trais a llygredd. Ar y bryniau uchel rhwng Hebron a'r gwastadedd, pan wedi myned i hebrwng yr angylylion, yr oedd Abraham yn sefyll i eiriol dros Sodom. I'r gwastadedd dyfradwy hwnw, ag oedd y pryd hyny fel tir y Nile, ac fel "gardd yr Arglwydd," y trôdd Lot pan yn ymneillduo oddiwrth Abraham. Yno, yn y lle llygredig hwnw, y bydolwyd calon ei wraig. Yno y llygrwyd serchiadau ei ddwy ferch. Yno y poenwyd ei enaid cyfiawn. Yno yr anrheithiwyd ei holl gyfoeth yn amser rhyfel y pedwar brenin yn erbyn y pump. Adferodd Abraham iddo y golled hono, drwy orchfygu yr anrheithwyr; ond cafodd yno ail golled anadferadwy o'i holl olud yn amser dinystr y fangre hono. Yn lle y gwastadedd hwnw y mae y "Môr Marw," a elwir weithiau y "Môr Heli," a "Môr Lot," a "Môr Sodom." Y mae y môr hwnw a llawer o ddyffryn yr Iorddonen yn îs o dros fil o droedfeddi na Môr y Canoldir. Ychydig i'r dwyrain o'r Môr Marw y mae mynyddoedd Abarim; ac i ben Nebo, y copa uchaf o fynydd Pisgah, yn y pen gogleddol o fynyddoedd Abarim, bron ar gyfer Jerico, y dringodd Moses i weled cyrau y wlad, ac i farw; ac oddiyno yr esgynodd o gyraedd ei ofalon i "wlad well" na Chanaan. Ond gogoniant penaf hen wlad Judea oedd Jerusalem, Dinas Dafydd, Dinas y Brenin Mawr, y Ddinas Sanctaidd, mewn parth cyfleus o'r wlad, wedi ei hadeiladu ar fynyddoedd dwy fil a haner o droedfeddi o uchder. Yn y rhan ddeheuol o'r ddinas, ar fynydd Sion, yr oedd Palas Dafydd, a bedd Dafydd, a phalas Herod mewn oesoedd diweddarach. Yn y rhan ddwyreiniol, ar fynydd Moria, yr oedd y deml; ac amddiffynfa Milo rhyngddynt. Yn uwch i'r gogledd ar fryn Acre y mae palas Elen y Gymraes, merch Coel, a

mam Cystenyn Fawr. Yn uwch eilwaith i'r gogledd y mae beddau y breninoedd. Ar derfyn gorllewinol y ddinas y mae Bryn y Groes, a gardd y bedd sanctaidd. Gydag ochr dwyreiniol y ddinas y llifa afon Kedron drwy ddyffryn Jehosaphat; a llifa pistill Gihon yr ochr arall iddi trwy ddyffryn mab Hinnom. Y ochr uchaf i Moria y mae llyn Bethesda, ac islaw y ddinas y mae llyn Siloam, a llyn uchaf a llyn isaf Gihon o du'r gorllewin iddi. Ar gyfer y Deml, y tu dwyrain i'r ddinas, a thros afon Kedron, y mae Gardd Gethsemane a'i hen olewydd cysgodfawr, yn union wrth odrau mynydd yr Olewydd: o ben y mynydd iachus enwog hwnw y ceir rhai o'r golygfeydd anwylaf yn y byd. Trwy gwr y mynydd hwnw y mae y ffordd i Bethany, tref Mair, a Martha, a Lazarus. Yr ochr arall i'r ddinas y mae y ffordd i Emmaus. Ychydig i'r gogledd-ddwyrain o Jerusalem y mae Gilgal, lle y gwersyllodd Israel gyntaf ar ol croesi yr Iorddonen, a lle y codasant y deuddeg maen coffadwriaeth; lle y cynaliasant y Pasg, ac y bwytasant o hen ŷd y wlad, ac y peidiodd y manna. Yn ymyl yno y mae Jerico, dinas Rahab, Dinas y Caerau Cedyrn a syrthiodd wrth floedd yr adswn i swn hirllaes y cyrn hyrddod. Ar gyfer yno y tu hwnt i'r afon y mae rhosydd Moab, lle y gwersyllasant olaf cyn croesi yr Iorddonen. Yn ogleddol i Jerusalem, ac yn agos i'r ffordd yr eir tua Samaria, y mae Rama lle y clybuwyd llef Rahel yn wylo am ei phlant oeddid wedi ladd gan y Caldeaid; ac yn agos yno y mae Gibeon lle y safodd yr haul, a Dyffryn Ajalon, lle y safodd y lleuad yn ol gweddi Josua. Yn ogleddol i hyny y mae Bethel lle y cafodd Jacob ei weledigaeth, ac yr addunodd ei adduned, ac yr eneiniodd ei golofn wrth gychwyn oddicartref, a lle y cafodd yr ail weledigaeth ar ei ddychweliad. Tua phymtheg milldir ar hugain o Jerusalem i'r Gorllewin y mae Joppa, un o'r porthladdoedd hynaf yn y byd. I Joppa yr oedd Hiram yn anfon y cludeiriau coed tu ag at adeiladu y deml I Joppa hefyd, yn amser Ezra, yr oeddid yn cludo coed o Libanus tu ag at adgyweirio Jerusalem.* Yn Joppa y cymerodd Jona long i ffoi o wydd yr Ar-

glwydd. Yn Joppa yr adferwyd Dorcas ddiwyd ac elusengar i fywyd drwy weddi Pedr. Angorfa wael sydd yno, ond yr oedd yn gyfleus i Solomon, am ei fod yn agosaf i Jerusalem. Yn uwch i'r gogledd, o fewn talaeth Samaria, y mae Shiloh, lle yr oedd pabell y cyfarfod hyd amser Eli; a Sychar, neu Shecem, lle y mae ffynon Jacob, rhwng mynydd Ebal a mynydd Gerizim; a dinas Samaria lle y bu Elias ac Eliseus yn llefaru amryw o'u proffwydoliaethau, ac yn cyflawni amryw o'u gweithredoedd, dinas freninol y deg llwyth, yn nghanol y wlad, ar fryn, mewn lle hyfryd. Gerllaw yno y mae porfeydd Dothan, lle y gwerthwyd Joseph gan ei frodyr; a mynydd Gilboa lle y lladdwyd Saul a'i feibion: ac yn y parth gorllewinol o dalaeth Samaria, yn ymestyn gydâ glan y môr am bron dri ugain milldir, y mae Dyffryn Saron, fu gynt mor enwog am ei borfeydd, a'i rosynau, a'i lili, a'i berllanau; ac yn ei gwr uchaf, ar fin y môr, y mae Cesarea, dinas gyfoethog Herod Fawr, lle y bu Philyp yn efengylu, lle y bu Pedr yn pregethu gyntaf i'r cenedloedd yn nhŷ Cornelius, a lle bu Paul yn ei amddiffyn ei hun ger bron Ffelix. Y mae hen balasau godidog Cesarea yn awr yn garneddau o adfeilion. Yn Galilea, y dalaeth uchaf o'r wlad, y mae Nain lle y codwyd unig fab y weddw o farw i fyw; a Sunem dinas y foneddiges oludog letygar fu yn croesawu Eliseus, a Tabor mynydd y gweddnewidiad, ac Endor tref y ddewines, a Nazareth cartref mebyd Iesu, a Cana lle ei wyrth gyntaf, a Magdala tref Magdalen, a Bethsaida dinas Pedr, ac Andreas, a Philyp, a Tiberias, Chapernaum, a Chorazin, a thir Gennesareth lle y cyflawnodd Iesu ran fawr o'i weinidogaeth, a'r hen lyn enwog y bu yn morio arno, ac yn rhodio arno, ac yn tawelu ei donnau. Yn Galilea hefyd, yn ymestyn bron o'r Iorddonen at y môr, y mae y "Dyffryn Mawr," a elwid hefyd dyffryn Jezreel, a dyffryn Megido, a gwastadedd Esdraelon, a maes Armageddon, a hen afon Cison yn llifo drwyddo. Yn y dyffryn hwnw y bu Barac yn ymladd â Sisera, yno y bu y cwn yn bwyta corff Jezebel gerllaw gwinllan Naboth, yno y bu y cwn yn llyfu gwaed Ahab yn y fan y llof-

iwyd Naboth, ac yno y lladdwyd Josiah gan saethyddion in yr Aifft, am iddo fyned i ryfel afreidiol ac anghyfreithı. Yn ngwaelod y "Dyffryn Mawr" hwnw y mae Myn-Carmel, a'i dalcen hardd uwch ben y môr. Ar ben y ydd hwnw y bu proffwydi Baal yn gweddio, ac yn llamu o h eu bustach, o'r bore hyd amser yr hwyr-offrwm, ác yn ›ri eu hunain â chyllill ac ag ellynod, ond heb neb i'w b; ac yno y bu Elias yn gweddio wrth yr allor pan y ıiodd tân oddiwrth yr Arglwydd i ysu ei aberth, a'r coed eryg, a'r llwch, ac i leibio y dwfr oedd yn y ffos, nes i'r holl waeddi, "Yr Arglwydd, efe sydd Dduw," ac yno y dall y gau-broffwydi, ac wrth odrau y mynydd y lladdwyd nt ar lan afon Cison. Ar ben Carmel y bu Elias, a'i eb rhwng ei liniau yn gweddio am wlaw, nes i'r cwmwl ıan fel cledr llaw gwr dderchafu o'r môr, yn argoel iddo y "gwlaw mawr" yn ymyl. Ar lan y môr, ychydig i'r edd o Carmel, y mae Acre, hen ddinas gref gaerog, a safruthrau llawer gwarchae tost yn yr hen oesoedd. Methyr hen Bonaparte a chymeryd Acre er gwarchae y lle am ddau fis. Bu pregethu yn fore yno gan Paul ac amryw yd-apostolion. Yn uwch i fyny ar lan Môr y Canoldir y Tyre, yr hon oedd yn "ddinas gadarn" yn amser Josua, r oedd yn "gadarn" iawn. Bu Shalmanezer yn gwarchae am bum' mlynedd, ond gwrthsafodd holl rym a doethineb a 'der byddinoedd Assyria. Bu Nebuchodonosor yn ei gwarı am dair blynedd ar ddeg cyn gallu ei chymeryd. Gorfu əxander wneud ffordd drwy ran o'r môr cyn gallu ei darng. Y mae yn awr er ys oesoedd, yn ol geiriau y prodi, yn garneddau o adfeilion. Bum' milldir ar hugain i'r edd o Tyre, ar lan y môr, wrth droed gorllewinol Libanus, gwaelod dyffryn cul, y mae hen ddinas Sidon a elwid lon Fawr" cyn amser Josua. Yr oedd yn hŷn na Tyre, ;yd gelwir Tyre yn "ferch" Sidon, yr hyn a arwydda mai o Sidon a sefydlasant Tyre. Oddeutu canol y ffordd ıg y ddwy y mae adfeilion Caersa ag oedd dichon yn hŷn

nag yr un o'r ddwy. Bu y ddwy ddinas yn fawr iawn eu cyfoeth, yn hynod am eu tegwch, ac yn uchel iawn eu henwogrwydd. Yr oeddynt yn rhandir Aser, ond ni chawsant erioed eu henill gan feibion Israel. Ceir darluniad ardderchog iawn o "farchnadyddiaeth" Tyre yn y seithfed benod ar hugain o broffwydoliaethau Ezeciel. Y tu hwnt i'r Iorddonen, ar gyfer canol y wlad, y mae Mynydd Gilead, mynydd y balm a'r perlysiau; ac yn uwch i'r gogledd y mae Mynydd Bashan, mynydd cribog y derw mawrion, mynydd y gwrdd-deirw cryfion, a'r hyrddod breision. Yr oedd y wlad oddeutu Gilead a Bashan yn nodedig am ffrwythlondeb y porfeydd, ac am liosowgrwydd anifeiliaid o'r rhywogaethau goreu: a rhwng Gilead a Bashan yr oedd Mahanaim lle y cyfarfu Jacob ag angylion Duw, a Penuel lle y bu yn ymdrechu â'r angel mawr am y fendith. Ar derfyn gogleddol y wlad yr oedd Mynydd Lebanon, yn ddwy res, a elwir weithiau Libanus ac Antilibanus, a dyffryn godidog rhyngddynt, ac yr oedd copa uchaf y mynydd, sef pen Hermon, yr uchaf yn y wlad, yn ddeng mil o droedfeddi o uchder. Yr oedd Libanus yn enwog am yr eira oesol gwyn oedd ar ei ben, am y cedrwydd cedyrn oesol oeddynt yn addurno ei lethrau, ac am y gerddi a'r gwinllanoedd, a'r olewydd lanau oeddynt o gylch ei odrau yn ei harddu a'i gyfoethogi. Yr oedd gan Solomon dŷ haf ardderchog yn nghoedwig Libanus, yn gan' cyfudd ei hyd ac yn ddeg cyfudd a deugain ei led, ac yn ddeg cyfudd ar hugain ei uchder, ar bedair rhes o golofnau cedrwydd, a thrawstiau cedrwydd ar y colofnau, yn dri uchder, a thair rhes o ffenestri o bob tu, goleu ar gyfer goleu; ac yn nhy coedwig Libanus y rhoddes Solomon ei dariannau aur, a'i fwcledi aur, ac yr oedd holl lestri y tŷ o aur pur. Ystyrir pentrefydd ochrau a godrau Libanus fel y rhai iachusaf a hyfrydaf o holl breswylfeydd y wlad.

Yr ydym yn awr wedi rhoddi tro byr drwy hen wlad Israel, ac wedi cymeryd cip-olwg ar y rhan fwyaf o'i rhandiroedd. Yr oedd rhyw enwogrwydd yn perthynu, nid yn unig i bob un o'i thalaethau a'i dinasoedd caerog, ond i bob bryn a dyffryn a

dol, a phob maes a gardd a gwinllan, a phob ffynon ac afon a llyn, a phob ogof a chraig a choedwig; mewn gair, yr oedd yn llawn o bob rhyw ragoriaethau cysylltiedig â hinsawdd iachus, golygfeydd hyfryd, tir ffrwythlawn, defnyddiau adeiladu, cyfleusderau marchnadaeth, ac amrywiaeth adnoddau; ac yr oedd nid yn unig yn oludog o bethau goreu natur, ond yr oedd yn gyfoethog drwyddi o'r adgofion mwyaf cynhyrfus ac effeithiol.

Iaith y genedl ydyw yr Hebraeg—un o'r ieithoedd hynaf, os nid *yr* hynaf yn y byd. Dichon nad yw ddim yn cael ei siarad gan y genedl yn awr mor bur ac mor ystwyth ag yr oeddid yn ei siarad gan eu tadau, yn yr hen oesoedd, eto y maent wedi cadw ati ac ymlynu wrthi yn rhyfeddol drwy eu holl grwydriadau a'u cyfnewidiadau; ac y mae eu Rabbiniaid, os nid corff y genedl, yn medru ei deall fel yr oedd yn cael ei harfer yn amser Moses, ac yn amser Heber, ac y mae yn debyg y caiff ei chadw bellach, mewn llyfrau o leiaf, hyd ddiwedd amser. Os daw y byd oll i'r un iaith, fel ag y bu cyn dyddiau Twr Babel, byddwn i yn foddlon i'r iaith hono gael y dydd, yr hon a enillai yr enwogrwydd hyny drwy ei defnyddioldeb i achos celfyddyd a masnach, a dysgeidiaeth a chrefydd; a byddwn yn foddlon i'r hen iaith Hebraeg, a hen ieithoedd anwyl eraill, er mwyn yr enill cyffredinol, gael eu gosod yn barchus o'r neilldu, ar astell sychaf a gloywaf y llyfrgell, ac ar fwrdd y gramadegwr dysgedig, i fod wrth law ac at yr alwad i wasanaethu achos beirniadaeth.

Byddai yn waeth nag afreidiol i mi gynyg manylu ar hen hanes y genedl, gan fod cyfeiriadau y Beibl at eu helyntion gynt mor liosog, ac mor adnabyddus, ac mor effeithiol. Gellid crybwyll—fod eu breintiau yn oruchel—fod eu beiau yn waeddfawr—a bod eu cospedigaethau yn drymion. Yn mysg eu breintiau gellir nodi—graslonrwydd cyfammod Duw â'u tadau—eu dewisiad i fod yn genedl iddo—ei farnau ar eu gorthrymwyr—ei nodded a'i ddarpariaeth iddynt ar eu holl deithiau rhyfedd—rhoddiad ei gyfraith iddynt ar Sinai—sefydliad ei

babell yn eu mysg—rhoddi ei bresenoldeb ar y drugareddfa
eu planu yn ngwlad yr addewid—codi iddynt broffwydi ffy
lawn i'w dysgu—maddeu iddynt eu camweddau ddengwaith
thriugain seithwaith—a'u breintio â gweinidogaeth ei an
Fab. Yn mysg eu beiau gellid nodi—eu hanghof mynych
dosturiaethau yr Arglwydd—eu hesgeulusdra o ordinhadau
gysegr—eu gwrthryfel creulawn yn erbyn ei broffwydi—
hymgysylltiad beunyddiol ag eilunod—eu cyneuau parhaus
eu mysg eu hunain—eu hymraniadau i fod yn sectau crefyd
o yspryd erlidgar—eu phariseaeth yn gwrthwynebu pob g
euni a diwygiad—a'u cynddaredd yn lladd Tywysog y byw
Yr oedd gan yr Arglwydd wahanol ffyrdd i'w cospi—dr
newyn—drwy haint—drwy y cleddyf—drwy orthrymde
gelyn yn nhiroedd eu caethiwed—drwy ysprydion drwg-
thrwy guddio ei wyneb a throi ei ddyddanwch oddiwrthy
Nid oes modd darlunio y pethau hyn mewn dull mor gynw
fawr ac effeithiol ag y gwneir gan eu beirdd ysprydoledig
hunain. Rhoddwn ger bron ychydig ddyfyniadau o'u gwai
gan eu bod mor ddarluniadol o ymgeledd Rhagluniaeth, o
meriad y genedl, o awen gref eu beirdd, ac o deithi eu h
iaith ardderchog. Nid oes dim o'r fath farddoniaeth uchel i
chael yn holl gylch cyfansoddiadau y prif-feirdd Paganaidd.

Fel hyn y coffheir caredigrwydd yr Arglwydd i'w tada
"Clodforwch yr Arglwydd, gelwch ar ei enw; mynegwch
weithredoedd yn mysg y bobloedd. Cenwch iddo, canm
wch ef; ymddyddenwch am ei holl ryfeddodau ef. Gorf
eddwch yn ei enw sanctaidd; llawenyched calon y rhai
ceisiant ef. Ceisiwch yr Arglwydd a'i nerth; ceisiwch
wyneb ef bob amser. Cofiwch ei ryfeddodau y rhai a wnae
efe, ei wyrthiau, a barnedigaethau ei enau: chwi hâd Ab
ham ei was ef, chwi meibion Jacob ei etholedigion. Efe y
yr Arglwydd ein Duw ni: ei farnedigaethau ef sydd drwy
holl ddaear. Cofiodd ei gyfammod byth, y gair a orchymy
odd efe i fil o genedlaethau: yr hyn a amododd efe ag Abr
ham; a'i lw i Isaac; ac a osododd efe yn ddeddf i Jacob,

yn gyfammod tragywyddol i Israel; gan ddywedyd, I ti y rhoddaf dir Canaan, rhandir eich etifeddiaeth. Pan oeddynt ychydig o rifedi, Ie, ychydig, a dieithriaid ynddi: pan rodient o genedlaeth i genedlaeth, o'r naill deyrnas at bobl arall: ni adawodd i neb eu gorthrymu: ie ceryddodd freninoedd o'u plegyd; gan ddywedyd—Na chyffyrddwch a'm rhai eneiniog, ac na ddrygwch fy mhroffwydi. Galwodd hefyd am newyn ar y tir, a dinystriodd holl gynaliaeth bara. Anfonodd ŵr o'u blaen hwynt, Joseph, a werthwyd yn was. Cystuddiasant ei draed ef mewn gefyn; ei enaid a aeth mewn heiyrn: hyd yr amser y daeth ei air ef: gair yr Arglwydd a'i profodd ef. Y brenin a anfonodd, ac a'i gollyngodd ef; llywodraethwr y bobl, ac a'i rhyddhaodd ef. Gosododd ef yn arglwydd ar ei dŷ, ac yn llywydd ar ei holl gyfoeth; i rwymo ei dywysogion ef wrth ei ewyllys, ac i ddysgu doethineb i'w henuriaid ef. Aeth Israel hefyd i'r Aifft; a Jacob a ymdeithiodd yn nhir Ham. Ac efe a gynyddodd ei bobl yn ddirfawr; ac a'u gwnaeth yn gryfach na'u gwrthwynebwyr."

Fel hyn yr adroddir am yr arwyddion a'r rhyfeddodau a wnaeth efe yn nhir yr Aifft, yn maes Zoan, wrth farnu eu gorthrymwyr. Anfonodd dywyllwch dros eu tir, tywyllwch ellid ei deimlo. Efe a drodd eu dyfroedd yn waed, ac a laddodd eu pysgod. Eu tir a heigiodd lyffaint yn ystafelloedd eu breninoedd. Efe a ddywedodd, a daeth cymysgbla, a llau yn eu holl fro hwynt. Efe a wnaeth eu gwlaw hwynt yn genllysg, ac yn fflamau tân yn eu tir. Tarawodd hefyd eu gwinwydd a'u ffigyswydd, ac a ddrylliodd goed eu gwlad hwynt. Rhoddodd eu cnwd hwynt i'r lindys, a'u llafur i'r locust. Rhoddodd hefyd eu hanifeiliaid i'r cenllysg, a'u golud i'r mellt. Anfonodd arnynt gynddaredd ei lid, trwy anfon angylion drwg. Cymhwysodd ffordd i'w ddigofaint, nid ataliodd eu henaid oddiwrth angau, ond eu bywyd a roddodd efe i'r haint. Tarawodd hefyd bob cyntaf anedig yn yr Aifft, sef blaenion eu nerth hwynt yn mhebyll Ham. Efe a daflodd gerbydau Pharaoh a'i fyddin yn y môr; ei gapteniaid dewisol a foddwyd

yn y Môr Coch. Y dyfnderau a'u toisant hwy, disgynasan gwaelod fel careg. Trwy chwythad dy ffroenau y casglwy dyfroedd yn nghyd : y ffrydiau a safasant fel pentwr ; y d derau a geulasant yn nghanol y môr. Ti a chwythaist wynt ; y môr a'u tôdd hwnt : suddasant fel plwm yn y d oedd cryfion."

Fel hyn y darlunir mawredd a gras Duw yn rhoddi ei raith iddynt : "Pa genedl mor fawr yr hon y mae iddi dde au a barnedigaethau cyfiawn, megys yr holl gyfraith hon ydwyf fi yn ei rhoddi heddyw ger eich bron chwi ? Ond goc arnat, a chadw dy enaid yn ddyfal rhag anghofio o hono pethau a welodd dy lygaid ; a chilio o honynt allan o'th ga di holl ddyddiau dy einioes—y dydd y sefaist ger bron yr glwydd dy Dduw yn Horeb, pan ddywedodd yr Arglwy wrthyf, Cynull i mi'r bobl, fel y gwnelwyf iddynt glywed ngeiriau, y rhai y ddysgant i'm hofni i, yr holl ddyddiau byddant fyw ar y ddaear, ac y dysgont hwynt i'w meibi A nesasoch, a safasoch dan y mynydd, a'r mynydd oedd llosgi gan dân hyd entrych awyr, yn dywyllwch, a chwmwl thywyllwch dudew. A'r Arglwydd a lefarodd wrthych o g ol y tân ; ac efe a fynegodd i chwi ei gyfammod, a orchym odd efe i chwi i'w wneuthur, sef y dengair ; ac a'u hysgrif odd hwynt ar ddwy lech faen. A bydded y geiriau hyn ydwyf yn eu gorchymyn i ti heddyw, yn dy galon ; a hysby hwynt i'th blant ; a chrybwyll am danynt pan eisteddych dy dŷ, a phan gerddych ar y ffordd, a phan orweddych i la a phan gyfodych i fyny. A rhwym hwynt yn arwydd ar law ; byddant yn rhactalau rhwng dy lygaid : ysgrifena hwy hefyd ar byst dy dŷ ac ar dy byrth. Efe a sicrhaodd dyst aeth yn Jacob, ac a osododd gyfraith yn Israel, y rhai a or ymynodd efe i'n tadau eu dysgu i'w plant, fel y gwybyddai oes a ddel, sef y plant a enid ; a phan gyfodent, y mynege hwy i'w plant hwythau, fel y gosodent eu gobaith ar Ddu heb anghofio gweithredoedd Duw, eithr cadw ei orchymyni ef."

Y mae gan bron bob un o'r ysgrifenwyr sanctaidd gân neu gŵyn, neu ddammeg neu alegori, neu draethawd neu adroddiad ar drugareddau yr Arglwydd i'r genedl, ac anffyddlondeb y genedl i'w Duw, ac ar eu gofidiau oblegyd eu camweddau.

Dyma'r geiriau a ganodd Moses iddynt y dydd yr esgynodd efe i'r mynydd i farw :

"Canys rhan yr Arglwydd yw ei bobl ; Jacob yw rhan ei etifeddiaeth ef. Efe a'i cafodd ef mewn tir anial, ac mewn diffeithwch gwag erchyll, arweiniodd ef o amgylch, a pharodd iddo ddeall, a chadwodd ef fel canwyll ei lygad. Fel y cyfyd eryr ei nyth, y castella dros ei gywion, y lleda ei esgyll, y cymer hwynt, ac a'u dwg ar ei adenydd ; Felly yr Arglwydd yn unig a'i harweiniodd yntau, ac nid oedd duw dieithr gydag ef. Gwnaeth iddo farchogaeth ar uchelder y ddaear, a bwyta cnwd y maes, a sugno mêl o'r graig, ac olew o'r graig gallestr; ymenyn gwartheg, a llaeth defaid, yn nghyda braster ŵyn, a hyrddod o rywogaeth Basan, a bychod, yn nghyda braster grawn gwenith, a phurwaed grawnwin a yfaist. A Jesurun a aeth yn fras, ac a wingodd ; braseaist, tewychaist, pwyntiaist; yna efe a wrthododd Dduw, yr hwn a'i gwnaeth, ac a ddiystyrodd Graig ei iachawdwriaeth : â dieithr dduwiau y gyrasant eiddigedd arno, â ffieidd-dra y digiasant ef. Aberthasant i gythreuliaid, nid i Dduw, i dduwiau nid adwaenent, i rai newydd diweddar, y rhai nid ofnodd eich tadau. Y Graig a'th genedlodd a anghofiaist ti, a'r Duw a'th luniodd a ollyngaist ti dros gof. Yna y gwelodd yr Arglwydd, ac a'u ffieiddiodd hwynt, o herwydd ei ddigio gan ei feibion a'i ferched. Ac efe a ddywedodd, cuddiaf fy wyneb oddiwrthynt, edrychaf beth fydd eu diwedd hwynt, canys cenedlaeth drofaus ydynt hwy, meibion heb ffyddlondeb ynddynt. Hwy a yrasant eiddigedd arnaf â'r peth nid oedd Dduw, digiasant fi â'u hoferedd, minau a yraf eiddigedd arnynt hwythau â'r rhai nid ydynt bobl ; â chenedl ynfyd y digiaf hwynt. Canys tân a gyneuwyd yn fy nig, ac a lysg hyd uffern isod, ac a ddifa'r tir a'i gynyrch, ac a wna i sylfeini'r mynyddoedd ffaglu. Casglaf

ddrygau arnynt, treuliaf fy saethau arnynt. Llosgedig fydda gan newyn, ac wedi eu bwyta gan wres poeth, a chwerw dd nystr, anfonaf hefyd arnynt ddanedd bwystfilod, yn nghyd gwenwyn seirff y llwch. Y cleddyf oddiallan, a dychryn odd fewn, a ddyfetha y gwr ieuanc a'r wyryf, y plentyn sugno y nghyd a'r gwr briglwyd. Dywedais, Gwasgaraf hwynt i gong au, paraf i'w coffadwriaeth ddarfod o fysg dynion ; oni bai i' ofni dig y gelyn, rhag i'w gwrthwynebwyr ymddwyn yn d eithr, a rhag dywedyd o honynt, Ein llaw uchel ni, ac nid y Arglwydd a wnaeth hyn oll."

Mewn rhan arall o'r gân mae yn darlunio "bendithion" gwahanol lwythau, a dialeddau Duw ar eu caseion, ac y mae gân oll drwyddi yn ardderchog anghydmarol o ran iaith a sy iadau. Y mae yn ei therfynu fel y canlyn :

"Nid oes megys Duw Israel, yr hwn sydd yn marchogae y nefoedd yn gymorth it, â'r wybrenau yn ei fawredd. I noddfa yw Duw tragywyddol, ac odditanodd y mae'r breichi tragywyddol ; efe a wthia dy elyn o'th flaen, ac a ddywed, d fetha ef. Israel hefyd a drig ei hun yn ddiogel : ffynon Jac fydd mewn tir ŷd a gwin, ei nefoedd hefyd a ddyfera wlit Gwynfydedig wyt, O Israel ; pwy megys ti, O bobl gadwed gan yr Arglwydd, tarian dy gynorthwy, yr hwn hefyd y cleddyf dy ardderchowgrwydd ! a'th elynion a ymostyngaist ti, a sethri ar eu huchel-leoedd hwynt."

Fel hyn y mae awen ysprydoledig Dafydd yn adgoffa pec odau y genedl yn eu hanghof cyndyn o gymwynasau a rh feddodau yr Arglwydd eu Duw :

"Gwaredaist â'th fraich dy bobl, meibion Jacob a Josep Y dyfroedd a'th welsant, O Dduw, y dyfroedd a'th welsant hwy a ofnasant, y dyfnderau hefyd a gynhyrfwyd, y cymylau dywalltasant ddwfr, yr wybenau a roddasant dwrf, dy saetha hefyd a gerddasant, twrf dy darau a glywyd o amgylch, mel a oleuasant y byd, cyffrodd a chrynodd y ddaear, dy fford sydd yn y môr, a'th lwybrau yn y dyfroedd mawrion, ac ni adwaenir dy ôl. Tywysaist dy bobl fel defaid, trwy law Mos

ac Aaron. * * * Efe a barthodd y môr ac a aeth a hwynt drwodd; gwnaeth hefyd i'r dwfr sefyll fel pentwr. Y dydd y tywysodd efe hwynt â chwmwl, ac ar hyd y nos â goleuni tân. Efe a holltodd y creigiau yn yr anialwch, a rhoddes ddiod megys o ddyfnderau dirfawr. Er hyny chwanegasant eto bechu yn ei erbyn, gan ddigio y Goruchaf yn y diffaethwch. A themtiasant Dduw yn eu calon, gan ofyn bwyd wrth eu blŷs; llefarasant yn erbyn Duw, dywedasant, A ddichon Duw arlwyo bwrdd yn yr anialwch? Wele, efe a darawodd y graig fel y pistyllodd dwfr, ac y llifodd afonydd; a ddichon efe roddi bara hefyd? a ddarpara efe gig i'w bobl? Am hyny y clybu yr Arglwydd ac a ddigiodd, a thân a enynodd yn erbyn Jacob, a digofaint a gyneuodd yn erbyn Israel, am na chredent yn Nuw, ac na obeithient yn ei iachawdwriaeth ef. Er iddo ef orchymyn i'r wybrenau oddi uchod, ac agoryd drysau'r nefoedd, a gwlawio manna arnynt i'w fwyta, a rhoddi iddynt ŷd y nefoedd; dyn a fwytaodd fara angylion, anfonodd iddynt fwyd yn ddigonol. Gwlawiodd hefyd gig arnynt fel llwch, ac adar asgellog fel tywod y môr; ac a wnaeth iddynt gwympo o fewn eu gwersyll, o amgylch eu preswylfeydd. Felly y bwytasant ac y llwyr ddiwallwyd hwynt, ac efe a barodd eu dymuniad iddynt; ni omeddodd hwynt o'r hyn a flysiasant; er hyny, tra y bwyd yn eu safnau, digllonedd Duw a gyneuodd yn eu herbyn hwynt, ac a laddodd y rhai brasaf o honynt, ac a gwympodd etholedigion Israel. Er hyn oll pechasant eto, ac ni chredasant i'w ryfeddodau ef; am hyny y treuliodd efe eu dyddiau hwynt mewn oferedd, a'u blynyddoedd mewn dychryn. Pan laddai efe hwynt, hwy a'u ceisient ef, ac a ddychwelent, ac a geisient Dduw yn fore. Cofient hefyd mai Duw oedd eu Craig, ac mae'r Goruchaf Dduw oedd eu Gwaredydd. Er hyny rhagrithio yr oeddynt iddo a'u genau, a dywedyd celwydd wrtho a'u tafod, a'u calon heb fod yn uniawn gydag ef, na'u bod yn ffyddlon yn ei gyfammod. Er hyny, efe yn drugarog a faddeuodd eu hanwiredd, ac ni ddifethodd hwynt, ie, trodd ymaith ei ddigofaint yn fynych, ac

ni chyffrodd ei holl lid. Tywysodd hwynt hefyd yn ddiogel fel nad ofnasant, a'r môr a orchuddiodd eu gelynion hwynt, hwythau a ddug efe i oror ei sancteiddrwydd, i'r mynydd hwn a enillodd ei ddeheulaw; ac efe a yrodd allan y cenedloedd o'u blaen hwynt, ac a ranodd iddynt etifeddiaeth wrth linyn ac a wnaeth i lwythau Israel drigo yn eu pebyll hwynt. Er hyny temtiasant a digiasant Dduw Goruchaf, ac ni chadwasant ei dystiolaethau, eithr ciliasant, a buant anffyddlon fel eu tadau; troisant fel bwa twyllodrus. Digiasant ef â'u cerfiedig ddelwau. Clybu Duw hyn, ac a ddigiodd, ac a ffieiddiodd Israel yn ddirfawr; fel y gadawodd efe dabernacl Siloh, y babell a osodasai efe yn mysg dynion; a rhoddodd ei nerth mewn caethiwed, a'i brydferthwch yn llaw'r gelyn; rhoddes hefyd ei bobl i'r cleddyf, a digiodd wrth ei etifeddiaeth; tân a ysodd eu gwŷr ieuainc, a'u morwynion ni phriodwyd, eu hoffeiriaid a laddwyd â'r cleddyf, a'u gwragedd gweddwon ni wylasant. Yna y deffrodd yr Arglwydd fel un o gysgu, fel cadarn yn bloeddio gwedi gwin. Ac efe a darawodd ei elynion o'r tu ol, rhoddes iddynt warth tragywyddol. Gwrthododd babell Joseph, ac ni etholodd lwyth Ephraim: ond efe a etholodd lwyth Judah, mynydd Seion, yr hwn a hoffodd; ac a adeiladodd ei gysegr fel llys uchel, fel y ddaear yr hon a seiliodd efe yn dragywydd. Etholodd hefyd Ddafydd ei was, ac a'i cymerth o gorlanau y defaid; oddiar ol y defaid cyfebron y daeth ag ef i borthi Jacob ei bobl, ac Israel ei etifeddiaeth."

Pan yr ydym yn ymchwilio i nodweddiadau cymeriad yr hen genedl Iuddewig, y mae nid yn unig yn gyfreithlawn, ond y mae yn gwbl angenrheidiol, i ni wneud defnydd o ddarluniadau eu hen Lyfr eu hunain; oblegyd nid ellir byth gyfansoddi na chasglu darluniadau cywirach nag a geir yn adroddiadau eu haneswyr diduedd ac enwog eu hunain; ac y mae yn deilwng o gofnodiad ac ystyriaeth, mai Iuddew oedd pob un o'r ysgrifenwyr sanctaidd.

Fel hyn y mae Esay, yn nechreuad ei broffwydoliaeth, yn achwyn am eu hanufudd-dod, ac yn gofidio am eu barnedigaethau:

"Gwrandewch nefoedd, clyw dithau ddaear, canys yr Arglwydd a lefarodd, Megais a meithrinais feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn. Yr ŷch a edwyn ei feddiannydd, a'r asyn breseb ei berchenog; ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall. O genedlaeth bechadurus, pobl lwythog o anwiredd, hâd y rhai drygionus, meibion yn llygru: gwrthodasant yr Arglwydd, digiasant Sanct Israel, ciliasant yn ol! I ba beth y'ch tarewir mwy? Cildynrwydd a chwanegwch, y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg. O wadn y troed hyd y pen nid oes dim cyfan ynddo, ond archollion, a chleisiau, a gweliau crawnllyd; ni wasgwyd hwynt, ac ni rwymwyd, ac ni thynerwyd ag olew. Y mae eich gwlad yn anrheithiedig, eich dinasoedd wedi eu llosgi â thân, eich tir a dieithriaid yn ei ysu yn eich gwydd. Merch Seion a adewir megys lluesty mewn gwinllan, megys llety mewn gardd cucumerau, megys dinas warchâeedig. Oni buasai i Arglwydd y lluoedd adael i ni ychydig iawn o weddill, fel Sodom y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomorah."

Fel hyn y mae yn canu "dammeg y winllan:"

"Canaf yr awr hon i'm hanwylyd, ganiad fy anwylyd am ei winllan. Gwinllan sydd i'm hanwylyd mewn bryn tra ffrwythlawn. Ac efe a'i cloddiodd hi, ac a'i digaregodd, ac a'i plannodd o'r winwydden oreu, ac a adeiladodd dŵr yn ei chanol, ac a dryehodd winwryf ynddi; ac efe a ddisgwyliodd iddi ddwyn grawnwin, hithau a ddug rawn gwylltion. Ac yr awr hon, preswylwyr Jerusalem, a gwŷr Judah, bernwch, atolwg, rhyngof fi a'm gwinllan. Beth oedd i'w wneuthur ychwaneg i'm gwinllan nag a wnaethum ynddi? Paham, a mi yn disgwyl iddi ddwyn grawnwin, y dug hi rawn gwylltion? Ac yr awr hon mi a hysbysaf i chwi yr hyn a wnaf i'm gwinllan, tynaf ymaith ei chae, fel y porer hi, toraf ei magwyr fel y byddo hi yn sathrfa, a mi a'i gosodaf hi yn ddifrod, nid ysgythrir hi, ac ni chloddir hi; ond mieri a drain a gyfyd, ac i'r cymylau y gorchymynaf na wlawiont wlaw arni. Diau, gwinllan Arglwydd y lluoedd yw tŷ Israel, a gwŷr Judah yw ei blanhigyn

hyfryd ef, ac efe a ddisgwyliodd am farn, ond wele drais, am gyfiawnder, ond wele lef."

Pa le y ceir, mewn cylch mor fach, ddammeg mor dlws ac mor darawiadol, mor naturiol, mor gyflawn, ac mor gymwysiadol? Fel hyn y mae yn bwgwth y genedl am ddiystyru gair Duw:

"Dos yn awr ysgrifena hyn mewn llech ger eu bron hwynt, ysgrifena mewn llyfr fel y byddo hyd y dydd diweddaf yn oes oesoedd; mai pobl wrthryfelgar yw y rhai hyn, plant celwyddog, plant ni fynant wrando cyfraith yr Arglwydd; y rhai a ddywedant wrth y gweledyddion, Na welwch; ac wrth y proffwydi, Na phroffwydwch i ni bethau union, traethwch i ni weniaith, ciliwch o'r ffordd, ciliwch o'r llwybr, perwch i Sanct Israel beidio â ni. Am hyny fel hyn y dywed Sanct Israel, am wrthod o honoch y gair hwn, ac ymddiried o honoch mewn twyll a cham; am hyny y bydd yr anwiredd hyn i chwi fel rhwygiad chwyddedig mewn mur uchel ar syrthio, yr hwn y daw ei ddrylliad yn ddisymwth heb atreg. Canys efe a'i dryllia hi fel dryllio llestr crochenydd, gan guro heb arbed, fel na chaffer yn mysg ei darnau gragen i gymeryd tân o'r aelwyd, nac i godi dwfr o'r ffos."

Fel hyn y rhesyma yn erbyn eu delw-addoliaeth:

"Pwy a luniai dduw, neu a fwriai ddelw gerfiedig, heb wneuthur dim lles. Y gôf â'r efail a weithia yn y glo, ac a'i llunia â morthwylion, ac â nerth ei fraich y gweithia efe hi; newynog yw hefyd, a'i nerth a balla; nid ŷf ddwfr, ac y mae yn diffygio. Y saer pren a estyn ei linyn, efe a'i llunia hi wrth linyn coch, efe a'i cymhwysa hi â bwyill, ac a'i gweithia wrth gwmpas, ac a'i gwna ar ol delw dyn, fel prydferthwch dyn, i aros mewn tŷ. Efe a dŷr iddo gedrwydd, ac a gymer y cypres-wydden a'r dderwen, ac a ymegnia yn mysg prenau'r coed, efe a blana onen a'r gwlaw a'i maetha. Yna y bydd i ddyn gyneu tân, canys efe a gymer o honi, ac a ymdwymna; ïe, efe a'i llŷsg, ac a boba fara; gwna hefyd dduw, ac a'i haddola; gwna ef yn ddelw gerfiedig, ac a ymgryma iddo. Rhan o

hono a lysg efe yn tân, wrth ran o hono y bwyty gig, y rhostia rost, fel y diwallir ef, efe a ymdwymna hefyd, ac a ddywed, Aha, ymdwymnais, gwelais dân. A'r rhan arall yn dduw y gwna, yn ddelw gerfiedig iddo, efe a ymgryma iddo, ac a'i haddola, ac a weddia arno, ac a ddywed, Gwared fi, canys fy nuw ydwyt."

Nid yw yn ddichonadwy cael byrebion mwy miniog er dynoethi oferedd eilun-addoliaeth. Fel hyn y cerydda eu phariseaeth :

"Estynais fy llaw ar hŷd y dydd at bobl wrthryfelgar, y rhai a rodient y ffordd nid oedd dda, yn ol eu meddyliau eu hun. Pobl y rhai a'm llidient i yn wastad yn fy wyneb, yn aberthu mewn gerddi, ac yn arogl-darthu ar allorau priddfeini, y rhai a ddywedent, Saf ar dy ben dy hun, na nesâ ataf fi, canys sancteiddiach ydwyf na thydi. Y rhai hyn sydd fwg yn fy ffroenau, tân yn llosgi ar hyd y dydd."

Yr oedd phariseaeth y genedl yr un yn amser pregeth Esay ag ydoedd yn amser pregeth y Gwaredwr. Fel hyn y darlunia dderbyniad yr edifeiriol :

"Galarant am y tethau, am y meusydd hyfryd, am y winwydden ffrwythlawn. Cyfyd drain a mieri ar dir fy mhobl, ïe, ar bob tŷ llawenydd yn y ddinas hyfryd ; canys y palasau a wrthodir, yr amddiffynfeydd a'r tyrau fyddant yn ogofeydd hyd byth, yn hyfrydwch asynod gwylltion, yn borfa deadellau ; hyd oni thywallter arnom yr Yspryd o'r uchelder, a bod yr anialwch yn ddoldir, a chyfrif y doldir yn goed-tir ; yna y trig barn yn yr anialwch, a chyfiawnder a erys yn y dol-dir ; a gwaith cyfiawnder fydd heddwch, ïe, gweithred cyfiawnder fydd llonyddwch, a diogelwch, hyd byth : a'm pobl a drig mewn preswylfa heddychlon, ac mewn anneddau diogel, ac mewn gorphwysfaoedd llonydd."

Fel hyn y darlunia ddiogelwch y cyfiawn :

"Pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? Pwy o honom a breswylia gyda llosgfeydd tragywyddol? Yr hwn a rodia mewn cyfiawnder, ac a draetha uniondeb, a wrthyd elw traws-

ter, a ysgydwo ei law rhag derbyn gwobr, a gauo ei glust rhag clywed celanedd, ac a gauo ei lygaid rhag edrych ar ddrygioni; efe a breswylia yr uchelderau; cestyll y creigiau fydd ei amddiffynfa ef; ei fara a roddir iddo, ei ddwfr fydd sicr. Dy lygaid a welant y brenin yn ei degwch, gwelant y tir pell. Ni chei weled pobl greulon, pobl o iaith ddyfnach nag a ddeallech di, neu floesg dafod fel na ddeallech. Gwel Seion, dinas ein cyfarfod; dy lygaid a welant Jerusalem, y breswylfa lonydd, y babell ni thynir i lawr, ac ni syflir un o'i hoelion byth, ac ni thorir un o'i rhaffau. * * * Ac ni ddywed y preswylydd Claf ydwyf, maddeuir anwiredd y bobl a drigant ynddi."

Fel hyn y proffwyda am adferiad y genedl. Ystyrir fod y broffwydoliaeth o ran wedi ei chyflawni yn barod; ond gobeithio fod ei melysder penaf yn ol iddynt eto:

"Pwy yw y rhai hyn a ehedant fel cwmwl, ac fel colomenod i'w ffenestri? Yn ddiau yr ynysoedd a'm disgwyliant, a llongau Tarsis yn benaf, i ddwyn dy feibion o bell, eu harian hefyd a'u haur gyda hwynt i enw yr Arglwydd dy Dduw, ac i Sanct Israel am iddo dy ogoneddu di. A meibion dieithr a adeiladant dy furiau, a'i breninoedd a'th wasanaethant; canys yn fy nig y'th darewais, ac o'm hewyllys da fy hun y tosturiais wrthyt. Am hyny dy byrth a fyddant yn agored yn wastad, ni cheuir hwynt na dydd na nos, i ddwyn atat olud y cenedloedd, fel y dyger eu breninoedd hwynt hefyd. Lle y buost yn wrthodedig, ac yn gas, ac heb gyniweirydd trwot, gwnaf di yn ardderchawgrwydd tragywyddol, ac yn llawenydd i'r holl genedlaethau. Sugni hefyd laeth y cenedloedd, ie, bronau breninoedd a sugni; a chei wybod mai myfi'r Arglwydd yw dy achubydd, a'th waredydd yw cadarn Dduw Jacob. Yn lle pres y dygaf aur, ac yn lle haiarn y dygaf arian, ac yn lle coed, bres, ac yn lle ceryg, haiarn; a gwnaf dy swyddogion yn heddychol, a'th drethwyr yn gyfiawn. Ni chlywir mwy son am drais yn dy wlad, na distryw na dinystr yn dy derfynau: eithr ti a elwi dy fagwrydd yn Iachawdwriaeth, a'th byrth yn Fol-

Ni fachluda dy haul mwyach, a'th leuad ni phalla; o
dd yr Arglwydd fydd it yn oleuni tragywyddol, a dydd-
alar a ddarfyddant. Dy bobl hefyd fyddant gyfiawn
ifeddant y tir byth, sef blaguryn fy mhlanhigion, gwaith
ylaw, fel y'm gogonedder. Y bychan fydd yn fil, a'r
yn genedl gref. Myfi yr Arglwydd a brysuraf hyny yn
ser."

wyf yn gwybod fod dyfyniadau o'r Beibl, yn enwedig
darlith, yn groes i'r *fashion;* ond cofier mai hen genedl
ol ydyw ein testyn: a chofier hefyd na cheir dim barddon-
mor uchel, ac mor bur, mewn iaith mor syml, ac mor eg-
n ngweithiau yr awdwyr mwyaf clasurol; nac, yn wir,
l gylch barddoniaeth y byd: a byddai ymroad ieuenctyd
lio barddoniaeth y Beibl, nid yn unig yn lles i'w calon,
n foddion i goethi eu chwaeth, ac i faethu nerth eu
l.

efai Jeremi yn barhaus, pa un bynag ai yn y palas, ai
ydew, ai yn Jerusalem, ai yn Babylon; "O na bai fy
yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynon o ddagrau, fel yr
ddydd a nos am laddedigion merch fy mhobl! O na
i i mi yn yr anialwch lety fforddolion, fel y gadawn fy
, ac yr elwn oddiwrthynt!" Ond ni oddef ein terfynau i ni
l ei "Alarnad" effeithiol am y ddinas aml ei phobl yn
l ei hunan—am y liosog megys yn weddw—am dywys-
talaethau dan deyrnged; yn wylo yn hidl liw nos, heb
i holl gariadau yn ei chysuro—a'i herlidwyr wedi ei
weddyd mewn lleoedd cyfyng—a'i ffyrdd yn galaru eisiau
n dyfod i'r wyl arbenig—a'i phyrth yn anghyfanedd—a'i
iaid yn ucheneidio—a'i morwynion yn ofidus—a'i thywys-
fel hyddod heb borfa yn ddinerth o flaen yr ymlidiwr—
l harddwch wedi ymadael—a'i gelynion yn chwerthin am
Sabbothau—a'r cenedloedd yn ei chysegr—a'r gwrth-
wr yn estyn ei law ar ei holl hoff-bethau—a hithau yn
r holl hyfrydwch oedd iddi yn y dyddiau gynt—a'r
dion yn ddiystr o'i gofid—a chwymp ei chamweddau

am ei gwddf—a'r diddanwr a ddadebrai ei henaid wedi ymbellhau—a fflam dânllyd yn ei haneddau—a'i henuriaid yn eistedd a'r lawr, a llwch ar eu penau—a'i phroffwydi heb weledigaeth—a'i llysoedd heb gyfraith—a'r plant sugno yn llewygu yn yr heolydd—a'r Arglwydd wedi anghofio lleithig ei draed, ac anrheithio ei babell, a dinystrio lleoedd ei gymanfa, a gwrthod ei allor, a ffieiddio ei gysegr, a difwyno caerau ei phalasau, a pheri anghofio yr uchel-wyl, ac yn goddef i'r gelyn floeddio yn ei gafell sanctaidd. Y mae wedi hyny yn gofyn—mewn syndod, "Pa fodd y tywyllodd yr aur! y newidiodd yr aur coeth da! Taflwyd cerrig y cyssegr yn mhen pob heol. Gwerthfawr feibion Seion, a chystal ag aur pur, pa fodd y cyfrifwyd hwynt fel ystenau pridd, gwaith dwylaw y crochenydd! Y dreigiau a dynant allan eu bronau, a roddant sugn i'w cenawon: merch fy mhobl a aeth yn greulon fel yr estrysiaid yn yr anialwch. Canys mwy yw anwiredd merch fy mhobl na phechod Sodom. Purach oedd ei Nazareaid hi na'r eira, gwynach oeddynt na'r llaeth, gwridocach oeddynt o gorff na'r cwrel, a'u trwsiad oedd o saphir. Duach yw'r golwg arnynt na'r glöyn; ni adwaenir hwynt yn yr heolydd; eu croen a lŷn wrth eu hesgyrn; gwywodd, aeth yn debyg i bren. Ein croen a dduodd fel ffwrn gan y newyn tost. Hwy a dreisiasant y gwragedd yn Seion, a'r morwynion yn ninasoedd Judah. Crogasant dywysogion â'u dwylaw, ni pherchid wynebau yr henafgwŷr: hwy a gymerasant y gwyr ieuainc i falu; a'r plant a syrthiasant dan y coed. Darfu llawenydd ein calon; ein dawns a drodd yn alar. Syrthiodd y goron oddiam ein pen: gwae ni yn awr bechu o honom."

Ni oddef amser i ni adrodd rhestr Ezeciel o bechodau Israel; na'i resymeg yn erbyn y ddiareb anghyfa yn—"Y tadau a fwytasant rawnwin surion, ac ar ddanedd y plant y mae dincod;" na'i broffwydoliaeth yn erbyn y tywysogion a'r gau-broffwydi; na'i weledigaeth o'r esgyrn sychion; na'i amddiffyniad o ffyrdd Duw; na'i ddameg am y ddwy wraig, merched yr un fam, yn dilyn yr un ffordd o ymserchu yn eu cymydog-

on, y rhai a wisgid â glas, o drwsiad dymunol, yn rhagori mewn lliwiau, ac yn marchogaeth ar feirch: a'r ddwy yn cefnu ar eu priod, ac yn rhoddi ei ŷd, a'i win, a'i olew, a'i arogldarth i'w cariadau; a hwythau yn y diwedd, ar ol cael eu hudo a'u halogi, yn cael eu hanrheithio o'u holl bethau dymunol. Fel hyn y mae Ezeciel yn dechreu un o'i ddamegion—"Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth Jerusalem, Dy drigfa a'th enedigaeth sydd o wlad Canaan; dy dad oedd Amoriad a'th fam yn Hittees. Ac am dy enedigaeth, ar y dydd y'th anwyd ni thorwyd dy fogail, ac mewn dwfr ni'th olchwyd i'th feddalhau; ni'th gyweiriwyd ychwaith â halen, ac ni'th rwymwyd â chwymyn: ni thostariodd llygad wrthyt, i wneuthur it un o hyn; ond ar wyneb y maes y'th daflwyd, i ffieiddio dy einioes, ar y dydd y'th aned. A phan dramwyais heibio it, a'th weled yn ymdrybaeddu yn dy waed, dywedais wrthyt yn dy waed,—Bydd fyw; ie, dywedais wrthyt yn dy waed,—Bydd fyw. Yn fyrddiwn y'th wnaethum fel gwellt y maes, a thi a gynyddaist, ac a aethost yn fawr, ac a aethost i harddwch godidog: dy fronau a chwyddasant, a'th wallt a dyfodd; a thi yn llom ac yn noeth o'r blaen. Pan aethum heibio it, ac edrych arnat, wele dy amser yn amser serchowgrwydd; yna lledais fy aden drosot, a chuddiais dy noethni: tyngais hefyd it, ac euthum mewn cyfamod â thi, medd yr Arglwydd Dduw; a thi a aethost yn eiddof fi. Yna mi a'th olchais â dwfr, ac iras di ag olew. Mi a'th wisgais hefyd â gwaith edau a nodwydd, rhoddais it hefyd esgidiau o groen daearfoch, a gwregysais di â lliain main, a gorchuddiais di â sidan. Mi a'th herddais hefyd â harddwch, a rhoddais freichledau am dy ddwylaw, a chadwyn am dy wddf. Rhoddais hefyd dlws ar dy dalcen, a thlysau wrth dy glustiau, a choron hardd am dy ben. Felly y'th harddwyd ag aur ac arian; a'th wisg oedd liain main a sidan, a gwaith edau a nodwydd; peilliedâ mel, ac olew a fwyteit: teg hefyd odiaeth oeddit, a ffynaist yn freniniaeth. Aeth allan it enw yn mysg y cenedloedd am dy degwch; canys cyflawn oedd gan fy harddwch, yr hwn a osodaswn arnat, medd yr Arglwydd Dduw."

Ar ol darlunio fel hyn gymwynasau yr Arglwydd iddi, mae, mewn iaith finiog, yn danod ei hanffyddlondeb gwar wyddus i'w Duw: yn cyhoeddi ei bod yn waeth na Sama a'i merched, ac yn waeth na Sodom a'i merched; ac y mae cyfiawnhau y farnedigaeth a'i goddiweddodd; ac yn terfy trwy broffwydo am ei hadferiad—"Eto, medd yr Arglwy mi a gofiaf fy nghyfamod â thi yn nyddiau dy ieuenctyd, ac sicrhaf it gyfamod tragywyddol."

Gadawn heibio gyffes effeithiol Daniel, a chyffes gynw fawr Nehemia, ac edliwiadau y proffwydi eraill o gamwedd y genedl. Ni wnawn ond un dyfyniad byr eto, sef darlun Hosea o drugareddau maddeuol yr Arglwydd yn adferia genedl: "Am hyny, wele, mi a gauaf i fyny dy ffordd d drain; ac a fwriaf fûr fel na chaffo hi ei llwybrau. A h ddilyn ei chariadau, ond nis goddiwes hwynt; a hi a'u c hwynt, ond nis caiff: yna y dywed, Af a dychwelaf at fy ng cyntaf; canys gwell oedd arnaf fi yna nag yr awr hon. ni wyddai hi mai myfi a roddais iddi ŷd, a gwin, ac olew, a amlheais ei harian a'i haur, y rhai a ddarparasant hwy i B Am hyny y dychwelaf, a chymeraf fy ŷd yn ei amser, a'm g yn ei dymor; a dygaf ymaith fy ngwlan, a'm llin a guddia noethni hi. Gwnaf hefyd i'w holl orfoledd hi, ei gwyliau, newydd-leuadau, a'i Sabbothau, a'i holl uchel-wyliau, bei A mi a anrheithiaf ei gwinwydd hi a'i ffigyswydd, am y rh dywedodd, Dyma fy ngwobrwyon, y rhai a roddodd fy ngh iadau i mi; ac mi a'i gosodaf yn goedwig, a bwystfilod y m a'u difa hwynt. A mi a ymwelaf â hi am ddyddiau Baa yn y rhai y llosgodd hi arogldarth iddynt, ac y gwisgodd chlust-fodrwyau a'i thlysau, ac yr aeth ar ol ei chariadau, a anghofiodd fi, medd yr Arglwydd. Er hyny, wele, mi denaf hi, ac a'i dygaf i'r anialwch, ac a ddywedaf wrth fod chalon. A mi a roddaf iddi ei gwinllanoedd o'r fan hono dyffryn Achor yn ddrws gobaith; ac yna y cân hi fel yn ny iau ei hieuenctyd, ac megys yn y dydd y daeth hi i fynu o w yr Aifft. * * * A'r dydd hwnw y gwnaf a

drostynt âg anifeiliaid y maes, ac âg ehediad y nefoedd, ac âg ymlusgiaid y ddaear: a'r bwa, a'r cleddyf, a'r rhyfel a doraf ymaith o'r ddaear; a gwnaf iddynt orwedd yn ddiogel. A mi a'th ddyweddiaf â mi fy hun yn dragywydd; ie dyweddiaf di â mi fy hun mewn cyfiawnder, ac mewn barn, ac mewn tiriondeb, ac mewn trugareddau; a dyweddiaf di â mi mewn ffyddlondeb, a thi a adnabyddi yr Arglwydd. A'r dydd hwnw y gwrandawaf, medd yr Arglwydd: ar y nefoedd y gwrandawaf; a hwythau a wrandawant ar y ddaear; a'r ddaear a wrendy ar yr ŷd, a'r gwin, a'r olew, a hwythau a wrandawant ar Jezreel. A mi a'i hauaf hi imi fy hun yn y ddaear, ac a drugarhaf wrth yr hon ni chawsai drugaredd; ac a ddywedaf wrth y rhai nid oedd bobl im' Fy mhobl wyt ti; a hwythau a ddywedant, O fy Nuw."

Dyna ddrych o gymeriad y genedl drwy oesau yr Hen Destament; a hwnw yn ddrych o waith eu celfyddydwyr eu hunain. Rhai i mi bellach gynyg darlun bychan o'u helynt er amser cychwyniad Cristionogaeth; ac er cyflymu dros yr hanes, ceisiwn grynhoi ein hadroddiad i bump o adranau.

1. Dyfethwyd o honynt, yn mhob dull, yn adeg dinystr eu dinas gan y Rhufeiniaid, yn mhell dros ugain cant o filoedd. Yr oedd proffwydoliaeth Iesu am y dinystr hwnw yn nodedig o fanwl ac eglur. Pan oedd unwaith yn sefyll ar fynydd yr Olewydd uwchben y ddinas, ymollyngodd i wylo drosti wrth feddwl am y trais oedd yn ei llenwi, a'r farn oedd yn ei haros: a dywedodd o deimlad calon—"O na wybuasit dithau, ie, yn dy ddydd hwn, y pethau a berthynent i'th heddwch! eithr y maent yn awr yn guddiedig oddiwrth dy lygaid. Canys daw y dyddiau arnat, a'th elynion a fwriant glawdd o'th amgylch, ac a'th amgylchant, ac a'th warchaeant o bob parth; ac a'th wnant yn gydwastad â'r llawr, a'th blant o'th fewn; ac ni adawant ynot faen ar faen, o herwydd nad adnabuost amser dy ymweliad." Pan oedd dro arall, yn condemnio rhagrith y Phariseaid, dywedodd—"O Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y proffwydi, ac yn llabyddio y rhai a anfonir atat;

pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant yn nghyd y
y casgl yr iar ei chywion dan ei hadenydd, ac nis m
Wele eich tŷ a adewir i chwi yn anghyfanedd. Yn wi
af i chwi, daw hyn oll ar yr genhedlaeth hon." A dy
bryd arall, wrth ragrybuddio ei ddisgyblion o'r di
byddai y pryd hyny orthrymder o'r fath na bu er dech
byd. Parhaodd y genedl, er pob rhybudd, i ymgaledu
lygru fwy fwy nes i'r dinystr ddyfod ar eu gwarthaf,
geiriau y Gwaredwr. Yn mhen pymtheg mlynedd ar
ar ol ei ragrybuddion difrifol, darfu iddynt, ar gymhelli
fysgwyr a thwyllwyr, godi mewn gwrthryfel ynfyd a l
iog yn erbyn awdurdodau Rhufain; a lladd eu sw
oeddynt yn Jerusalem a dinasoedd eraill. Pan aeth yr
am hyny i Rufain, taniwyd yno yspryd dial; ac anfonod
ei faeslywydd enwog Vespasian i'w darostwng. Ni
Vespasian ddim brys i ymosod ar Jerusalem, oblegyd g
fod yno bleidiau o derfysgwyr yn llawn gelyniaeth mar
eu gilydd, a'u bod yn cyflym gyflawni ei waith ef; ac f
weiniodd ei fyddinoedd i anrheithio y trefydd cymydog
a lladdasant ugain mil o'r Iuddewon yn Cesarea, deug
yn Jotapata, haner can' mil yn Alexandria, deng mil m
nos yn Scythopolis, deng mil yn Damascus, wyth mil yn
a miloedd lawer eraill drwy bob cwr o'r wlad. Yn y
hono etholwyd Vespasian yn Ymerawdwr, a dychw
Rufain i wisgo ei goron a'i awdurdod; a gadawodd ofa
fel yn Judea i'w fab Titus; yr hwn a ddechreuodd w
Jerusalem ar Wŷl y Pasg, yn y flwyddyn 68 o oed Cris
oedd Titus yn awyddus iawn am i'r preswylwyr blygu
gallai arbed hen ddinas mor enwog. Cauodd o'i de
adeg yr wŷl, pan oedd mor lawn o bobl, gan ddisgwyl y
prinder ymborth yn eu gwasgu i ddeisyfu ammodau hed
a gwnaeth lawer cynyg iddynt. Bu Josephus drosto y
ymu â hwy, ac yn erfyn arnynt blygu fel o'r blaen i aw
Rhufain; ond gwrthodasant, gan ymgyndynu fwy fwy
lonodd hyny Titus, a bu eu dinystr yn arswydol. Yn c

Crist, bwriwyd clawdd o amgylch y ddinas, fel nad allai neb ddianc oddiyno: ac yr oedd milwyr Rhufain, mor lawn o ddial fel y codasant y clawdd a'i dyrau mewn tri diwrnod. Parhaodd y gwarchae am bedwar mis; ac yr oedd y newyn oddifewn, a'r cleddyf oddiallan yn difa yn ofnadwy. O'r diwedd cymerwyd yr amgaerau, y naill ar ol y llall. Gwnaeth Titus a'i gapteniaid egniad i achub y Deml, i fod yn gôfadail oesol o gadernid a gogoniant y lle; ond ni fedrent ddofi cynddaredd y milwyr. Llosgwyd y deml, ond llwyddodd Titus i gipio dodrefn y cyssegr sancteiddiolaf o gyrhaedd y tân; ac yr oeddid yn eu harddangos gyda gorfoledd, yn ngorymdaith rwysgfawr y buddugoliaethwr, pan oedd yn myned i mewn drwy'r pyrth i Rufain i dderbyn anrhydedd ei goncwest. Lladdwyd y pryd hyny yn Jerusalem drwy'r cleddyf, a thrwy groeshoelio, a thrwy newyn, a haint, ac yn mhob dull yn mhell dros fil o filoedd; a dichon fwy na hyny drwy ranau eraill o'r wlad. Bu yno orthrymderau digyffelyb. Gwnaed caerau a phalasau y ddinas yn gydwastad â'r llawr. Chwalwyd hyd yn nôd sylfeini y deml. "Ni adawyd yno gareg ar gareg ar nis datodwyd." Cyflawnwyd y broffwydoliaeth yn ei holl fanylion.

2. Gwasgarwyd y rhai a weddillasid gan y dinystr i bedwar gwynt y nefoedd. Gwerthwyd myrddiynau o honynt i gaethiwed am lawer llai na "deg ar hugain ariau." Rhanwyd miloedd o honynt fel anrhegion i'r rhai a ewyllysient eu caethiwo. Neilldnwyd eraill o honyut i "ymladd ag anifeiliaid" er difyrwch i'w hanrheithwyr; a rhoddwyd i'r cleddyf, neu i'r groes, y rhai nad oedd neb am eu cael. Gyrwyd rhai o honynt i wylo ar lanau afonydd Media, a Persia, a Scythia, a chyrau India a China yn y Dwyrain. Gyrwyd eraill i'r Aifft ac Ethiopia, ac Arabia, a gwledydd y De. Gyrwyd eraill i diroedd Groeg, a Rhufain, a gwledydd eraill Europe, a'r ynysoedd Prydeinig, sef "ynysoedd pell y cenedloedd." Ni bu erioed y fath chwalu ar unrhyw genedl ag a fu arnynt hwy y pryd hyny. Cawsant eu gyru, yn ol iaith y broffwydoliaeth, i "eithaf y

nefoedd," a'u "gwasgaru yn mysg yr holl bobloedd;" a
maent ar wasgar hyd heddyw yn y De, a'r Dwyrain, a'r G
ledd, a'r Gorllewin, ac yn mhob cyfeiriad o'r naill gwr i'r
arall o'r ddaear.

3. Cawsant eu gorthrymu yn greulawn drwy holl wled
eu hymdaith. Gorthrymwyd hwy yn dost i ddechreu
Baganiaid. Gorthrymwyd hwy yn dostach fyth gan Fah
etaniaid, er fod disgyblion Mahomet yn proffesu parch i M
a'r proffwydi; ond gorthrymwyd hwy yn greulonach
Gristionogion na chan Baganiaid na Mahometaniaid: a
mae yn alarus i adrodd mai "offeiriaid" Cristionogaeth o
ynt yn gyffredin yn blaenori minteioedd gwylltaf yr erlidw
ie, gweinidogion eglwysi Crist oeddynt, fel Saul, yn "dal
ad" y llofruddion. Penderfynodd rhyfelwyr y groes m
ffordd effeithiolaf iddynt hwy sancteiddio eu cleddyfau a
harturiaeth yn erbyn y Mahometaniaid, oedd iddynt eu tr
cyn cychwyn yn ngwaed yr Iuddewon; ac yr oeddynt pa
eu hymdaith ar draws y gwledydd tua Jerusalem, yn llofru
pob Iuddew a syrthiai i'w gafael, os na newidiai ei hen g
ydd enwog, am grefydd newydd llun eu croes hwy: ond
oedd y fath lofruddio yn rhan o grefydd yr Iesu a groes
iwyd. Lladdwyd nifer mawr o Iuddewon y pryd hyny
Cologne, a Worms, a dinasoedd eraill. Yn Treves darfu i
tai o wragedd, pan ddeallasant fod milwyr y groes yn ne
roddi cerig yn eu dillad, a'u taflu eu hunain i'r afon Mos
er dianc o gyrhaedd eu trais a'u dirmyg; a darfu i luoedd
chwiorydd mewn manau eraill ddilyn eu siampl. Y ma
alarus i ni adgofio am y law drom fu gan Loegr yn eu g
rymu. Nid oeddid yn gwneud nemawr sylw o honynt, e
nac er drwg, yn oesoedd y brwydro fu rhwng y Prydei
a'r Saxoniaid, nac yn amser y rhyfeloedd rhwng y Saxon
a'u gilydd; ond pan gryfhaodd awdurdod y Mynacho
phan sefydlwyd eu llysoedd eglwysig, dechreuwyd eu go
rymu ar unwaith. Yn amser Egbert, Archesgob York,
chanol yr wythfed ganrif, mynodd y Mynachod ddeddfau

ion, er cadw Cristionogion rhag myned i olwg defodau crefydd yr Iuddewon; a hyny mae'n debyg am fod y seremoniau Iuddewig a'r seremoniau Pabaidd mor debyg i'w gilydd. Yr oedd llawer o debygolrwydd rhwng y ddwy eglwys o ran y gwisgoedd offeiriadol ac addurn yr allorau. Yr oedd y Pabyddion mor seremoniol a'r Iuddewon; ac nid oedd yn rhyfedd i'r Mynachod ofni i'r werin gasglu fod y defodau Iuddewig mor fuddiol â'r defodau Pabaidd. Cafodd yr Iuddewon eu halltudio o Loegr yn yr unfed ganrif ar ddeg yn ol mympwy Canute y Goresgynwr. Cawsant eu croesawu yn ol gan William y Gorchfygwr, a chawsant amryw freintiau yn ei amser ef a'i feibion. Yn ystod hyny o seibiant, cynyddodd eu golud drwy eu diwydrwydd a'u gofal. Trethwyd hwy wedi hyny yn y modd mwyaf gorthrymus er talu treuliau y rhyfel cartrefol fu rhwng Stephen a Matilda. Yr oedd yn ddyfais gyffredin i'w cyhuddo o droseddau dychymygol er cael achlysur i'w dirwyo, a dwyn eu heiddo oddiarnynt: ond yr oeddynt er pob trais yn ddyfal mewn diwydrwydd yn eu galwedigaethau. Yn amser Harri yr Ail galwyd Senedd i Northampton er arosod treth tu ag at draul un o ryfeloedd y groes; a rhoddwyd baich o driugain mil o bunau ar yr Iuddewon, pan nad oeddid yn gofyn ond deng mil a thriugain oddiar holl ddeiliaid ereill y deyrnas. Yr oeddid felly yn codi y can' cymaint ar bob Iuddew ag oeddid yn godi oddiar ei gymydog Cristionogol. Ar ddydd coroniad Richard aeth nifer mawr o'r Iuddewon tua Mynachlog Westminster, yn eu gwisgoedd gwychaf, ag anrhegion drudfawr yn eu dwylaw, er anrhydeddu y brenin, a dangos eu ffyddlondeb i'r llywodraeth: ond gwylltiwyd cenfigen gwreng a boneddig yn eu herbyn; a rhoddwyd cyhoeddiad allan na oddefid i'r un "Iuddew" fyned i fewn i'r Fynachlog i weled defod y coroniad; eithr anturiodd rhai o honynt i mewn ar draws y gwaharddiad; a pharodd hyny i'r offeiriaid a'r werin ymgynddeiriogi i'w herbyn yn waeth nag o'r blaen; a lluniwyd cynllun i daenu y gair drwy'r deyrnas fod y brenin newydd am eu dyfetha; a llofruddiwyd miloedd o honynt, ac anrheithiwyd

eu meddiannau. Llosgwyd, neu ddrylliwyd pob annedd a phob masnachdŷ oedd ganddynt yn Llundain ; ond dichon mai yn York y bu y gyflafan fwyaf arswydol. Yn nghanol y lladd a'r llosgi fu yno, llwyddodd rhai canoedd o honynt i ddianc i'r Castell am nodded, ond ymosododd y werin ar y Castell, ar ol iddynt ladd pob un o bob oed ac o bob rhyw oedd wedi methu dianc yno. Deallodd y trueiniaid gwarchaedig nad oedd dim gobaith am eu bywyd, er yn y castell ; ac wedi iddynt ymgynull i ystafell y cyngor, cododd eu Rabbi dysgedig ar ei draed, ac anerchodd hwynt mewn llais, a chydag agwedd o fawredd a galar fel y canlyn : "O wŷr o Israel. Y mae Duw ein tadau yn hollwybodol. Pwy a ddywed wrtho, Pa beth yr wyf yn wneuthur. Y mae Ef heddyw yn gorchymyn i ni farw er mwyn ei gyfraith, y gyfraith ag ydym wedi gadw drwy ein holl gaethiwed yn mysg pob cenedl ; ac am yr holl ddyddanwch a gawsom o honi, a'r gobaith y mae wedi roddi i ni am fywyd tragywyddol, a allwn ni lai na marw er ei mwyn. Caiff ein holoeswyr wybod ein bod wedi selio ei gwirioneddau â'n gwaed ; a bydd i hyny nid yn unig brofi ein cywirdeb iddi, ond nerthu holl wasgaredigion Israel. Y mae angau yn awr o flaen ein llygaid. Nid oes i ni ond dewis marwolaeth esmwyth ac anrhydeddus. Os syrthiwn i ddwylaw ein gelynion (ac nid oes modd i ni ddianc) bydd ein hangau yn greulawn a gwaradwyddus, oblegyd y mae y Cristionogion hyn, ag ydynt yn darlunio Yspryd Duw fel colomen, ac yn ymddiried yn yr 'addfwyn Iesu,' yn sychedu am ein gwaed, ac y maent fel bleiddiaid yn gwylio o'n hamgylch. Diangwn rhag eu poenydiau, ac offrymwn â'n dwylaw ein hunain, fel y gwnaeth hynafiaid i ni o'n blaen, ein bywydau i'n Creawdwr. Ymddengys ei fod yn galw am danom, na fyddwn annheilwng o'i alwad.' Yr oedd yr athraw dysgedig yn wylo wrth roddi ei gyngor trwm ; ond darfu iddynt bron oll ateb ei fod wedi llefaru yn dda, ac y safent at ei gyngor. Dymunodd yntau i'r rhai oeddynt yn anghymeradwyo ei gyngor ymneillduo mewn heddwch, ac ymadawodd rhai. Yr oedd erbyn hyn yn nos, ac yn oriau

y tywyllwch, aberthasant eu hunain yn ol ei gyngor. Yn gyntaf oll lladdodd y gwŷr eu gwragedd a'u plant, wedi hyny lladdasant eu gilydd; syrthiodd yr euwocaf o honynt drwy law y Rabbi, ac yntau ei hun oedd yr olaf i farw. Nid oedd yno na gwaedd nac ochenaid er bradychu i'r gwarchaewyr yr hyn oedd yn cymeryd lle o fewn muriau y castell. Yr oeddynt cyn marw wedi llosgi yr oll o'u heiddo a fedrent losgi, ac wedi claddu yr hyn na fedrent losgi. Gyda'r wawr dranoeth dyma'r werin yn ymgynddeiriogi i adnewyddu eu rhuthr ar y castell; ond gydag iddynt ddechreu, yr oedd fflamau yn tori allan o bob cwr o hono, ac ychydig drueiniaid yn gwyllt-redeg ar ei ragfuriau, gan ymbil am dosturi, a dywedyd y cymerent eu bedyddio i Gristionogaeth os arbedid eu bywyd. Ammodwyd eu harbed, ond iddynt agor y pyrth. Agorasant y pyrth, ond erbyn i'r ymosodwyr ruthro i mewn, a methu cael y golud oeddynt wedi fwriadu anrheithio, aethant yn fwy cynddeiriog nag erioed, torasant eu hammod â'r rhai oeddynt wedi ymrwymo eu harbed, a darfu iddynt eu poeni oll i farwolaeth. Yr oedd tros bum' cant wedi syrthio fel merthyron gwirfoddol, oblegyd fod yn well ganddynt farw felly na gwadu eu crefydd. Lladdwyd canoedd heblaw hyny gan y werin a'r offeiriaid, y rhai oeddynt yn fwy llofruddiog na Hamaniaid dyddiau Mordecai. Llofruddiwyd ar ol hyny dros saith gant yn Llundain, am fod un o honynt yn gofyn llôg rhy uchel am ei arian. Crogwyd ar ol hyny ddau gant a thriugain a saith o Iuddewon dan y cyhuddiad dibrawf fod rhyw rai o honynt wedi niweidio yn rhyw ddull arian y deyrnas. Crogwyd tua'r un pryd haner cant o honynt yn Norwich, dan yr esgus fod rhyw un wedi llofruddio plentyn Cristionogol.

Ar ddychweliad Richard o'i grwydriadau a'i garchariadau pan ar ei ffordd adref o Ryfel y Groes, mynodd gyhoeddi fod yr Iuddewon oll yn eiddo i'r goron. Yr oedd yn disgwyl gallu gwneud arian o honynt at ei angenion. Dangosodd y brenin John garedigrwydd iddynt yn nechreu ei deyrnasiad, ond profodd ei ymddygiad ar ol hyny mai ei amcan oedd rhoddi cyfle

iddynt i gasglu golud er iddo ef gael ei ddwyr
Darfu i hyd yn nod y Barwniaid gwrol a rhyddfi
ant y *Magna Charta* gan y brenin John, er diog
pob Prydeinwr, anrheithio yr Iuddewon yn ddi
cael modd i adgyweirio caerau Llundain, ag oedd
eu bylchu a'u hysigo yn fawr drwy y rhyfel cart
i Harri y Trydydd, ar ol eu trethu nes oedd yn m
wedi cael y cyfan a feddent, eu *gwerthu*, ïe, eu
frawd Richard, ac y mae gweithred y gwerthiad
hyd heddyw ; ond pan etholwyd Richard yn fren
iaid, gorfu iddo adael ei Iuddewon ar ol, fel *fixtu*
i goron Lloegr. Gwerthodd Harri hwynt yr
tywysog Edward, a gwerthodd Edward hwy i ra
wyr Ffrainc, ac yr oedd pobl Lloegr yn cymeradw
iadau hyny. Seliwyd deddf y pryd hyny nad oed
feddu "tai na thiroedd," a chymerwyd pob eiddo
waith oddiarnynt, a pharhawyd i drymhau eu go
nes o'r diwedd y gwnaed cyfraith i'w halltudio oll
chymerwyd y gweddill o'u heiddo oddiarnynt w
ymaith. Yr oedd yn alaethus eu gweled yn cyc
flwyddyn 1290. Yr oedd tros un fil ar bymtheg
gorfod troi allan heb wybod pa le i droi, oblegyd
gorthrymus Lloegr yn gweithio mor gryf drwy w
Europe. Bernir i dros eu haner golli eu bywyda
hanol wasgfeuon cyn dyfod o hyd i unrhyw gartre
ganddynt lyfrgelloedd mawrion yn Rhydychain a
chadwyd eu llyfrau gwerthfawr i gyfoethogi llv

loc, fod Ben Israel yn awyddus am ad-dderbyniad ei genedl i Loegr: gwahoddwyd ef i ddyfod drosodd i osod ei gynllun o flaen y llŷs, a darfu i ddysg a boneddigeiddrwydd yr Iuddew dieithr enill parch a ffafr Cromwell a'i weinidogion. Sylwedd ei ddeisyfiad oedd am i'r Iuddewon

1. Gael eu derbyn dan amddiffyniad y gyfraith fel ei deiliaid eraill.

2. Cael rhyddid i godi synagogau ac addoli ynddynt.

3. Cael lle beddrod.

4. Cael trwydded i fasnachu fel eraill.

5. Cael cymeryd llŵ o ffyddlondeb i'r Llywodraeth.

6. Cael barnwyr o'u cenedl eu hunain i benderfynu pob cwynion perthynol i gyfraith eu Duw.

7. Cael dileu yr hen gyfreithiau oedd i'w herbyn.

Cynaliwyd cyngor o brif farnwyr Lloegr, a phrif swyddwyr Llundain, a llu o dduwinyddion, a chyfreithwyr, a marsiandwyr ac eraill i ystyried deisyfiad Ben Israel; ac ar ol peth croes-resymu, cafodd ei ganiatau, ac yn fuan ar ol hyny dechreuodd Iuddewon ymfudo i Loegr, ac o hyny hyd heddyw y maent wedi cael cartref lled heddychol a diogel, dan amddiffyn cyfreithiau Lloegr; er fod llawer o ryddfreiniau gwladol yn cael eu cadw oddiwrthynt, gyda gradd o ddirmyg, a hyny yn unig oblegyd rhagfarnau eglwysig.

Cawsant bron yr un driniaeth drwy holl Deyrnasoedd Europe ag oeddynt yn gael yn Lloegr. Alltudiwyd hwy yn y dull creulonaf o Ffrainc a Spaen a Thalaethau eraill. Dichon mai yn Poland, pan oedd yn deyrnas annibynol, y cawsant fwynhau y rhyddid helaethaf, ac y cawsant fwyaf o freintiau gwladol a chrefyddol. Yr oedd ganddynt yno, nid yn unig anneddau cysurus, a masnachdai cyfleus, ond synagogau helaeth ac athrofaon enwog; ond darfu i Ymerawdwr Russia, pan y goresgynodd ac y darniodd Poland, eu difreinio a'u hanrheithio a'u caethiwo yn y modd barbareiddiaf. Buasai yn decach ac yn dynerach iddo eu dyfetha oll ar unwaith na'u gorthrymu yn y dull y gwnaeth. Cymerodd eu synagogau,

a'u hysgolion, a'u haneddau, a'u meusydd, a'u heiddo oll
arnynt; cauodd hwy allan o bob masnach, a chelfydd
galwedigaeth, a phob gwaith, hyd yn nod y gwasanaeth
dori ceryg ar y ffyrdd; rhwystrodd hwy i ymfudo o'r wl
chyfyngodd hwy yn dŷn i gylch bychan o dir anial ac
yn nghanol y wlad, lle nad oedd modd i'w haner gael
iaeth, a lle y trengasant yn gyflym wrth y miloedd, am
oedd dim modd iddynt ddianc oddiyno. Yr oedd creulon
gwaethaf tywyllwch y canol-oesau yn dynerach na barba
dra diweddar Ymerawdwr Russia a'i weinidogion. Y m
deg i ni addef, er fod hyny yn rhyfedd, eu bod wedi cael
ddirmyg, a mwy o degwch a diogelwch drwy yr oes
weddaf, yn nhalaethau Mahomet nag a gawsant mewn g
ydd Cristionogol.

Y mae yn anrhydedd uchel i Lywodraeth yr Unol
aethau mai hi oedd y gyntaf i estyn ac i ddiogelu iddyn
lawn ryddid, a phob rhyddfreiniau gwladol, drwy eu gw
yn etholadwy i'r swyddau uchaf, nid yn unig yn mhob di
thalaeth, ond yn y Gynghorfa a'r Weinyddiaeth gyffredino
mae Lloegr yn awr wedi dilyn siampl America. Y m
ffordd i'r Senedd yno o'r diwedd yn rhydd; eithr nid oes
ychydig iawn o flynyddoedd er pan gawsant eu rhyddfr
Y maent wedi cael eu codi hefyd i'r un rhyddid yn Ffra
Belgium ac amryw Deyrnasoedd eraill; ac y mae lle i g
fod hyd yn nod Babyddion poethaf a thywyllaf yr oes bre
yn condemnio, os nid yn ffieiddio, ymddygiad eu heglwys
at yr Iuddewon trwy yr oesau a aethant heibio.

4. Y maent, er eu holl wasgfeuon, heb eu llwyr ddyf
Y maent yn gyffelyb i'r berth a welodd eu blaenor yn H
yn llosgi yn dân, ond heb eu difa. Y maent wedi bod d
oesau mewn myrdd o orthrymderau, yn nghanol fflamau
igaeth, ond y maent heb eu difodi; ac y maent yn aw
fwy lliosog nag oeddynt pan yn cychwyn o'r Aifft, yn fw
osog nag odddynt pan yn cymeryd meddiant o wlad yr
cwid. Y maent, yn ol y cyfrif isaf, yn dair miliwn a han

yn ol y cyfrif uchaf yn dros chwe' miliwn a haner ; ac y maent yn ol gweledigaeth Balaam, er eu holl grwydriadau, " yn preswylio eu hun, ac heb eu cyfrif yn nghyd a'r cenedloedd." Y mae eu cadwraeth, ac yn enwedig eu cadwraeth ar " wahan " felly oddiwrth bobloedd eraill i'w briodoli i ofal Rhagluniaeth, i ewyllys da Preswylydd y Berth ; ac y mae pob Iuddew credinol, yn barod i gydnabod gyda gwylder a pharch bwysfawredd yr hen dystiolaethau—" Trugareddau yr Arglwydd yw na ddarfu am danom ni." " Myfi yr Arglwydd ni'm newidir, am hyny ni ddyfethwyd chwi meibion Jacob."

5. Y mae y genedl yn rhagori o ran amryw rinweddau cymdeithasol. Yr ydym wedi cyfeirio yn barod at eu beiau, a rhaid addef fod bydolrwydd, a balchder, a rhagfarnau pharisead yn perthynu iddynt fel i holl deuluoedd y cwymp ; ond dylid cydnabod hefyd fod rhagoriaethau gwerthfawr yn perthynu i'w cymeriad. Y maent yn enwog am eu helusenau i'r weddw a'r amddifad, i'r afiach a'r methedig, i'r tlawd a'r dieithr. Y mae graddau dymunol o anwyldeb yn llenwi eu cylchoedd teuluaidd, sef parch tyner i'r oedranus, megys y taid a'r nain, anrhydedd ac ufudd-dod i rieni, cariad rhwng brodyr a chwiorydd. Y mae gofal mawr yn eu mysg i egwyddori ieuenctyd mewn gwybodaeth a rhinwedd, ac yn enwedig i ddysgu gweithgarwch a diwydrwydd iddynt fel y gallont enill bywoliaeth anrhydeddus heb bwyso ar eraill. Anfynych iawn y cyfarfyddir neb o honynt yn cardota o dŷ i dŷ, neu yn y pyrth, a chonglau yr heolydd, a mwy anfynych na hyny y ceir neb o honynt yn euog o'r troseddau duaf, megys tŷ-doriad, neu ladrad penyffordd, neu rwygiad llogellau yn nhyndra y dorf, neu buteindra, neu lofruddiaeth Y maent wedi bod drwy bob profedigaethau yn hynod am eu ffyddlondeb i'r llywodraethau fyddent yn eu noddi, gan siriol ddwyn eu cyflawn ran o'u holl feichiau. Ac y maent wedi bod yn ofalus, hyd y goddefai amgylchiadau iddynt, i gadw eu gwyliau arbenig a'u defodau crefyddol. Y maent yn mynwesu y parch uchaf i goffadwriaeth eu tadau, ac y mae hyny wedi bod yn gymhell-

iadol iddynt i dderbyn eu haddysg, ac i gadw eu gorchym
ion. Y mae eu rhinweddau yn cryfhau yn gyflym yn wy
lliosogiad eu breintiau gwladol. Y maent yn dyfod yn fwy
diragfarn a rhyddfrydig, ac yn fwyfwy dysgedig a haelfr
a defnyddiol. Y mae ieuenctyd eu teuluoedd penaf yn s
edig am ragorfreintiau y prif-athrofaon; ac am fod yn y
barth blaenaf fel astudwyr y celfyddydau a'r gwybodaetha
phob cangen o athroniaeth; ac y maent yn bryderus am
llenwi cylchoedd o ddefnyddioldeb ar feusydd celfyddy
masnach, daeareg a serydddeg, anianyddiaeth y corff a'r m
wl, a llywod-ddysg a phob diwygiadau cymdeithasol.

Wrth derfynu yr ydym am wneud pedwar o

AD-SYLWADAU.

1. Fod hanes yr Iuddewon yn brawf cryf ac eglur o ysp
oliaeth yr Hen Destament. Y mae ei broffwydoliaethau
y genedl yn lliosog a manwl. Proffwydwyd am eu dirywia
a'u llygredigaethau. Proffwydwyd am oresgyniad eu gw
a mathriad eu tir gan y cenedloedd, a gwarchaead eu di
oedd, a dinystr eu teml, a dylliad eu huchelfeydd, a'u cys
oedd, a'u palasau, a'u porthladdoedd, a'u hamddiffynfe
Proffwydwyd am iaith ddieithr, a gwyneb caled, a dan
haiarn, ac ewinedd pres eu gelynion. Proffwydwyd am y
yn yn anrheithio ac yn halogi y lle sanctaidd. Proffwyd
am eu gorthrymderau digyffelyb, ac am eu gwasgariad d
holl deyrnasoedd y ddaear, a'u gogryniad yn mysg yr holl g
edloedd. Proffwydwyd am drychineb ar drychineb yn
goddiwes nes gadael eu gwlad yn anrheithiedig ac anghy
edd. Proffwydwyd am eu crwydriadau diorphwys dan o
rymder y gelyn, ac am eu cyndynrwydd gwrthnysig yn er
yr Efengyl. Y mae yr hen broffwydoliaethau hyny am d
ynt wedi eu cyflawni i'r llythyren, ac y mae hyny yn profi
y proffwydi wedi llefaru trwy ddwyfol ysprydoliaeth. Y
cyflawniad holl fanylion y fath broffwydoliaethau yn un
profion sydd genym o ddwyfoldeb goruchwyliaeth yr Hen I
tament; ac y mae hanes yr Iuddewon, wrth brofi yspry

iaeth y proffwydi, yn profi ar yr un pryd ddwyfoldeb Cristionogaeth, oblegyd yr oedd y rhan bwysicaf o weinidogaeth y proffwydi yn cyfeirio at Grist a'i deyrnas. Yr oedd eu goruchwyliaeth hwy yn ddarpariadol at oruchwyliaeth y Messiah, ac wrth addef eu hysprydoliaeth hwy, yr ydys ar yr un pryd yn addef dwyfoldeb Cristionogaeth. Y mae addefiad o ddwyfoldeb y naill oruchwyliaeth, yn addefiad o ddwyfoldeb y llall hefyd, ac os gwedir dwyfoldeb y naill, yr ydys ar yr un pryd yn gwadu dwyfoldeb y llall; oblegyd y mae eu perthynas â'u gilydd y fath, fel y mae y naill yn dwyn tystiolaeth dros y llall o'i dwyfol osodiad.

2. Fod a fyno Rhagluniaeth gyfiawn a doeth y nef ag ymddygiadau ac ysprydoedd plant dynion. Y mae ei llygaid yn barhaus arnynt. Y mae yn adwaen eu hegwyddorion a'u bucheddau; ac y mae yn sicr o dalu iddynt yn ol eu gweithredoedd. Yr ydym yn gweled fel yr oedd yn gwobrwyo yr Iuddewon am eu hufudd-dod a'u diwydrwydd a'u ffyddlondeb, ac fel yr oedd yn eu cospi am eu gwrthryfel a'u hanrhefn a'u hanffyddlondeb. Yr oedd bob amser yn ffyddlawn i'w deddf a'i chyfammod, yn rhoddi ei gwên yn ol ei haddewid, a'i gwg yn ol ei bygythiad. Gwnai "dir ffrwythlawn yn ddiffrwyth am ddrygioni y rhai a drigent ynddo." Medrai droi y tir cras yn ffynonau dyfroedd i'r diwyd a'r diolchgar. Medrai agor i'r cyfryw afonydd ar leoedd uchel, a gwneud y crasdir yn ffrydiau dyfroedd, a gosod cedrwydd, a sittah, a myrtwydd, ac olewydd yn yr anialwch, a ffynidwydd a ffawydd a box yn nghyd yn y diffeithwch, a gwneud i'r rhai gostyngedig a gweithgar aros yno, a darparu iddynt ddinas yno, a hau eu meusydd yno, a phlanu gwinllanoedd yno, y rhai a ddygant ffrwyth toreithiog. "Ni âd i'w hanifeiliaid leihau," bendithia hwy fel yr amlhaont y ddirfawr. Ond tywallt ddirmyg ar foneddigion am eu drygioni, a gwna iddynt grwydro mewn anialwch heb ffordd, tra y cyfyd yr isel o'i gystudd, a gwna iddo deuluoedd fel praidd. Y rhai uniawn a welant hyn ac a lawenychant, a phob anwiredd a gau ei safn. Y mae y doeth yn

newynog, yn ddigartref, ac yn ddigysur, ac yn ddigymeriad. Pan oedd yn gwrthod gwrando ar lais yr Arglwydd ei Duw, yr oedd yn "felldigedig" yn mhob peth, ac yn mhob man, yn y ddinas ac yn y maes, yn ei chawell a'i thoes, yn ffrwyth ei bru, a ffrwyth ei thir, yn nghynydd ei gwartheg, a deadellau ei defaid; yn ei dyfodiad i mewn, a'i mynediad allan : yr oedd ei nefoedd uwch ei phen yn bres, a'r ddaear oddi tani yn haiarn ; yr oedd trallod a cherydd yn yr hyn oll y dodai ei llaw arno ; yr oedd haint a darfodedigaeth, a chryd poeth, a llosgfa, a gwres, a chleddyf, a diflaniad, a mallder, a melldith yn ei dilyn nes ei dyfetha. Ond pan oedd yn gwrando ar lais yr Arglwydd ei Duw, ac yn cadw ei orchymynion ef, yr oedd yn "fendigedig" yn mhob peth, ac yn mhob man. Yr oedd yr Arglwydd yn agor ei drysor daionus iddi, yn rhoddi gwlaw i'w thir yn ei amser, ac yn bendigo holl waith ei llaw, ac yn ei gosod yn uwch na holl genedloedd y ddaear.

3. Ffaith nodedig yn hanes diweddar y genedl yw—Mai y rhai mwyaf selog am erlid yr Iuddewon oeddynt y rhai mwyaf selog am Iuddeweiddio Cristionogaeth. Y rhai gwylltaf a phoethaf am ddiraddio, a difreinio, ac anrheithio a llofruddio yr Iuddewon oblegyd eu phariseaeth, oedd Phariseaid poethaf a manylaf Eglwys Groeg ac Eglwys Rhufain. Ac y mae yn eithaf amlwg iddynt drwy eu hanghysondeb a'u creulondeb godi tramgwyddiadau dirif ar ffordd llwyddiant Cristionogaeth. Nid drwy phariseaeth felly y mae enill yr Iuddewon, na neb eraill, o gyfeiliornadau eu phariseaeth. Y mae y phariseaid fu'n gorthrymu yr Iuddewon wedi bod yn offerynol i galedu llawer calon obeithiol, ac i ddyrysu llawer meddwl ymofyngar, a'i wthio i lawr i lithrigfa saduceaeth ac anffyddiaeth.

4. Yr ydym wedi crybwyll ein barn fod poblogaeth gwlad Canaan yn amserau ei llwyddiant yn mhell dros "ddeng miliwn." Yr ydym yn gwybod fod y cyfrif hyny yn uwch na'r cyfrif cyffredin ; ond nis gallwn feddwl ei fod yn rhy uchel. Yr oedd gan Jehosaphat brenin Judah fyddin sefydlog o bron

1. Beth ddaeth o'r llwythau na ddychwelasant o wledydd eu caethiwed yn amseroedd Zorobabel, ac Ezra, a Nehemiah? Yr argraff cryfaf ar ein meddwl yn awr yw iddynt ymgyfathrachu ac ymgymysgu â'r cenedloedd; ac iddynt o radd i radd golli eu cenedlgarwch, a'u hiaith, a'u hadgofion, a'u crefydd, a'u bod erbyn hyn wedi eu colli yn anadferadwy. Yr oedd llaweroedd o'r rhai penaf o honynt wedi "priodi gwragedd dieithr" cyn amser Ezra; ac yr oedd eu hanmharodrwydd i ddychwelyd i'w gwlad yn wyneb cyhoeddiadau anogaethol Cyrus, a Darius, ac Artaxerxes, a hyny gyda chymdeithion mor enwog am eu doethineb, a'u gwladgarwch, a'u duwioldeb, yn profi fod gwres eu cenedlgarwch wedi oeri, fod cerddi Seion wedi myned allan o arferiad yn eu mysg, a bod eu cysylltiadau â'r cenedloedd wedi myned yn lliosog, ac yn anhawdd eu datod. Dichon y gall seithwyr, adnabyddus o'u hiaith a'u hynafiaethau, ddyfod ryw dro o hyd i olion Iuddewaeth yn rhai o wledydd pell y Dwyrain; ond nid ydym yn disgwyl y deuir byth o hyd i unrhyw lwyth digymysg o'r hen wasgaredigion crybwylledig.

2. A gesglir yr Iuddewon sydd heb eu colli yn ol i'w gwlad? Y mae llawer o esbonwyr y proffwydoliaethau yn barnu y cânt eu casglu i Ganaan, ac y bydd gorfoledd mawr drwy'r nef a'r ddaear ar adeg eu hadferiad. Y mae y rhan fwyaf o honynt hwy eu hunain yn credu y cânt eu dychwelyd. Y mae ganddynt deimladau cynes tu ag at Jerusalem, a hen leoedd enwog gwlad eu tadau. Byddai yn dda gan ein calon, ar lawer golwg, iddynt gael eu hadsefydlu fel cenedl yn hen wlad yr addewid, gwlad hoff eu hynafiaid, gwlad gogoniant eu teml, a gwlad beddau eu proffwydi; ond yr wyf yn credu fod anrhydedd llawer uwch na hyny, a chysur llawer purach na hyny yn eu haros. Yr wyf yn credu y cânt eu codi i barch ac anrhydedd drwy holl wledydd eu hymdaith, ac y byddant yn ddefnyddiol iawn i'r cenedloedd dan oruchwyliaeth yr efengyl, fel y bu eu tadau dan yr hen oruchwyliaeth.

3. Y gofyniad arall, a'r mwyaf pwysig yw, A enillir yr Iuddewon i dderbyn yr efengyl, ac i gofleidio Cristionogaeth?

Yr ydym yn credu yn ddiysgog y cânt eu henill, ac y
beithio fod amser dedwydd eu galwedigaeth wrth y drws
chawn amser yn awr i liosogi tystiolaethau er profi hyn
boddlonwn ar un dystiolaeth, sef ymresymiad Paul gyda
ar eu hadferiad. Wrth esbonio i'r Ephesiaid fel yr oedd
ewon a chenedloedd i gael eu cymmodi, a'u dwyn at eu g
a'u gwneud yn "un" drwy waed Crist, dywed—

"Canys Efe yw ein tangnefedd ni, yr hwn a wnaeth y
yn un, ac a ddatododd ganolfur y gwahaniaeth rhyngo
ac a ddirymodd drwy ei gnawd ei hun y gelyniaeth, sef
y gorchymynion mewn ordeiniadau, fel y creai y ddau
ei hun yn un dyn newydd, gan wneuthur heddwch ; ac
cymmodai y ddau â Duw yn un corff drwy'r groes, wedi
y gelyniaeth trwyddi hi."

Er lleihau rhagfarn y Rhufeiniaid tu ag at yr Iuddew
mae yn rhesymu fel y canlyn : "O herwydd paham os
eu cwymp hwy yn olud i'r byd, a'u lleihad hwy yn olud i'
edloedd ; pa faint mwy y bydd eu cyflawnder hwy ? *
Canys os yw eu gwrthodiad hwy yn gymmod i'r byd,
fydd eu derbyniad hwy, ond bywyd o feirw ? Canys os
dorwyd ymaith o'r olewydden, yr hon oedd wyllt wrth
iaeth, a'th impio yn erbyn naturiaeth mewn gwir olewyd
pa faint mwy y caiff y rhai hyn sydd wrth naturiaeth eu hi
i mewn yn eu holewydden eu hun. Canys ni ewyllysiwn,
yr, eich bod heb wybod y dirgelwch hwn, ddyfod dallin
ran i Israel hyd oni ddel cyflawnder y cenedloedd i mewn
felly holl Israel a fydd cadwedig. Canys megys y b
chwithau gynt yn anufudd i Dduw, eithr yr awr hon a
och drugaredd trwy anufudd-dod y rhai hyn, felly hwy
hefyd yr awr hon a anufuddhasant, fel y caent hwythau
garedd trwy eich trugaredd chwi. O ddyfnder golud d
ineb a gwybodaeth Duw ! mor anchwiliadwy yw ei farna
a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt ! Canys o hono
thrwyddo ef, ac iddo ef y mae pob peth. Iddo ef y byd
gogoniant yn dragywydd."

# PREGETHAU.

## "YSPRYD A NERTH ELIAS."

"Ac efe a â o'i flaen ef yn yspryd a nerth Elias."—Luc 1. 17.

Yr angel Gabriel lefarodd y greiriau hyn wrth Zacharias, pan oedd yn arogldarthu yn y deml; ac y maent yn rhan o'r rhagfynegiad am enedigaeth a gweinidogaeth ei fab, Ioan Fedyddiwr. Cyfeirir at dri o bersonau. Efe, sef Ioan, a â o'i flaen ef, sef Iesu, yn yspryd a nerth Elias, sef Elias y proffwyd. Nid ydym yn bwriadu llefaru dim y tro hwn am Ioan, nac am Iesu; ond am Elias, yr hwn a grybwyllir yma gan yr angel, fel Ioan yr Hen Destament. Cynygiwn ddarlunio yn

I. "Yspryd a nerth Elias."

II. Yr anrhydedd a gafodd gan ei Dduw.

III. Y prif addysgiadau i ni oddiwrth ei hanes.

I. "Yspryd a nerth Elias."

1. Yr oedd yn yspryd llawn o ofn Duw. Yr oedd Elias yn un o breswylwyr Gilead, ond nid oes genym ddim o hanes ei febyd. Yr oedd ei grefydd yn ei nerth pan y mae yn cael ei enwi gyntaf yn y Beibl. Y mae cyfeiriad yr angel ato yma yn dystiolaeth uchel ac anrhydeddus iawn am ei dduwioldeb. Yr oedd mor llawn o ofn Duw, ac o gariad ato, ac o barch i'w ddeddfau, fel yr oedd yr Arglwydd yn cael ei fynych alw yn yr oes hono, gan gredinwyr ac eilunaddolwyr hefyd, yn Dduw Elias, ac yn Arglwydd Dduw Elias. Ac y mae pob

crybwylliad sydd genym am ei yspryd a'i weinidogaeth yn brawf, neu amlygiad o'i awyddfryd i wybod meddwl yr Arglwydd, i gyflawni ei orchymynion, i blygu i'w drefniadau, ac i dderchafu ei ogoniant.

2. Yr oedd yn dwyn sêl mawr dros achos Duw. Yr oedd enw a gogoniant ei Dduw yn agos iawn at ei galon. Yr oedd ganddo ofal dwys am wasanaeth ei allor, ac yr oedd yn teimlo y pryder mwyaf am ddiogelwch ei arch. Yr oedd ei enaid yn gofidio am fod llwythau Israel yn gwrthod cyfammod eu Duw, ac yn distrywio ei alloran, yn cablu ei enw, ac yn lladd ei broffwydi, ac yn mathru ei ordinhadau dan eu traed. Yr oedd y brenin Ahab y pryd hyny wedi ymwerthu i wneuthur drwg yn ngolwg yr Arglwydd yn hyfach na neb a fuasai o'i flaen. Efe a wnaeth yn ffiaidd iawn gan fyned ar ol delwau, o herwydd Jesebel ei wraig a'i hanogai ef i hyny. Yr oedd Jesebel mor selog dros eilunaddoliaeth fel y mynodd ladd holl broffwydi yr Arglwydd, oddieithr can' wr ag oedd Obadiah ffyddlon, pen teulu Ahab, wedi anturio guddio, bob yn ddeg a deugain, mewn dwy ogof, a'u cynal yno. Yr oedd proffwydi Baal pedwar cant a deg a deugain, a phroffwydi y llwyni, pedwar cant, yn cael rhodio yn rhydd mewn rhwysg ac awdurdod, ac yn cael bwyta ar fwrdd Jesebel, ar draul y wlad, drwy amser y newyn. Nid oedd neb drwy'r wlad yn beiddio cyffesu enw yr Arglwydd, ac yr oedd Elias y pryd hyny yn tybied fod ei holl broffwydi, ond ef ei hunan yn unig, wedi cael eu lladd, ac nad oedd neb drwy'r holl wlad wedi cael eu cadw heb blygu eu gliniau i Baal. Ei farn a'i deimlad y pryd hyny oedd fod achos yr Arglwydd wedi cael ei hollol ddistrywio, ac yr oedd hyn yn rhwygo ei galon am fod ei sêl mor gryf dros enw a gogoniant ei Dduw.

3. Dyoddefodd lawer dros achos ei Dduw. Nid oedd na chenedl na breniniaeth nad oedd Ahab wedi danfon swyddwyr iddi i chwilio am dano er ei ferthyru o'r ffordd; a phan dywedent nad oedd efe yno, Ahab a dyngai y freniniaeth hono, a bu y proffwyd ar ffo, o gymdeithas ei gyfeillion, yn gorfod

ymguddio o fan i fan, am fisoedd a blynyddoedd, rhag llid y brenin. Ar ol gwasanaeth poeth-offrwm cymanfa fawr Pen Carmel, anfonodd Jesebel genad ato gan ddywedyd, "Fel hyn y gwnelo y duwiau i mi, ac fel hyn y chwanegont, oni wnaf erbyn y pryd hyn y foru, dy einioes di fel einioes un o honynt hwy." Yr oedd mewn cynddaredd llidiog am ddial gwaed ei hoffeiriaid; ond nid oedd yn medru cynllwyn mor effeithiol am fywyd Elias, ag yr oedd yn medru cynllwyn am fywyd Naboth y Jezreeliad. Diangodd Elias i anialwch Beerseba, ac eisteddodd dan ferywen, a deisyfodd iddo gael marw, gan ddywedyd, "Digon yw, yn awr, Arglwydd, cymer fy einioes, canys nid wyf fi well na'm tadau." Ymollyngodd yn ei ddigalondid i hiraethu cael myned at ei dadau a'i frodyr oeddynt wedi blaenu i'r orphwysfa. Ac fel yr oedd efe yn cysgu yn ei ludded dan y ferywen; wele, angel a gyffyrddodd ag ef, ac a ddywedodd wrtho, Cyfod a bwyta; ac efe a edrychodd, ac wele deisen wedi ei chrasu ar farwor, a phiolaid o ddwfr wrth ei ben ef, ac efe a fwytaodd ac a yfodd ac a gysgodd drachefn. Yr oedd teisen newydd ei chrasu, a phiolaid o ddwfr yn wledd ardderchog yn yr adeg hono o newyn, ac yr oedd ei gwsg yn felus iawn dan gysgod y ferywen yn nistawrwydd yr anial, ar ol cymaint o ludded ac o anhunedd. Cysgodd yno nes i'r angel ei ddeffro yr ail waith; a dywedyd wrtho, Cyfod a bwyta; canys y mae i ti lawer o ffordd: ac efe a gyfododd, ac a fwytaodd, ac a yfodd; a thrwy rym y bwyd hwnw y cerddodd efe ddeugain niwrnod a deugain nos, hyd Horeb, mynydd Duw, mynydd y berth yn llosgi, a mynydd rhoddiad y gyfraith. Bu yno am enyd, yn lletya mewn ogof; ond diameu iddo gael lluniaeth yno drwy drefniad angylion. Rhaid fod teithiau meithion felly drwy anial-leoedd yn rhai o lafur a lludded; a rhydd y crybwylliadau a gawn am danynt ryw awgrym i ni o'r hyn a ddyoddefodd yn ei gorff ac yn ei feddwl oblegyd ei sêl dros achos ei Dduw.

4. Yr oedd yn ddyn o yspryd gostyngedig, difalch, a dirodres. Yr oedd Jesebel a'i gau-broffwydi, a'r brenin a'i gen a

**au, a phawb drwy'r wlad, yn ei adwaen fel " gwr blewog ymwregysu â gwregys croen am ei lwynau. Nid oe treulio amser i blethu ei wallt, nac yn cymeryd traf drwsio ei farf. Nid oedd ganddo fodrwyau ar ei law, na wyn aur am ei wddf, na pherlau drudfawr ar ei ddwyfr gwregys sidan am ei lwynau. Yr oedd ganddo o leiaf wedd ei dymor, fantell drosto, er cludwch rhag y tywydd hawdd casglu mai nid mantell o ysgarlad ydoedd. Yr uwchlaw balchder gwisgiad, ac yn hollol rydd oddiwrt resgarwch rhwysgfawredd. Yr oedd ei wisg, a'i agwe holl ymddangosiad yn eglur ddangos fod ei feddwl ar ei s ac nad oedd ganddo na chwaeth, nac amser at unrhyw**

5. Yr oedd yn ddyn hollol ddidderbyn-wyneb. Pa ddangosodd i Ahab i alw am gymanfa Pen Carmel, d odd Ahab wrtho, "Onid ti yw yr hwn sydd yn blino Is Atebodd yn hyf, " Ni flinais i Israel, ond tydi a thŷ dy da i chwi wrthod gorchymynion yr Arglwydd, ac i ti rodio Baalim." Pan oedd Jesebel drwy ei chynllwynion creu wedi mynu llabyddio Naboth, drwy gau-dystiolaeth dau ion y fall, a phan oedd Ahab wedi myned i waered i fed gwinllan ei gymydog llofruddiedig, aeth Elias i lawr i'w farfod, ac a ddywedodd wrtho, " A leddaist ti, ac a feddia hefyd ? " A dywedodd Ahab, yn nychryn ei euogr wrtho, "A gefaist ti fi, O fy ngelyn ?" Dywedodd yntau, ' ais, oblegyd i ti ymwerthu i wneuthur yr hyn sydd ddrw ngolwg yr Arglwydd, wele fi yn dwyn drwg arnat ti, a dynaf ymaith dy hiliogaeth di, a mi a wnaf dy dŷ di f Jeroboam mab Nebat, ac fel tŷ Baasa mab Ahia, o her y digter trwy yr hwn y'm digiaist, ac y gwnaethost i I bechu. Am Jesebel hefyd y llefarodd yr Arglwydd, gan wedyd, Y cŵn a fwyty Jesebel wrth fûr Jezreel. Y c fwyty yr hwn a fyddo marw o'r eiddo Ahab yn y ddinas hwn a fyddo marw yn y maes a fwyty adar y nefoedd." bregeth i Ahab, y brenin lladronig, llofruddiog, ac eiluna gar, heb ddim gweniaith ynddi. Yn lled fuan ar ol hyny

Ahaziah, olynwr Ahab, wedi syrthio trwy ddellt ei lofft,
n glaf o'i friwiau, efe a anfonodd genadau i ymofyn â
lzebub duw Ecron, a fyddai efe byw o'i glefyd. Aeth
s i gyfarfod y cenadau hyny, a dywedodd wrthynt, Ai am
oes Duw yn Israel yr ydych chwi yn myned i ymofyn â
lzebub duw Ecron? Am hyny, fel hyn y dywed yr Argl-
d wrth y brenin, "Ni ddisgyni o'r gwely y dringaist arno,
gan farw y byddi farw." Nid oedd Elias byth yn newid
madwri er derbyn gwyneb dyn; ond yr oedd yn ei thra-
li yn fanwl ac yn gyflawn fel yr oedd wedi ei derbyn oddi-
ı yr Arglwydd.

Yr oedd yn ddyn mawr ei nerth mewn gweddi. Yr
l ei ffydd yn gref iawn pan y cymerth fachgen marw y
dw o'i mynwes hi, gan ei osod ar ei wely ei hun, ac ymest-
rno dair gwaith; ac yr oedd ei lef yn daer iawn pan y
edodd, "O Arglwydd, fy Nuw, dychweled, atolwg, enaid y
ıgen hwn iddo eilwaith." Ac enaid y bachgen a ddych-
dd iddo, ac efe a ddadebrodd. Yr oedd ei weddi hefyd
ref iawn yn yr odfa fawr ar ben Carmel. Ar ol iddo ad-
lu yr allor, a gwneud y ffos o'i hamgylch, a threfnu'r coed,
rnio'r bustach, a'i osod ar y coed, a thywallt pedwar cel-
id o ddwfr, ar y poeth offrwm, ac ar y coed, a gwneuthur
r dair gwaith drosodd, nes llenwi y ffos o ddwfr, efe a nes-
l, ac a ddywedodd, "O Arglwydd Dduw Abraham ac
c ac Israel, gwybydder heddyw mai ti sydd Dduw yn Is-
a minau yn was i ti, ac mai trwy dy air di y gwneuthum
holl bethau hyn; gwrando fi, O Arglwydd, gwrando fi, fel
rypo y bobl hyn mai tydi yw'r Arglwydd Dduw, ac mai ti
ychwelodd eu calon hwy drachefn. Yna tân yr Argl-
d a syrthiodd, ac a ysodd y poeth-offrwm, a'r coed, a'r
g, a'r llwch, ac a leibiodd y dwfr oedd yn y ffos." Yr
yn llawn ffydd hefyd y noson hono, ar ol lladd proffwydi
l, pan y dywedodd wrth Ahab, "Wele drwst llawer o
r," pan nad oedd neb arall yn gweled nac yn clywed dim
el gwlaw: ac yr oedd golwg dra effeithiol arno yn dringo

yr ail waith i ben y mynydd i weddio; ac yn ymostwng ar y ddaear, ac yn gosod ei wyneb rhwng ei liniau, ac yn anfon ei lanc saith waith i edrych tua'r môr. Ni ollyngai ei afael heb y fendith. Y seithfed waith y dywedodd y llanc, Wele, gwmwl bychan fel cledr llaw gwr yn dyrchafu o'r môr. A dywedodd yntau, Dos i fynu, dywed wrth Ahab, Rhwym dy gerbyd, a dos i waered, fel na'th rwystro y gwlaw. Ac yn y cyfenyd hono y nefoedd a dduodd gan gymylau, a gwynt, a bu gwlaw mawr. Dro arall pan y darfu i Ahaziab, mewn bwriad digllawn i ladd Elias, anfon tywysog a'i ddeg a deugain i'w ddal; a phan oedd y tywysog, yn enw y brenin creulawn a annuwiol, yn erchi iddo ddyfod i waered o ben y bryn, gwaeddodd Elias am dân o'r nefoedd i'w ysu ef a'i ddeg a deugain; a bu hyny, ac atebwyd ef yr un modd, yr ail waith, pan y gwaeddodd am dán i ysu yr ail dywysog a'i ddeg a deugain; ond daeth y trydydd dywysog, dan ymgrymu, ac ymbil am ei einioes; ac aeth Elias i waered gydag ef at y brenin, ac efe a ddywedodd yn ddiofn yn ngwyneb y brenin y byddai farw o'i glefyd, o herwydd iddo ymgyngori â duw Ecron yn lle troi ei wyneb at yr Arglwydd. Yr oedd Iago yn cyfeirio at nerth ei weddi pan y dywedodd, "Elias oedd ddyn yn rhaid iddo ddyoddef fel ninau, ac mewn gweddi, efe a weddiodd na byddai wlaw, ac ni bu gwlaw ar y ddaear dair blynedd a chwe' mis. Ac efe a weddiodd drachefn, a'r nef a roddes wlaw, a'r ddaear a ddug ei ffrwyth."

II. Yr anrhydedd a gafodd Elias gan ei Dduw.

1. Cafodd lawer o'i gyfrinach. Byddai gair yr Arglwydd yn dyfod ato yn fynych iawn, er ei gyfarwyddo, neu er ei gysuro. Pan oedd yn yr ogof yn Horeb, gofynodd yr Arglwydd iddo, Beth a wnai di yma Elias? Ac archwyd iddo fyned allan o'r ogof, a sefyll yn y mynydd ger bron yr Arglwydd; ac wele, yr Arglwydd yn myned heibio, a gwynt mawr a chryf yn rhwygo'r mynyddoedd, ac yn dryllio y creigiau o flaen yr Arglwydd; ond nid oedd yr Arglwydd yn y gwynt, ac ar ol y gwynt, daeargryn, ond nid oedd yr Arglwydd yn y ddaear-

gryn; ac ar ol y ddaeargryn, tân, ond nid oedd yr Arglwydd yn y tân; ac ar ol y tân, llef ddistaw fain, llef cariad a doethineb ac awdurdod ei Dad o'r nef yn llefaru wrtho; ac efe a oblygodd ei wyneb yn ei fantell i wrando ar eiriau distaw treiddiol y llef hono; a chafodd gyfle a rhyddid y pryd hyny i dywallt ei galon ger bròn Duw; yr oedd ei brofiad yn isel, a'i gŵyn yn alarus, ond mynegodd yr Arglwydd iddo, er ei ddyddanwch, ei fod wedi cadw iddo ei hun yn Israel saith o filoedd o gredinwyr diymod, y rhai na phlygasent eu gliniau i Baal, a bod ganddo waith pwysig yn mhellach iddo ef gyflawni er gwasanaeth ei wlad. Y mae yn amlwg ei fod wedi cael ymweliad o'r un natur oddiwrth Dduw cyn iddo alw y gymanfa i ben Carmel, oblegyd cyhoeddodd mai trwy air yr Arglwydd y cyflawnodd holl wasanaeth pwysig y dydd rhyfedd hwnw. Yr oedd ei ffydd mor gref fel yr oedd yn cadw yr Arglwydd bob amser ger bron ei lygaid. Yr oedd mor deimladwy o'i bresenoldeb fel yr arferai ddweyd, wrth gadarnhau ei dystiolaeth, neu ei genadwri, "Fel mai byw yr Arglwydd, *yr hwn yr wyf yn sefyll ger ei fron:*" yr hyn a arwydda ei fod wedi derbyn ei genadwri yn uniongyrchol o'i enau.

2. Cafodd ei gynal yn wyrthiol mewn llawer o gyfyngderau a pheryglon. Cyfarwyddwyd ef yn nechreuad tymor y newyn i ymguddio wrth afon Cerith, ar gyfer yr Iorddonen. Bu yno am dalm o ddyddiau rhwng y clogwyni, a than gysgod y dyrus-lwyni mewn lloches anhawdd iawn i neb ddyfod o hyd iddo, a'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y bore, a bara a chig brydnawn, ac efe a yfai o'r afon. Yr oedd yn cael byd da yno, gwell nag oedd i'w gael wrth fwrdd Jesebel. Y bara goreu, a'r cig goreu, a'r dwfr iachusaf; ac yr oedd yn cael ei brydiau yn berffaith reolaidd. Nid oedd ei weision cyflym caredig byth yn ei anghofio A gwell na'r cyfan, yr oedd yn cael hamdden ddedwydd yno, allan o gyrhaedd swn a rhodres y byd, i fyfyrio a gweddio.

Pan sychodd afon Cerith, o ddiffyg gwlaw, cyfarwyddwyd ef i fyned i Sarepta, tref yn perthynu i Sidon, neu Phenicia,

allan o gylch gwladwriaeth Israel, a hysbyswyd iddo fod gwraig weddw yno wedi cael gorchymyn i ddarparu er ei gynaliaeth a'i ddiogelwch. "A phan ddaeth efe at borth y ddinas, wele yno wraig weddw yn casglu briw-wydd; ac efe a alwodd arni, ac a ddywedodd, Dwg, atolwg i mi ychydig ddwfr mewn llestr, fel yr yfwyf. Ac a hi yn myned i'w gyrchu, efe a alwodd eilwaith arni, ac a ddywedodd, Dwg, atolwg, i mi damaid o fara yn dy law. A hi a ddywedodd, Fel mai byw yr Arglwydd dy Dduw, nid oes genyf deisen, ond llonaid llaw o flawd mewn celwrn, ac ychydig olew mewn ysten, ac wele fi yn casglu dau o friw-wydd, i fyned i mewn, ac i barotoi hyny i mi ac i'm mab, fel y bwytaom hyny, ac y byddom feirw. Ac Elias a ddywedodd wrthi, nac ofna, dos, gwna yn ol dy air, eto gwna i mi o hyny deisen fechan yn gyntaf, a dwg i mi, a gwna i ti ac i'th fab ar ol hyny; canys fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Y blawd yn y celwrn ni threulir, a'r olew o'r ysten ni dderfydd, hyd y dydd y rhoddo yr Arglwydd wlaw ar wyneb y ddaear. A hi a aeth ac a wnaeth yn ol gair Elias, a hi a fwytaodd, ac yntau, a'i thylwyth, ysbaid blwyddyn. Ni ddarfu'r celwrn blawd, a'r ysten olew ni ddarfu, yn ol gair yr Arglwydd, yr hwn a ddywedasai efe trwy law Elias." Arddelodd Elias "Arglwydd Dduw Israel" pan mewn gwlad estronol, a chredodd y weddw ei air. Er ei bod hi a'i mab ar newynu, rhoddodd iddo y deisen gyntaf o'u pryd bwyd diweddaf. Yr oedd yn gweled y proffwyd yn lluddedig, sychedig, a newynog, ac ar ddiffygio; ac yr oedd yn ei theimlo yn fraint i gael paratoi iddo. Yr oedd yn hyfryd ei gweled yn brysio i baratoi y deisen gyntaf i'r pererin blinedig; ac ni chollodd ei gwobr. Yr oedd Duw y proffwyd gydag ef, a gweled ei chroesaw: daeth gweddi y proffwyd i'w thŷ: a phwysodd ei fendith ar ei chelwrn blawd a'i hysten olew, fel y gallodd hi arlwyo bwrdd iach a llawn iddo trwy'r "flwyddyn" y bu yno. Yr oedd yn fraint ganddi allu trefnu ystafell fechan iddo; a chafodd yntau dymor dedwydd yno i ddal cymdeithas â'r nefoedd. Bu angel yn arlwyo bwrdd iddo pan

oedd yn gorphwys dan y ferywen yn anialwch Beerseba, ac hefyd pan oedd yn yr ogof yn Horeb. Rhaid mai drwy nerth uwch-naturiol y rhedodd o flaen cerbyd Ahab o Carmel i Jezreel, oblegyd yr oedd Ahab a'i feirch wedi cael cychwyn o'i flaen, ac yr oedd Ahab yn gyru yn chwyrn rhag i'r gwlaw ei rwystro ; ac er cael bod y cyntaf i hysbysu i Jesebel fod ei phroffwydi wedi colli'r dydd. A thrwy nerth oddi uchod hefyd y teithiodd ddeugain niwrnod a deugain nos drwy rym un pryd o fwyd. Yr oedd Duw yr angylion, Duw rhagluniaeth, Duw pob gras a dawn, yn amlwg o'i du i'w noddi a'i gyfarwyddo a'i ddyddanu.

3. Cafodd ei wneud yn ddychryn i ddirmygwyr awdurdod ei Dduw a gelynion ordinhadau crefydd. Y mae genym siamplau cryfion o hyny yn yr ychydig sydd genym o'i hanes. Er nad oedd ond efe ei hunan i sefyll dros enw ei Dduw yn y cynulliad rhyfedd fu ar ben Carmel, ac er fod proffwydi Baal yn bedwar cant a deg a deugain, a phroffwydi y llwyni yn bedwar cant ; er nad oedd ond un o broffwydi yr Arglwydd yn erbyn wyth gant a deg a deugain o'r gau-broffwydi, eto yr oeddynt yn arswydo ei gyfarfod. Yr oedd yn hawdd i'r fath nifer o honynt godi allor, a threfnu y coed, a lladd eu bustach, a'i ddarnio, a'i osod ar y coed ; ond yr oedd golwg colli'r dydd yn eu holl agweddau, ac yr oedd sŵn colli'r dydd yn eu gwaedd, "Baal gwrando ni ;" ac yr oeddynt yn gwaeddi uwch uwch, y naill awr ar ol y llall, fel yr oedd eu dychryn yn myned fwy fwy. Cawsant bron yr holl ddiwrnod iddynt eu hunain ; ond er iddynt barhau i waeddi uwch uwch nes iddi fyned dros haner dydd, ie, er proffwydo o honynt hyd awr yr hwyr-offrwm, eto nid oedd llef na neb yn ateb. Rhy anhawdd fyddai dirnad eu siomedigaeth a'u cywilydd a'u dychryn pan yr oedd oriau eu hadeg hwy drosodd, a Baal yn rhy bell ar ei daith, neu yn rhy drwm ei glyw, neu yn rhy brysur gyda rhyw alwad arall, neu yn cysgu, neu yn rhy glaf i allu eu hateb ; ac yr oedd cyffro eu dychryn yn gwaethygu bob moment wrth weled Elias yn adgyweirio hen allor yr Arglwydd, yr hon a ddrylliasw

id, ac yn gosod ynddi ddeuddeg o geryg, yn ol rhifedi llwythau meibion Israel, ac yn trefnu y coed, ac yn darnio y bustach, ac yn ei osod ar y coed; ac yn enwedig pan oedd yn codi ei lef mewn gweddi at Dduw Abraham ac Isaac ac Israel, a hyny yn eu canol, ac yn ngwydd Ahab a'i dywysogion, ac yn nghlyw yr holl gynulleidfa. A phan welsant dân yr Arglwydd yn syrthio, ac yn ysu y poeth-offrwm, a phan glywsant y bobl yn tori allan i waeddi, "Yr Arglwydd, efe sydd Dduw, yr Arglwydd, efe sydd Dduw;" ac Elias yn gwaeddi, "Daliwch broffwydi Baal, na ddianged gwr o honynt," a phan ddeallasant fod Ahab a'i gapteniaid yn rhy sŷn grynedig i ddweyd gair o'u plaid, nac i estyn unrhyw nodded iddynt, yr oeddynt yn gwyllt-gyffroi yn eu dychryn, heb wybod pa le i ffoi am ymwared. Nid oedd yr un drws o ddiangfa yn agored iddynt. Yr oedd eu haf wedi darfod. Yr oeddynt wedi cael eu rhwysg, wedi derbyn eu gwynfyd. Yr oeddynt wedi codi llais eu cableddau yn erbyn Duw, ac wedi estyn eu llaw ruddiog yn erbyn ei broffwydi, ac wedi dystrywio ei allorau, ac wedi hudo Israel i wrthod ei gyfammod, ac yr oedd dydd dial wedi eu dal. Yr oedd dychryn enw Elias yn melltenu trwy holl wersylloedd eu disgyblion; ac yr oedd eu ceraint a'u cyfeillion, mewn aethau o fraw, yn teimlo eu bod wedi cyfiawn haeddu yr un diwedd a hwythau. Er mor hyf oedd Ahab i wneuthur drwg, ac er fod ei wraig Jesebel merch Ethbaal brenin Sidon, yn ei galedu yn ei drais a'i eilun-addoliaeth a'i wrthryfel yn erbyn yr Arglwydd, eto pan oedd wedi traisfeddianu gwinllan Naboth, a phan oedd yn ymrodio ynddi gan lawenychu yn llwyddiant dichell Jesebel i lofruddio Naboth o'r ffordd, dychrynodd drwy eigion ei enaid wrth weled Elias yn dyfod ato, a dywedodd yn ei gyffro, "A gefaist ti fi o fy ngelyn?" A phan glybu eiriau dedryd Elias, efe a rwygodd ei ddillad, ac a osododd sachliain am ei gnawd, ac a ympryd-iodd, ac a orweddodd mewn sachliain, ac a gerddodd yn araf; ymostyngodd mor isel fel y darfu i'r Arglwydd oedi y farn oblegyd ei edifeirwch. Yr oedd Jesebel hefyd, er poethed

oedd ei chynddaredd yn ei erbyn, yn arswydo rhagddo, ac yr oedd golwg druenus ar Ahaziah pan oedd Elias yn ymyl ei wely, yn proffwydo am ei farwolaeth, am iddo droi at dduw Ecron yn lle at Dduw Israel: ac yr oedd tywysogion penaf, ac arfogion dewraf ei lŷs yn crynu gan eu cyffro tra yr oedd Elias yno, rhag i dân Duw o'r nefoedd ddisgyn arnynt fel yr oedd newydd ddisgyn ar rai o'u cymdeithion. Yr oedd dychryniadau Duw yn dal yr anffyddwyr annuwiolaf, ac yn ymafaelyd yn eu cnawd, pan oedd Elias yn eu golwg.

4. Cafodd ei anfon i eneinio breninoedd a phroffwydi, yr hyn a ystyrid yn swydd o fawr ddylanwad, ac o uchel anrhydedd. Dywedodd yr Arglwydd wrtho, pan oedd yn yr ogof yn Horeb, am ddychwelyd oddi yno i ffordd anialwch Damascus, ac eneinio Hazael yn frenin a'r Syria, a Jehu fab Nimsi yn frenin ar Israel, ac Eliseus fab Saphat, o Abel-meholah, yn broffwyd yn ei le ei hun. Ac efe a aeth oddi yno, ac a wnaeth yn ol gair yr Arglwydd. Efe a gafodd Eliseus fab Saphat yn aredig, a deuddeg cwpl o ychen o'i flaen, ac efe oedd gyda'r deuddegfed. Ac Elias a aeth heibio iddo, ac a fwriodd ei fantell arno ef, ac efe a adawodd yr ychen, ac a redodd ar ol Elias, ac a ddywedodd, Atolwg, gad i mi gusanu fy nhad a'm mam, ac yna mi a ddeuaf ar dy ol; ac yntau a ddywedodd wrtho, Dos, dychwel, canys beth a wnaethum i ti? Ac efe a ddychwelodd oddiar ei ol ef, ac a gymerth gwpl o ychen, ac a'u lladdodd: ac ag offer yr ychen y berwodd efe eu cig hwynt, ac a'i rhoddodd i'r bobl, a hwy a fwytasant. Yna efe a gyfododd, ac a aeth ar ol Elias, ac a'i gwasanaethodd ef. Dyna yr adroddiad a gawn o ddull Eliseus yn canu yn iach i'w deulu, ac yn myned ar ol Elias; ei ddull yn rhoddi i fyny ei alwedigaeth fel amaethydd, i ymgysegru yn broffwyd i'r Arglwydd.

5. Cafodd ei wneud yn offeryn i ddwyn o amgylch ddiwygiad pwysig a llydan yn y wlad. Darfu i'w fuddugoliaeth ar ben Carmel roddi ergyd trwm i rwysg hudawl eilunaddoliaeth. Torwyd crib addolwyr bostfawr Baal. Cafodd eu hyfdra digywilydd y fath wrth-darawiad fel y gorfu iddynt gilio yn ol

wydda oddiwrthi, ar y llaw ddehau nac ar y llaw aswy; fel y ffynech i ba le bynag yr elych. Nac ymadawed llyfr y gyfraith hon o'th enau, eithr myfyria ynddo ddydd a nos; fel y cedwych ar wneuthur yn ol yr hyn oll sydd ysgrifenedig ynddo: canys yna y llwyddi yn dy ffyrdd, ac yna y ffyni. Oni orchymynais it? Ymgryfha, ac ymwrola; nac arswyda, ac nac ofna: canys yr Arglwydd dy Dduw fydd gyda thi, i ba le bynag yr elych." Yr un ystyr hefyd sydd i'r gorchymyn a roddwyd i Solomon. "A Duw a ddywedodd wrtho, o herwydd gofyn o honot y peth hyn, ac na ofynaist it ddyddiau lawer, ac na ofynaist it olud, ac na cheisiaist einioes dy elynion, eithr gofynaist it ddeall i wrando barn; Wele, gwneuthum yn ol dy eiriau: Wele, rhoddais it galon ddoeth a deallus, fel na bu dy fath o'th flaen, ac na chyfyd dy fath ar dy ol. A rhoddais it hefyd yr hyn nis gofynaist, golud a gogoniant hefyd; fel na byddo un o'th fath yn mysg y breninoedd, dy holl ddyddiau di. Ac os rhodi yn fy ffyrdd i, gan gadw fy neddfau a'm gorchymynion, megys y rhodiodd Dafydd dy dad, estynaf hefyd dy ddyddiau di." Ceir mai cyfarwyddiadau o'r un ystyr oedd yr Arglwydd yn roddi bob amser i'w wasanaethwyr; a'i fod yn cyfamodi i'w hanrhydeddu â defnyddioldeb yn ol graddau eu ffyddlondeb yn ei wasanaeth. Ceir fod pob dyn fu yn nodedig o ran ei ddefnyddioldeb, yn un nodedig hefyd o ran ei sêl a'i dduwioldeb. Felly yr oedd yn amser Elias. Efe fu y mwyaf ffyddlon i Dduw, ac efe hefyd fu y mwyaf defnyddiol yn ei oes. Felly yr oedd yn amser Paul: efe lafuriodd helaethaf dros Grist yn yr oes hono, ac efe hefyd fu yr helaethaf ei ddefnyddioldeb: ac felly y bu yn mhob oes, a than bob goruchwyliaeth, o ddyddiau boreuaf proffwydi boreuaf yr Hen Destament, hyd ddyddiau gweinidogion oesoedd diweddaraf Cristionogaeth: y rhai mwyaf ymroddgar a duwiol fuont y rhai mwyaf eu dylanwad a'u defnyddioldeb.

2. Fod angau, neu y symud o'r byd hwn i fyd arall, yn ysgaru y cyfeillion anwylaf oddiwrth eu gilydd, am ychydig enyd. Yr oedd yn anwyl iawn gan Eliseus am ei eneiniwr a'i athraw

l llefain yn nghynwrf ei deimladau, "Fy nhad, fy nhad, cerd Israel, a'i farchogion," a rhwygo ei ddillad yn ddeuddarn, ;hodi i fynu fantell Elias a syrthiasai oddiwrtho, a dychwelyd hunan ar hyd y ffordd y daethent, ac nis gwelodd ei athraw ryach, nes iddynt adnewyddu eu cyfeillach yn y nefoedd.

3. Fod symudiad duwiolion defnyddiol yn golled drom i'r wys ac i'r byd. Yr oedd, nid yn unig Eliseus a meibion y ıffwydi, yn llefain, "Fy nhad, fy nhad," ar ol Elias; ond yr ld Obadiah a'r tywysogion, a phob credadyn drwy Israel, yn nlo fod achos crefydd wedi colli ateg gref pan y cafodd ei aud: ac yr oedd galar a hiraeth trwm ar ei ol. Ac y mae hen arferiad i'r rhai byw alaru ar ol eu cyfeillion defnydd. Pan y bu farw Sarah yn Nghaer Arba, aeth Abraham i ,ru ac i wylofain am dani; ac yr oedd nid yn unig ei deulu, d yr oedd meibion Heth a'i gymydogion eraill, yn cydymmlo ag éf o herwydd ei golled. Pan y bu farw Debora, ,maeth Rebecca, galwyd derwen Bethel, dan ba un y cafodd :hladdu, yn dderwen yr wylofain; yr hyn oedd yn dystiolaeth rhydeddus ei bod wedi bod yn gariadus a defnyddiol yn ei wyd. Pan orphenodd Jacob orchymyn i'w feibion, efe a nodd ei draed i'r gwely, ac a fu farw, a chasglwyd ef at ei bl: yna y syrthiodd Joseph ar wyneb ei dad, ac a wylodd ıo ef, ac a'i cusanodd ef: a'r Aifftiaid a'i harwylasant ef eng niwrnod a thriugain: a phan aeth Joseph i fynu i ıddu ei dad, holl weision Pharaoh, a holl henaduriaid gwlad Aifft, a aethant i fynu gydag ef; a holl dŷ Joseph, a'i frodyr, mawr iawn: a hwy a ddaethant hyd lawr-dyrnu Atad, ac rnaethant yno alar mawr a thrwm iawn. Yr oedd y fath vyl, a'r fath alar, a'r fath angladd yn dystiolaeth anrhydlus iawn i enw ac i goffadwriaeth y Patriarch. A holl ıulleidfa Israel, pan welsant farw Aaron, a wylasant am ron ddeng niwrnod ar hugain. A Moses ydoedd fab ugain rydd a chant pan fu efe farw: ni thywyllasai ei lygaid, ac :hiliasai ei ireidd-dra ef. A meibion Israel a wylasant am ;es yn rhosydd Moab ddeng niwrnod ar hugain. Pan y bu

4. Er fod symudiad enwogion defnyddiol yn achosi galar a raeth i'r eglwys ar y ddaear, y gall Duw lenwi pob bylchau, gwneud pob colled i fynu, drwy beri i ddeuparth o'u hyspryd phwys ar eu holynwyr. Felly y bu ar ol symudiad Elias. ododd Eliseus ei fantell a syrthiasai oddiwrtho; a dychelodd, a safodd wrth fin yr Iorddonen; ac a darawodd y froedd â mantell Elias; ac a lefoedd, "Pa le mae Arglwydd duw Elias?" Ac wedi iddo yntau daro y dyfroedd, hwy a ahanwyd yma ac acw; nes iddo fyned drosodd. A phan elodd meibion y proffwydi hyny, hwy a ddywedasant, "Gorwysodd yspryd Elias ar Eliseus; a hwy a ddaethant i'w gyrfod, ac a ymgrymasant hyd lawr iddo." Yr oedd yspryd a rth Elias yn preswylio ynddo. Gwnaeth arwyddion a rhyddodau fel ei athraw; ëangwyd cylch ei lafur, estynwyd ei dyddiau, a choronwyd ei weinidogaeth â defnyddioldeb. Dynwadodd yspryd ac ymddygiad Stephan yn yr un modd ar ei yd-ddiaconiaid. Y mae pob credadyn fu'n enwog am ei lafur i ffyddlondeb, er wedi marw yn llefaru eto. Y mae ei addgiadau a'i egwyddorion yn gwreiddio yn nghalonau ei olynyr; ac y mae ei siampl yn eu cymell i fod yn fwy-fwy defnddiol.

5. Fod symudiad y duwiol o fyd o brofedigaethau a gorthmderau yn elw mawr iddo. Yr oedd Elias wedi cael breint lliosog ac anrhydedd uchel yn ystod ei weinidogaeth ar y aear; ond yr oedd y derchafiad a gafodd yn ei symudiad i'r oedd, yn llawer mwy na dim ydoedd wedi gael yn flaenorol yny. Yr oedd yn cael myned i gylch uwch ac ëangach, i lawni gwasanaeth mwy pur ac ysprydol, ac i gyfeillachu ag rydoedd y cyfiawnion y rhai a berffeithiwyd, ac i fwynhau onoldeb o lawenydd ar ddeheulaw ei Dduw yn oes oesoedd; an o gyrhaedd pob gelyn a llygredigaeth. Nid oedd neb wy awyddus nag oedd Paul am fywyd defnyddiol: ond dydai unwaith, "Y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu, gan fod nyf chwant i'm datod, ac i fod gyda Christ, canys llawer wn gwell ydyw." A'r ystyriaeth o'r "elw" fyddai marw iddo,

## "Y PETHAU MAWR A WNAETH ELISEUS."

(DEG O ANERCHION BYRION.)

" A'r brenin oedd yn ymddiddan â Gehazi, gwas gwr Duw, gan ddywedyd, Adrodd i mi, atolwg, yr holl bethau mawr a wnaeth Eliseus."—2 Bren. 8. 4.

Nid rhyfedd fod brenin Israel mor awyddus am wybod yr holl bethau mawrion a wnaethai Eliseus; oblegyd eu bod yn bethau mor bwysfawr a nodedig. Gallai adroddiad byr o rai o'r pethau mawrion hyny fod o addysg i ninau. Crybwyllwn yn

I. Ei ymroddiad ewyllysgar i'w swydd. Yr oedd yn amaethwr cyfrifol, yn trin tyddyn ardderchog, yn agos i Abel-Mehola, yn rhandir llwyth Simeon. Fel yr oedd un diwrnod yn aredig yn ei faes mawr, a deuddeg cwpl o ychen o'i flaen, daeth Elias heibio, a thaflodd ei fantell drosto. Disgynodd Ysbryd yr Arglwydd arno; gadawodd yr ychen, a rhedodd ar ol Elias; a hysbysodd ei benderfyniad i fod yn ddisgybl iddo, ond cael cenad i gusanu yn iach i'w rieni. Yna brysiodd i gusanu ei dad a'i fam, a gwnaeth wledd i'r teulu; ac aeth ar ol Elias; a gwasanaethodd ef yn ffyddlawn o lŵyr-fryd calon. Bu yn ufudd, a diwyd, a gostyngedig, a myfyrgar, fel disgybl iddo. Eisteddodd wrth ei draed i wrando ar ei eiriau. Astudiodd athrawiaethau crefydd, a chyflawnodd ei ddyledswyddau; a bu yn gydymaith caredig i Elias, nes iddo gael yr anrhydedd o fod yn dyst o'i dderchafiad, i'r nefoedd. Yna cafodd ddeuparth o'i yspryd, yn ol ei ddymuniad, er ei gymwyso at y gwaith mawr oedd o'i flaen. Y mae hyn yn dysgu i ni, mai y ffordd iawn, os byddwn am fod yn ddefnyddiol gydag

n nghysegroedd yr efengyl, heb gael yspryd ei gweinidogaeth, c arddeliad a nerthoedd a bendith Duw y weinidogaeth.— )ichon y buasai yn dda genym ni weled yr hen fantell enwog wisgwyd gan y ddau broffwyd, ond nid yw i'w chael ; y mae gwyfyn wedi ei hysu yn llwyr; ond y mae yspryd selog a uwiol y proffwydi i'w gael eto; ac y mae eu Duw yr un o yd, mor oludog o ras, ac mor barod i drugarhau ag y bu rioed.

III. Yr ail wyrth a gyflawnodd Eliseus oedd iachau dyfroedd yn Jerico. Cafodd dderbyniad croesawgar yn erico. Yn ystod ei arosiad yno, daeth gwyr y ddinas ato, an ei gyfarch yn barchus a boneddigaidd, er cael ei gyngor 'i gymorth gyda golwg ar brif anghysur eu dinas. Dywedsant, "Wele, atolwg, ansawdd y ddinas, da yw, fel y mae fy rglwydd yn gweled, ond y dyfroedd sydd ddrwg, a'r tir yn diffaeth." Yr oedd rhyw elfenau yn y dwfr ag oedd yn ei neud yn niweidiol i'r tir, ac yn afiach i'r preswylwyr: ac yr odd hyny yn brofedigaeth chwerw iddynt; ac yn ataliol i ynydd a llwyddiant eu dinas. Gwrandawodd y proffwyd ar ı deisyfiad, a dywedodd, Dygwch i mi phiol newydd, a dod·ch ynddi halen. A hwy a'i dygasant; ac efe a aeth at ffynonell y dyfroedd, ac a fwriodd yr halen yno, ac a ddywedodd, 'el hyn y dywedodd yr Arglwydd, Mi a iacheais y dyfroedd yn ; ni bydd oddiyno farwolaeth mwyach, na diffrwythdra. Felly yr iachawyd y dyfroedd hyd y dydd hwn. Ymddygodd obl Jerico y garedig a boneddigaidd tu ag at y proffwyd; ac i adawyd eu cydymdeimlad a'u croesaw heb eu gwobrwyo, blegyd bu ymweliad y proffwyd yn fendithiol iddynt mewn ethau tymhorol, yn gystal ag mewn pethau crefyddol: ac ni ydd neb byth ar eu colled wrth gefnogi a chynorthwyo gwasanaeth yr Arglwydd.

IV. Yr oedd y wyrth nesaf a gyflawnodd y proffwyd yn un farnedigaeth,—o farnedigaeth drom iawn. Fel yr oedd efe n myned i fynu o Jerico i Bethel, daeth plant bychain allan 'r ddinas ac a'i gwatwarasant ef, ac a ddywedasant wrtho ef,

"Dos i fynu moelyn, dos i fynu moelyn." Yr oeddynt yn ym-dyru o'i ddentu, ac yn gwaeddi yn ei wyneb, ac yn chwerthin am ei ben, ac yn mingamu arno, ac yn estyn bysedd ar ei d... ac yn ei "watwar" yn mhob dull y medrent. Yr oedd eu hymddygiad yn anfoneddigaidd ac yn greulawn. Buasai yn angharedigrwydd gwarthus iddynt watwar yn y dull hwnw y pererin distadlaf yn yr holl wlad; ond yr oedd eu gwaith yn gwatwar olynwr Elias, pan oedd yn ei alar a'i hiraeth, yn brawf eu bod yn cael eu magu mewn teuluoedd gelynol i gre-ydd, ac i broffwydi yr Arglwydd. Yr oedd ymddygiad gwarthus y plant yn rhoddi lle i gasglu mae rhai o sect Baal, ac o yspryd Ahab a Jesebel, oedd eu rhieni a'u hathrawon: mai rhai anghredinol, anfoneddigaidd, gwatwarllyd, ac erlid-gar oeddynt, a'u bod, yn lle dysgu boneddigeiddrwydd a duw-ioldeb i'w phlant gartref, wedi eu dysgu i gablu a gwatwar ac erlid. Yr oedd yn drwm a galarus iawn i weled mintai fawr o blant bychain Bethel yn ymddwyn mor anfoneddigaidd, mor angharedig, ac mor greulawn. Bu eu cosp yn drom iawn. Ed-rychodd y proffwyd yn wgus arnynt, ond ni fedrent wrido. Yr oeddynt yn rhy hyfion yn eu drwg i edrychiad effeithio arnynt. Yr oeddynt yn rhy galedion i dderbyn cyngor. Nid oedd ed-rychiad y proffwyd ond eu cynhyrfu i wylltach creulondeb: a efe a'u melldithiodd yn enw yr Arglwydd: a dwy arth a ddaeth allan o'r goedwig, ac a ddrylliodd o honynt ddau blentyn a deugain. Yr oedd yr olygfa yn alaethus arswydol. Yr oedd gwaedd eu gwawd a'u gwatwar wedi troi yn waedd dychryn ac ing angau. Dichon y dywed teimlad dynol y buasai yn gyfiawnach i'r farn ddisgyn ar eu rhieni. Yr oedd yn disgyn ar y rhieni: ac nid allasai cerydd trymach ddisgyn arnynt am gam-ddysgu eu plant, na gweled eu plant yn ddrylliau rhwyg-edig ar hyd y ffordd a'r cloddiau. Diau fod y rhieni yn fwy euog na'r plant; yr oeddynt hefyd yn fwy anmharod i'r farn i'r byd arall. Y plant oeddynt y troseddwyr gweithredol y tro hwnw; a diau eu bod yn rhai hyfion iawn i wneuthur drwg. Yr oedd y farn hono yn rhybudd difrifol i holl blant a holl

rieni y wlad; a chafodd ei chyhoeddi i bell ac agos; ac nid oes hanes i ddim plant, ar ol hyny, feiddio gwatwar y proffwyd. Y mae yr hanes yn "llefaru eto;" ac yn dysgu i ni fod plant yn debyg o ymddwyn yn ol yr addysg a'r siampl a gânt gartref; fod y plant a hyfforddir yn iawn yn mhen eu ffordd yn debyg o fod o gysur i'w rhieni, ac o ddefnydd yn y byd, ac yn debyg drwy hyny o enill anrhydedd iddynt eu hunain; ond fod y plant sy'n cael eu cychwyn yn ddrwg mewn perygl o gael eu gadael i fyned waeth waeth, nes y daw diwedd drwg iddynt. Y mae'n wir y gall plentyn rhieni crefyddol droi allan yn wyllt ac annuwiol iawn: ac y gall plentyn gael ei droi i'r ffordd iawn, ar ol cael ei fagu yn hollol anghrefyddol; ond y rheol ydyw i blentyn beidio ymadael, pan heneiddio, â'r ffordd yn mha un y cafodd ei gychwyn. Colled a melldith i blant ydyw cael eu magu mewn teulu digrefydd, anffyddiog, a gwatwarllyd: byddant yn debyg o farw yn eu hanwiredd, ond gofynir eu gwaed ar law eu rhieni.

V. Y peth mawr nesaf a wnaeth Eliseus oedd cyfarwyddo llinystr byddinoedd y Moabiaid. Darfu i Mesa brenin Moab, yn amser Jehoram, mab Ahab, wrthryfela yn erbyn Israel; a gwrthod talu y deyrnged arferol o gan' mil o ŵyn, a chan' mil o hyrddod gwlanog. A Jehoram brenin Israel a anfonodd at Jehosaphat brenin Juda i ddeisyf arno ddyfod gydag ef i ryfel yn erbyn Moab, er darostwng y gwrthryfel, a mynu y deyrnged: a dywedodd Jehosaphat, "Mi a af gyda thi; myfi a fyddaf fel tithau; fy mhobl i fel dy bobl dithau: fy meirch i fel dy feirch dithau:" ac arweiniasant eu byddinoedd drwy ffordd anialwch Edom; ac aeth brenin Edom, a'i fyddin gyda hwynt: 'a buant yn ymdaith o amgylch yn yr anialwch am saith diwrnod, ar dymor o sychder; ac nid oedd dwfr i'r byddinoedd, nac i'w hanifeiliaid; ac yr oeddynt oll ar drengu o syched. A brenin Israel a ddolefodd yn ei gyfyngder, Gwae, gwae ni, o herwydd i'r Arglwydd alw y tri brenin hyn yn nghyd i'w rhoddi yn llaw Moab. A gofynodd Jehosaphat, Onid oes yma broffwyd i'r Arglwydd, fel

yr ymofynom ni â'r Arglwydd trwyddo ef? Ac un o w
brenin Israel a atebodd, y mae yma Eliseus mab Saph
hwn a dywalltodd ddwfr ar ddwylaw Elias: a Jehos
gan ei fod yn adwaen cymeriad Eliseus, a ddywedodd, Y
gair yr Arglwydd gydag ef. Yr oedd calon Jehosaph
droi i ymgynghori â Duw; ac yr oedd yn dda iawn g
gael cyfle i wneyd hyny drwy broffwyd mor enwog.
Jehosaphat, a brenin Israel, a brenin Edom a ddaetha
Eliseus. Yr oedd yn hyfryd i weled tri brenin, yn eu gw
yn curo wrth ddrws pabell y proffwyd dirodres. Ac Eli
ddywedodd yn hŷf a didderbyn wyneb wrth Jehoram,
Ahab, brenin Israel, Beth sydd i mi a wnelwyf â thi? I
broffwydi dy dad, ac at broffwydi dy fam. A brenin Is
ddywedodd wrtho yn wylaidd ac edifeiriol, mewn tôn ym
Nage, canys yr Arglwydd a alwodd y tri brenin hyn yn
i'w rhoddi yn llaw Moab. Yr oedd yn dda iawn i Jeho
pryd hyny ei fod wedi galw yn ngymdeithas dyn mor e
am ei dduwioldeb ag ydoedd Jehosaphat: ac yr oedd y
rhydedd uchel i frenin Edom iddo gael y fraint o fod dan
Jehosaphat yn clywed Eliseus yn llefaru yn enw yr Argl
ac yn llefaru hefyd ffordd o waredigaeth iddo ef a'i filwyr
mae annuwiolion wedi cael llawer o freintiau gwerthfawr
fod yn mysg dynion da; ac y mae dynion da rai gwe
wedi cael profedigaethau chwerwon pan mewn cyngrair
ion drwg. Eliseus a ddywedodd wrth Jehoram, brenin I
Fel mai byw Arglwydd y lluoedd, yr hwn yr ydwyf yn
ger ei fron, oni bai fy mod yn parchu wyneb Jehos
brenin Judah, nid edrychaswn arnat ti, ac ni'th welswn
yn awr dygwch i mi gerddor; a phan ganodd y ce
daeth llaw yr Arglwydd arno ef, ac efe a ddywedo
hyn y dywedodd yr Arglwydd, Gwna y dyffryn hw
llawn o ffosydd: canys er na welwch wynt, ac na
wch wlaw, eto y dyffryn hwn a lenwir o ddwfr f
yfoch chwi a'ch anifeiliaid. A pheth ysgafn yw hyn yn n
yr Arglwydd: efe a ddyry Moab yn eich llaw chwi hefy

i a darewch bob dinas gaerog a detholedig; a phob pren a fwriwch chwi i lawr; yr holl ffynhonau dyfroedd a gau- ι chwi, a phob darn o dir da a ddifwynwch chwi â cherig. bore pan offrymwyd y bwyd-offrwm, wele, ddyfroedd yn )d o ffordd Edom; a'r wlad a lanwyd o ddyfroedd—digon liodi eu holl wersyll, a digon yn ngweddill. A phan glybu [oabiaid fod y breninoedd hyny wedi dyfod i fynu i ymladd ɜu herbyn hwynt; galwyd yn nghyd bawb a allent wisgo ιu, a hwy a safasant ar y terfyn. A hwy a gyfodasant fore, ar lewyrchiad cyntaf yr haul ar y dyfroedd; a'r abiaid a ganfuant ar eu cyfer y dyfroedd yn goch fel ιed: a hwy a floeddiasant, Gwaed yw hwn; gan ddyfetha yfethwyd y breninoedd; hwy a darawsant bawb eu gilydd: hyny, yn awr, at yr anrhaith, Moab. A phan ddaethant, ruthr mewn gwylltineb ac annrhefn, at wersyll Israel, yr ιeliaid a gyfodasant, ac a darawsant y Moabiaid fel y ffoi- t o'u blaen hwynt; a hwy a aethant rhagddynt gan daro y abiaid yn eu gwlad eu hunain. A phan welodd brenin ab eu bod yn drech nag ef, efe a gymerth saith gant o wŷr ag ef yn tynu-cleddyf i ruthro ar frenin Edom; ond nis asant. Yna, yn nghynddaredd ei goelgrefydd, efe a gy- 'odd ei fab cyntaf anedig, yr hwn oedd i deyrnasu yn ei le ac a'i hoffrymodd ef yn boeth-offrwm, yn y dull mwyaf cy- ddus, ar fur y ddinas: a bu llid mawr a melldithiol drwy breswylfeydd Moab, o herwydd y difrod ar galanas ar- dus oedd brenin Israel a'i gyngreirwyr wedi wneud yn eu ad. Dylai adroddiadau y Beibl am y modd y byddai Israel uda, a Sidon a Syria, ac Edom a Moab, a'r Aifft ac Eth- a, ac Assyria a Babylon yn temtio ac yn hudo a rhwydo y l y llall i wrthryfela yn erbyn yr Arglwydd; ac am y modd yddai yr Arglwydd, yn ei gyfiawnder dialeddol, yn eu cyn- fu hwythau i wrthryfela yn erbyn eu gilydd a dyfetha eu dd fel cospau arnynt am eu gwrthryfel yn ei erbyn Ef, fod ldysg i holl lywodraethau y ddaear dros holl oesoedd y byd. :dd ryfedd iawn a gymerodd yr Arglwydd, yn yr amgylch-

ieu eu cymeryd ymaith. Nid oedd yno ddim wedi ei
id yr "ystenaid elew." Ac Eliseus a ddywedodd,
it lestri oddiallan gan dy holl gymydogion, llestri
, nid ychydig: a phan ddelych i mewn, cau'r drws
ar dy feibion, a thywallt i'r holl lestri hyny, a dod
un a fyddo llawn. Felly hi a aeth oddiwrtho ef, ac
hi a'i meibion fenthyca llestri, hi a gauodd y drws
ın ac ar ei meibion, a hwynt hwy a ddygasant y llestri
hithau a dywalltodd yr olew. Yr oedd yno weithio
efnus, a dedwydd. Yr oedd yr olygfa yn gynhyrfus
iol. Y fam weddw a'r ystenaid olew yn ei llaw, a'i
n ei hymyl i'w chynorthwyo; un dichon yn symud
ffordd y llestri llawnion, a'r llall yn estyn iddi y llestri
a hithau yn tywallt; ond yr oedd ei hystên o hyd
hyd yr ymyl, a'r olew yn dal i chwyddo a llenwi fwy
wyaf a dywalltai. Ac wedi llenwi y llestri, hi a ddy-
rth ei mab, Dwg i mi eto lestr; dywedodd yntau
d oes mwyach yr un llestr; a'r olew a beidiodd. Ac
d am nad oedd yno chwaneg o lestri i'w dderbyn, ac
i a'i meibion yn cyd-ofidio eisiau eu bod wedi ceisio
estri. Yr oedd ganddynt ffydd yn y proffwyd, a
ınt yn ol ei air; ond buasai yn elw iddynt pe buasai
yn fwy, a phe buasent wedi benthyca mwy o lestri

Yr oedd y proffwyd wedi rhoddi cyfarwyddyd teg
ldi fenthyca gan ei holl gymydogion, lestri gweigion,
lig; am fod y Duw ag oedd yn addaw rhoddi iddi
;yfoethog; ac yn barod i roddi yn helaeth, ac heb
ac y byddai yn sicr o roddi iddi yn ol ei ffydd. Bu-
awdd iddi gael llawer mwy o lestri, pe buasai yn eu
diau y buasai yn dda iawn ganddi hi a'i meibion,
odd yr olew, pe buasent wedi casglu mwy o lestri;
dd yn rhy hwyr i edifarhau. Yr oedd yr awgrym
eglur am iddi fod a'i llestri yn gwbl barod cyn iddi
rs a dechreu tywallt, ac yna y cai lon'd y llestri, ac
yr olew ar ol eu llenwi. Gan fod yr olew mor ddrud-

fawr, ac mor werthadwy, buasai yn dda iawn iddi p
yno fwy o le i'w dderbyn : a diameu fod yr olew hwnw
yn yr holl wlad. Ar ol iddi lenwi y llestri, hi a a
fynegodd i ŵr Duw. Dywedodd yntau, Dos, gwerth
a thâl dy ddyled, a bydd di byw, ti a'th feibion, ar y
all. Yr oedd y proffwyd am iddi fod yn onest i dalu
ac am iddi fod yn ddedwydd hefyd : yr oedd am id
meibion gael modd i fyw yn anrhydeddus a defnyddi
talu y ddyled.

Mae y crybwylliadau hyn am ymddygiad y proffw
at y weddw dlawd ddyledog yn dysgu i ni fod yspry
turio wrth rai mewn gwasgfeuon a chyfyngderau yn
gwerthfawr yn ngolwg Duw. Y mae ef yn ewyllysio
fod yn garedig a chymwynasgar, a gwneuthur daioni
ac yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd, a bydd ef
gofio i'w cymwynaswyr, ac i'w gorthrymwyr. Y mae he
hanes yn rhoddi i ni awgrym fod digon, a digon byth, o c
yn nhrefn fawr yr iachawdwriaeth i lenwi llestri pawb
ant yn mlaen yn ostyngedig a ffyddiog i dderbyn y ty
au ; ac na bydd raid dweyd byth bythoedd yn yr eglw
ddaear, nac yn yr eglwys fawr yn y nef, " Yr olew
iodd."

VII. Crybwyllir yn nesaf am ymweliadau y pro
theulu gwraig oludog yn Sunem. Yr oedd Sunem yn
ffordd oedd yn arwain o gyrau dwyreiniol y wlad tua
Carmel. Yr oedd yn sefyll o fewn pum' milldir i fyn
bor. Byddai Eliseus yn tramwy yn lled fynych y ffor
ac un diwrnod pan oedd yn myned drwy Sunem, darfu
oludog, hael, garedig, gymwynasgar, oedd yn byw
gymell i droi i'w thŷ i fwyta bara, a hoffodd ei agwe
rifol, a'i ymddyddanion adeiladol gymaint, fel y dymun
droi i mewn i orphwys a bwyta pa bryd bynag y b
myned heibio. Derbyniodd Eliseus ei gwahoddiad,
gwyddai fod ei chroesaw yn " groesaw calon a galwa
fwynhau bob tro y tramwyai heibio. Yr oedd y

offi ei foes, a'i ysbryd, a'i egwyddorion fwy fwy bob tro y
oai yno, ac yr oedd yn ei chyfrif yn fraint cael ei groesawu;
: er ei wneud yn fwy cysurus, hi a ddywedodd wrth ei gwr,
Vele yn awr mi a wn mai gwr sanctaidd i Dduw ydyw hwn,
'dd yn cyniwair heibio i ni yn wastadol. Gwnawn, atolwg,
stafell fechan ar y mur, a gosodwn iddo yno wely, a bwrdd,
stol, a chanwyllbren, fel y tro efe yno, pan ddelo atom ni.
'r oedd yno ystafell fechan dlws iawn, mewn lle iach prydferth
' y mur, wedi ei dodrefnu at archwaeth y proffwyd. Nid oedd
ıo ddim dodrefn, nac addurniadau afreidiol; ond yr oedd
ıo bob peth oedd yn eisiau er ei gysur fel pererin ar ei daith:
wely at iddo gysgu a gorphwys, bwrdd at osod bara o'i flaen,
ol iddo eistedd arni, a chanwyllbren i ddal ei oleuni pan y
ewisai eistedd y nos i fyfyrio. Yr oedd y proffwyd yn teimlo
a ddedwydd iawn yn ei ystafell fechan. Yr oedd yn un mor
ryno ac mor gyfleus, mor ysgafn ac mor dawel; ac yr oedd
a teimlo mor ddiolchgar am y fath garedigrwydd, fel y darfu
ldo un tro erchi i Gehazi ei was, alw y Sunamees ato, a hi a
daeth ac a safodd ger ei fron; ac efe a ddywedodd wrthi hi,
Vele, ti a ofelaist trosom ni â'r holl ofal yma, beth sydd i'w
'neuthur erot ti? A oes a fynych di ei ddywedyd wrth y
renin, neu wrth dywysog y llu? Yr oedd yn barod i ofyn
m unrhyw ffafrau o'r llys ar a allai fod er ei lles hi a'i theulu;
nd atebodd y wraig yn foneddigaidd, ei bod yn byw yn dded-
'ydd yn nghanol ei phobl, a bod ganddi bob peth oedd yn
siau er bod yn gysurus. Yr oedd ei hatebiad yn profi ei
od yn croesawu y proffwyd, nid er mwyn hunan-elw, ond o
ir haelfrydigrwydd; nid er mwyn cael derchafiad yn y llys,
a chael unrhyw at-daliad felly; ond am fod ganddi fodd a
ıyfleusdra i ddangos lletygarwch i wr Duw, yr hwn oedd yn
afurio yn ddiwyd i wasanaethu ei oes a'i genedl dros Dduw,
: i wneud achos Duw yn foliant ac yn ogoniant drwy'r wlad.
'an ddeallodd y proffwyd nad oedd ei lety-wraig garedig yn
sgwyl dim ffafrau felly, gofynodd i Gehazi, Beth gan hyny
'dd i'w wneuthur erddi hi? Yr oedd ei ofyniad yn arwyddo

fod ganddo feddwl uchel am graffineb Gehazi ; ac yn wir, y oedd Gehazi yn graff am bethau o'r natur hyny, a dywedodd, Yn ddiau nid oes iddi fab, a'i gwr sydd yn hen. Yr oedd y gweled fod ganddi gartref llawn, a llawer o olud, ond ni oedd ganddi yr un plentyn i etifeddu ei heiddo, a gwyddai byddai yn well ganddi adael yr etifeddiaeth i fab nag i est Derbyniodd y proffwyd ei gyngor, a dywedodd, Galw hi, efe a'i galwodd hi, a hi a safodd yn y drws. Ac efe a ddywedodd wrthi, Yn nghylch y pryd hyn, wrth amser bywiol ti a gofleidi fab. Hithau a ddywedodd, Nage, fy Arglwy gwr Duw, na ddywed gelwydd i'th law-forwyn. Yr oedd bron yn yr un yspryd ag oedd Sarah pan y cafodd addew am Isaac ; ond hi a gafodd fab, yn ol gair Eliseus. A'r b gen a gynyddodd: yr oedd yn blentyn hawddgar a gobeith ac yr oedd yn anwyl iawn gan ei rieni. Ac efe a aeth u ddydd-gwaith at ei dad i weled y medelwyr. Yr oedd g dydd digwmwl ar faes y fedel yn gryf iawn. Yr oedd eg tês yr haul yn rhy gryf i gyfansoddiad tyner y bachgen ieuan ac efe a ddywedodd wrth ei dad "Fy mhen, fy mhen." feddyliodd ei dad fod yr haul wedi effeithio mor drwm arno dywedodd wrth un o'r llanciau, Dwg ef at ei fam ; a'r llanc cymerodd ef at ei fam, ac efe a eisteddodd ar ei gliniau hi h haner dydd, ac a fu farw. Mae geiriau yr adroddiad yn wyddo mai un o oedran tyner plentyn, oddeutu pedair oed, oedd pan y bu farw. A'i fam a'i cymerodd ef i ystafell g Duw, ac a'i gosododd ef i orwedd ar wely gwr Duw, ac a odd arno, ac a aeth allan. Gwasgfa drom i'w chalon oedd weled yn marw, ond darfu i nerth a chynllun ei ffydd ei ch yn awr y brofedigaeth. A hi a alwodd ar ei gwr, ac a dywedodd, Anfon, atolwg, gyda mi un o'r llanciau ac un o'r as od, canys mi a redaf hyd at wr Duw, ac a ddychwelaf. wedodd yntau, Paham yr ai di ato ef heddyw ? Nid yw na newyddloer na Sabboth. Hithau a ddywedodd, Pob p yn dda. Y mae yn amlwg oddiwrth eiriau y gwr fod lle ad oliad, ac amserau addoliad, gan y proffwyd ar fynydd Carm

›d ganddo allor yno i Dduw Elias, dichon hen allor cymanfa
ıwr y fuddugoliaeth ar broffwydi Baal; ac y mae'n amlwg
›d credinwyr o bell ac agos yn cyrchu yno, yn enwedig ar y
ewyddloerau a'r Sabbothau, i ymgyngori ag ef, ac â Duw
ŗwyddo ef. Yr oedd y gwr yn rhyfeddu ei bod hi am fyned
no y pryd hyny, gan nad oedd "na newyddloer na Sab-
oth;" ond amlygodd hi yn deimladwy, ond yn foneddigaidd
ıwn fod bryd ei chalon ar fyned, ac y byddai y daith, er yn
n o gryn lafur, er daioni; ac felly ni cheisiodd y gwr ei lludd-
ıs i fyned i'r gymdeithas grefyddol, er ei bod yn ddiwrnod an-
rferol. Yna hi a gyfrwyodd yr asyn, ac a ddywedodd wrth
i llanc, Gyr, a dos rhagot, nac aros am danaf fi i farchogaeth
nid archwyf it. Yr oedd yn wraig gref o ran corff a meddwl
chrefydd, yn un o ddyfais ac o yspryd ac ymroad. Felly hi
aeth, ac a ddaeth at wr Duw i fynydd Carmel, a phan wel-
ıdd gwr Duw hi o bell, efe a ddywedodd wrth Gehazi ei was,
vele y Sunamees hono. Rhed yn awr, atolwg, i'w chyfarfod,
dywed wrthi hi, A wyt ti yn iach? A ydyw dy wr yn iach?
ydyw'r bachgen yn iach? Dywedodd hithau, Iach. Nid
ıedd hi ddim am ymdroi i esbonio'r amgylchiad i Gehazi. A
ıhan ddaeth hi at wr Duw i'r mynydd, hi a ymaflodd yn ei
lraed ef, a Gehazi a nesaodd i'w gwthio hi ymaith. A gwr
)uw a ddywedodd, Gad hi yn llonydd, canys ei henaid sydd
ıfidus ynddi, a'r Arglwydd a'i celodd oddiwrthyf fi, ac nis
ıynegodd i mi. Gallasai Gehazi wybod ei bod hi mewn trall-
ıd, ac yr oedd yn bur fyrbwyll a nwydwyllt, neu yn rhith-
anctaidd, pan yr oedd am ei gwthio hi ymaith. Dichon ei fod
vedi sori a moni wrthi, eisiau ei bod wedi ymgrymu iddo ef,
c ymaflyd yn ei draed ef, a dywedyd ei holl neges wrtho ef,
;an ei fod ef wedi rhedeg i'w chyfarfod hi, ac wedi ymholi am
i hiechyd hi a'i theulu. Yna hi a ddywedodd wrth wr Duw,
ddymunais i fab gan fy Arglwydd? Oni ddywedais, na
hwylla fi? Yna efe a ddywedodd wrth Gehazi, Gwregysa
y lwynau, a chymer fy ffon yn dy law, a dos ymaith: o chy-
ırfyddi â neb, na chyfarch iddo, ac o chyfarch neb di, nac

ateb ef, a gosod fy ffon i ar wyneb y bachgen. Deall proffwyd neges y wraig ar haner gair, cyn iddi yn brin reu agor yr hanes, ac archodd i Gehazi redeg i Sunem, a y ffon ar wyneb y bachgen; ond yr oedd enaid y bychan myned yn rhy bell i Gehazi fedru ei alw yn ol er cael proffwyd yn ei law. Gwyddai y fam hyny, a dywedodd y proffwyd, Fel mai byw yr Arglwydd, a byw dy enaid ymadawaf fi a thi; ac efe a gyfododd, ac a aeth ar ei h Beth bynag oedd ei brysurdeb a'i ludded, ni fedrai omedd ffydd y wraig gymwynasgar o Sunem. Yr oedd Geha gallu rhedeg yn llawer cyflymach na hwy, ac aeth o'u bla gwnaeth yn ol cyfarwyddyd y proffwyd, ond ni ddadebro bachgen. Ni ollyngai angau ei ysglyfaeth tyner wrth i hazi fydol ddangos y ffon iddo. A phan ddaeth Elis mewn i'r ty, wele y bachgen wedi marw, yn gorwedd wely ef: felly efe a aeth i mewn, ac a gauodd y drws arny dau, ac a weddiodd ar yr Arglwydd; ac efe a aeth i fyny a orweddodd ar y bachgen, ac a osododd ei enau ar ei e yntau, a'i lygaid ar ei lygaid ef, a'i ddwylaw ar ei ddwyla ac efe a ymestynodd arno ef, a chynesodd cnawd y bach ac efe a ddychwelodd, ac a rodiodd yn y tŷ i fyny ac i wae ac a aeth i fyny ac a ymestynodd arno ef, a'r bachgen a iodd hyd yn seithwaith, a'r bachgen a agorodd ei lygaid mae yn amlwg fod y proffwyd yn teimlo mwy o ryddid a nerth wrth weddio yn ddirgel, wedi cau y drws arno, heb yno gydag ef ond y bachgen marw a'r Duw byw, na phe asai y cymydogion wedi ymdyru yno, a'r teulu yno. Nid neb yn yr ystafell gydag ef pan yr oedd yn ymdrechu a D na'r tad, na'r fam, na'i was, na neb arall. Yr oedd ei f yn gref pan yn cychwyn o Carmel, ac y mae'n eglur fod g ei ffydd yn myned gryfach gryfach. Nid gosod ei ffon wyneb y bachgen, a chefnu ar ol y cynyg cyntaf, a wna ond rhoddi ei enau ar ei enau, a'i lygaid ar ei lygaid, a'i g ar ei galon, ac ymestyn arno; ac fel yr oedd cnawd y ba gen yn cynhesu, yr oedd ei ffydd yntau yn cryfhau ei gal

a phan oedd yn rhodio i fyny ac i waered rhwng yr ymestyniad cyntaf a'r ail ymestyniad, yr oedd o hyd yn gwella gafael ei ffydd yn nerth a gras yr Anweledig, a gorchfygodd, a chafodd y fendith. Yr oedd yr odfa hono, yn ei ystafell fechan yn Sunem, yn werth dyfod o Carmel yno. Pwy all ddirnad ei dedwyddwch a'i orfoledd pan glywodd y bachgen yn tisian, ac yn tisian hyd yn seithwaith, a phan y gwelodd y bachgen yn agoryd ei lygaid? Efe a alwodd ar Gehazi, ac a archodd iddo alw y fam yno, a hi a ddaeth. Dywedodd yntau, Cymer dy fab. A hi a aeth i mewn, ac a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ymgrymodd hyd lawr, ac a gymerodd ei mab, ac a aeth allan. Ofer fyddai i ni geisio darlunio ei theimladau. Atebwyd ei gweddi. Gwobrwywyd ei ffydd. Bytholwyd ei choffadwriaeth. Yr oedd yn anwylach ganddi am Dduw, ac am ei air, ac am ei orsedd, ac am ei broffwyd, ac am ei achos, nag erioed o blaen; a phan gafodd hi ei bachgen hoff, yn y dull rhyfedd hwnw, yr ail waith, gan Dduw, yr oedd yn dlysach yn ei golwg nag erioed, ac yr oedd yn fwy penderfynol nag erioed i'w fagu i'r Arglwydd. Buasem yn hoffi gwybod hanes bywyd bachgen mor uchel ei freintiau, ond nid yw ei hanes i'w gael. Y mae lle i gasglu iddo gofio drwy ei oes y cûr mawr yn ei ben pan ar faes y fedel, a phan yn cael ei gario i'r tŷ, a phan yno ar lîn ei fam, a'r olwg a gafodd ar Eliseus pan yr agorodd ei lygaid o hûn angau, ac am deimladau a geiriau ac agweddau ei fam pan yr aeth allan yn ei llaw o ystafell y proffwyd. Diamheu i'r adgofion am yr amgylchiad ddylanwadu ar ei brofiad, a diamheu i'r amgylchiad ddylanwadu hefyd ar y teulu, ac ar y cymydogion; ond nid yw y Beibl yn rhoddi i ni ddim o'r manylion.

VIII. Un o'r pethau mawrion nesaf a wnaeth Eliseus oedd iachau gwahanglwyf Naaman, tywysog llu brenin Syria. Yr oedd Naaman yn wr mawr yn ngolwg ei arglwydd. Yr oedd yn anrhydeddus yn y llŷs, ac yn y fyddin, a thrwy yr holl wlad; oblegyd trwyddo ef, trwy ei gyngor a'i gadernid ef, yr oedd yr Arglwydd wedi rhoddi ymwared i Syria mewn adeg o

gyfyngder. Yr oedd yn wr cadarn, nerthol, o gyfanso
cryf, o gorff hardd golygus, o galon wrol, o feddwl cyfly
araeth ffraeth synwyrol, ac o foes ac agwedd gwir dyw
aidd: "ond yr oedd yn wahanglwyfus." Yr oedd af
brwnt anaele wedi gafaelyd ynddo. Y mae clefydau a th
odion yn medru eu ffordd i balasau pendefigion, ac fel
oedd gwahanglwyf Naaman yn difwyno ei holl anrhydedd
ysu ei holl gysuron, yn dyrysu ei holl gynlluniau, ac yn g
ei holl obeithion. Yr oedd ei wahanglwyf wedi trechu d
a medr offeiriaid Rimmon, a meddygon penaf holl wlad S
Yr hyn a'i cynhyrfodd i droi ei wyneb tua gwlad Is
chwilio am feddyginiaeth, oedd cyngor caethforwyn ie
wlad Israel oedd yn gwasanaethu ei wraig. Ni ddywe
ba le yn Israel yr oedd wedi dyfod, nac i ba lwyth y per
ai; ond yn unig fod byddinoedd anrheithgar o Syria we
chaethgludo o'i gwlad, ac iddi gael ei chymeryd i deulu N
man. Nid oedd ond "llances fechan," ond gwyddai yn
am yspryd, a doniau, a gweithredoedd Eliseus; ac er bo
Syriaid creulawn wedi ei gorthrymu hi a'i chenedl, yr oed
yn barod i wneud yr oll ar a fedrai er daioni iddynt hwy,
yn enwedig er lles a chysur ei meistr a'i meistres. Yr o
wedi cael cyfleusderau i wybod yn dda am y trallod trwm o
gwahanglwyf Naaman yn achosi i'w deulu; yr oedd yn te
drosto, a thros ei wraig a'r teulu; a hi a ddywedodd, o g
lawn o deimlad, mewn llais ac iaith effeithiol, wrth ei meis
O na byddai fy arglwydd o flaen y proffwyd sydd yn Sa
canys efe a'i hiachai ef o'i wahanglwyf. Yr oedd ganddi
hyder yn ngallu ac ewyllysgarwch y proffwyd oedd yn
maria i'w iachau. Hysbysodd ei thystiolaeth mewn ych
eiriau byrion ac eglur, a gwnaethant argraff ar unwait
feddwl ei meistres; ond er eglured oedd ei thystiolaeth,
i rywun, neu rywrai, ei cham-adrodd i Naaman ac i'r br
A brenin Syria a ddywedodd wrth Naaman, Dos, cerdd
mi a anfonaf lythyr at frenin Israel. Ac efe a aeth, ac a
gydag ef ddeg talent o arian, a chwe' mil o aur, a deg p

dillad. Ac efe a ddug y llythyr at frenin Israel, gan ddywedd, Yn awr, pan ddel y llythyr hwn atat ti, wele, anfonais atat Naaman fy ngwas, fel yr iachait ef o'i wahanglwyf. A phan ddarllenodd brenin Israel y llythyr, efe a rwygodd ei dillad, ac a ddywedodd, Ai Duw ydwyf fi, i farwhau ac i fywhau, pan anfonai efe ataf fi i iachau gwr o'i wahanglwyf? gwybyddwch gan hyny, atolwg, a gwelwch, mai ceisio achos mae efe i'm herbyn i. Nid oedd y gaethes fechan wedi son am—dim haner gair—am frenin Israel, ond yn unig am y proffwyd oedd yn Samaria; eithr tybiodd brenin Syria mai mwy frenin Israel yn rhyw ddull, yr oedd Naaman i ddyfod o ran i'r feddyginiaeth. Yr oedd y mawrion yn yr oes hono, fel llawn ocsoedd ar ol hyny, yn rhy barod i feddwl mai trwy ddwyfol swydd" y breninoedd yr oedd pob daioni i ddyfod w deiliaid. Pan glybu Eliseus rwygo o frenin Israel ei ddillad, efe a anfonodd at y brenin gan ddywedyd, Pabam y rhwygaist dy ddillad? deued yn awr ataf fi, ac efe a gaiff wybod fod proffwyd yn Israel. Yr oedd yn ddrwg gan Eliseus fod brenin Israel wedi syrthio i'r fath brofedigaeth yn achos gwahanglwyf Naaman, ac felly parodd iddynt ei anfon ato ef. Yna Naaman a ddaeth, â'i feirch, ac â'i gerbydau, ac a safodd wrth ddrws tŷ Eliseus. Yr oedd ganddo osgordd ardderchog, yr oedd addurn ei feirch a'i gerbydau yn ysplenydd, a diamheu fod yn disgwyl i'r olwg arnynt effeithio yn ffafriol ar y proffwyd Eliseus; ond ni ddaeth Eliseus i'r golwg, eithr anfonodd ato gennad, gan ddywedyd, Dos ac ymolch saith waith yn yr Iorddonen, a'th gnawd a ddychwel i ti, a thi a lanheir. Yr oedd y cyngor yn un eithaf eglur a rhadlawn, ac yn hawdd ei wneud; ond Naaman a ddigiodd, ac a aeth ymaith, ac a ddywedodd, Wele mi a feddyliais ynof fy hun, gan ddyfod y deuai efe allan, ac y safai efe, ac y galwai ar enw yr Arglwydd ei Dduw ac y trosodai ei law ar y fan, ac yr iachai y gwahanglwyfus. Yr oedd ei siomedigaeth yn fawr dros bob mesur, oblegyd ei fod wedi meddwl y buasai yn cael cyfle i ddangos ei urddas a'i roniau, a'i ddylanwad i'r proffwyd, ac y buasai y proffwyd yn

dduwiau, yn ysgwyd ei law uwch ei glwyf,
law ar y fan, ac yn dweyd ei weddi uwch
iachau yn ol defod rhodres-waith dewini
glwyf dwfn i'w falchder i'r proffwyd beidi
Dylasai wybod fod Duw Israel bob amser y
hun i weithio—ei fod yn gweithio holl dref
edd yn ol cynger ei ewyllys ei hun, a bod ei
ser i lefaru a gweithredu yn ol ei air a'i gyn
ystyried hyny, ymwylltiodd Naaman, mewn
nheilwng o'i sefyllfa a'i gymeriad fel tywysog
bodaeth ac o brofiad yn chwilio am waredig
a dywedodd yn ffroen uchel yn ngwylltineb e
falchder, Onid gwell Abana a Pharpar, afon
holl ddyfroedd Israel? Oni allaf ymolchi
ymlanhau? Felly efe a drodd, ac a aeth ym
A'i weision a nesasant, ac a lefarasant wrtho
ant, Fy nhad, pe dywedasai y proffwyd beth
onis gwnelsit? pa faint mwy gan iddo ddywe
olch a bydd lân? Effeithiodd ymresymiad
amserol ei weision er dofi llid ei ddigter.
waered, ac a ymdrochodd saith waith yn yr
gair gwr Duw, a'i gnawd a ddychwelodd fel
ac efe a lanhawyd. Buasai yn drwm iawn i
nwydwylltedd ei falchder, dan ymgyndynu y
nefoedd a chynyg afonydd Damascus yn lle

ıdd at wr Duw, efe a'i holl fintai, ac a ddaeth ac a safodd ei fron ef, ac a ddywedodd, Wele, yn awr y gwn nad oes r drwy'r holl ddaear, ond yn Israel ; am hyny, cymer yn atolwg, rodd gan dy was. Nid oedd modd iddo amlygu r o feddwl ac o deimlad, mwy o barch, ac o wylder, ac o lch mewn llai o eiriau. Yr oedd ei agwedd a'i araeth yn aifft o'r fath uchaf o foneddigeiddrwydd. A phan ddychıdd mewn yspryd a dull felly i dalu diolch, ac i gynyg ei ıabyddiaeth, aeth y proffwyd i'w gyfarfod gan lawenhau eled mewn tymer mor ostyngedig a diolchgar. Ond pan l y tywysog yn cynyg ei rodd, efe a ddywedodd, Fel mai yr Arglwydd yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron, ni neraf. A Naaman a gymellodd arno ei chymeryd ; eto ı'i gwrthododd. Yna Naaman, yn hŵyl gynesaf ei gref- yn llawn sêl ei yspryd mwyaf duwiolfrydig, a ddywedodd, roddir yn awr i'th was lwyth cwpl o fulod o ddaear? canys fryma dy was mwyach boeth-offrwm nac aberth i dduwiau l, ond i'r Arglwydd. Gallasid meddwl y buasai yn ffydd- dros weddill ei oes i Dduw Israel; ac y buasai yn cy- di ei enw, ac yn datgan ei wyrthiau, yn llŷs Syria, a 'y yr holl deyrnas : ond nid oedd ei galon yn medru hollol rthod â chrefydd y brenin a'i lŷs ; yr oedd am gael rhyddid ed i dŷ Rimmon gyda'r brenin a'i bendefigion ar ddydd res yr uchel-ŵyl ; a dywedodd, Yn y peth hyn yr Ar- 'dd a faddeuo i'th was ; pan elo fy Arglwydd i dŷ Rim- i addoli yno, a phwyso ar fy llaw i, a phan ymgrymwyf ı yn nhŷ Rimmon, maddeued yr Arglwydd i'th was yn y hyn, Caniataodd y proffwyd iddo ei ddymuniad o gael th cwpl o fulod o ddaear Israel, er codi allor i Dduw Is- yn Syria, a dywedodd wrtho, pan oedd yn ymadael, Dos n heddwch ; ac efe a aeth mewn dedwydd fwriad i beidio thu mwyach i dduwiau eraill, ond yn unig i Dduw Is-

ıd, wedi iddo fyned encyd o ffordd, Gehazi, gwas Eliseus, ywedodd, Wele, fy meistr a arbedodd Naaman y Syriad

feisiodd yn gyfrwys ddrwg y celwyddau mwyaf dybryd er cael ychydig o arian, a deubar o ddillad. Yr oedd wedi bwriadu a chynllunio i gael bod yn wr boneddig trwyadl yn ei ddillad newyddion o Syria, a'r dillad hyny yn rhai o'r defnyddiau goreu allasid gael yn Damascus, a chael digon o arian hefyd yn ei byrsau i ateb i'r dillad; ond trodd ei gynllun yn siomedigaeth iddo. Gorfu iddo, yn ei bryder i geisio cuddio ei gelwydd a'i gybydd-dod, arfer cyfrwysdra hollol annheilwng o dŷ ei feistr i droi gweision Naaman yn ol o'r bwlch dirgel rhag i Eliseus eu gweled; a chuddio y dillad a'r arian yn y tŷ rhag i'r proffwyd eu cael, a dywedyd celwydd tlawd dan grynu o flaen ei feistr wrth geisio celu ei ddichellion a'i gelwyddau blaenorol. Nid oedd dim modd i gyfrwysdra ei gybydd-dod wneud troion mwy dianrhydeddus, a chwerw ofnadwy fu ei gospedigaeth. Yr oedd edrychiad llym y proffwyd yn trywanu ei enaid pan y dywedodd Eliseus, Onid aeth fy nghalon gyda thi, pan drodd y gwr oddiar ei gerbyd i'th gyfarfod di? A ydoedd hi amser i gymeryd arian, ac i gymeryd gwisgoedd, ac olewydd-lanau a gwinllanau, a defaid a gwartheg, a gweision a morwynion? Am hyny gwahan-glwyf Naaman a lŷn wrthyt ti, ac wrth dy hâd yn dragywydd. Nid oedd y ddwy dalent, na'r ddau bâr dillad o ddim cysur iddo pan oedd gwahanglwyf Naaman, yn holl nerth ei lid gwaethaf, wedi ymaflyd ynddo. Yr oedd mor drwm ganddo feddwl am yr arian a'r dillad ag oedd gan Achan i feddwl am y llafn aur, a'r dau can' sicl arian, a'r fantell Babylonig deg. Yr oedd mor drwm ganddo edrych arnynt ag oedd gan Judas i edrych ar ei ddeg ar hugain arian. Collodd ar unwaith ac am byth ei sefyllfa a'i swydd fel gwas Eliseus, ac aeth ymaith o'i wydd yn wahanglwyfus cyn wyned a'r eira. Maglwyd ef yn rhwyd ei gybydd-dod, diffoddodd ei ganwyll, a suddodd o'r golwg i dywyllwch barnedigaeth.

Dichon mai yr addysgiadau mwyaf effeithiol ac ymarferol i ni oddiwrth hanes iachad Naaman ydyw,

1. Y gellir bod yn ddefnyddiol yn mhob cyflwr a sefyllfa.

IX. Yr hanes nesaf am Eliseus ydyw ei waith yn datguddio cyfrinachau, ac yn dyrysu cynllwynion brenin Syria a'i fyddin. Yr oedd brenin Syria wedi cyhoeddi rhyfel yn erbyn Israel. Ni wyddir yn awr yr achlysur o'r rhyfel hwnw. Golyga rhai amseryddion iddo gael ei enyn yn mhen ychydig fisoedd ar ol i broffwyd Israel iachau tywysog llu brenin Syria o'i wahanglwyf. Os Naaman oedd maeslywydd gelynion Israel y tro hwn, y mae yn brawf galarus o wylltineb tywysogion cymydogaethol i ryfela a'u gilydd. Bernir nad oedd ond oddeutu blwyddyn er pan oedd Naaman wedi bod yn siarad mor barchus am Dduw Israel, ac am ei broffwydi, a'i addolwyr. Cydymgyngorodd brenin Syria a'i gapteniaid wrth gychwyn eu milwyr i'r maes, yn nghylch y drefn effeithiolaf i ddwyn yn mlaen eu milwriaeth. Ond gyda eu bod wedi cytuno ar y ffordd i ymdaith, a'r lle i wersyllu, a'r dull i ymosod, byddai Eliseus yn datguddio eu cynlluniau i frenin Israel, a thrwy hyny yn lluddias eu cyflawniad. Gwnaeth hyny, nid unwaith, ac nid dwywaith. Wrth weled ei gynlluniau dyfnaf a dirgelaf yn cael eu dyrysu felly, cythryblwyd calon brenin Syria. Penderfynodd fod bradwr yn mysg ei gyngorwyr, yn eu bradychu bob tro i frenin Israel, ac yr oedd am wneud ymchwiliad dioed er dyfod o hyd i'r bradychwr ; ond dywedodd un o'i weision wrtho, Nid oes neb, fy arglwydd frenin, yn fradwr yn mysg dy weision ; Eliseus y proffwyd sydd yn datguddio dy gyfrinachau, efe a fynega i frenin Israel y geiriau a lefari di yn nghanol dy ystafell wely. Credodd y brenin ei air ar unwaith, oblegyd yr oedd wedi clywed lawer gwaith o'r blaen am ddoniau a gwyrthiau Eliseus ; ond yr oedd mor ddig gynhyrfus, fel y penderfynodd anfon byddin gref i ddal y proffwyd, a'i ddwyn yn gaeth i Syria. Cafodd allan, drwy ymholi, fod Eliseus yn byw y pryd hyny yn Dothan, ac anfonodd yno feirch a cherbydau, a llu mawr ; a hwy a ddaethant liw nos, ac a amgylchynasant y ddinas. A phan gododd gwas Eliseus—y gwas newydd oedd wedi gael yn lle Gehazi—pan gododd ei was newydd yn fore, a myned allan, wele lu mawr o ryfelwyr

arfog, yn wyr traed, a gwyr meirch, a gwyr cerbydau, yn a
gylchynu y ddinas; a gwaeddodd yn ei ddychryn, Aha,
meistr, pa fodd y gwnawn? Ac Eliseus a ddywedodd wrth
Nac ofna, canys amlach yw y rhai sydd gyda ni, na'r rh
sydd gyda hwynt. Prin yr oedd y gwas dychrynedig yn g
credu gair y proffwyd, am nad oedd yn gweled byddin eu ha
ddiffynwyr. Gweddiodd Eliseus am i'r Arglwydd agor ei l
gaid fel y gwelai eu gosgordd, a'r Arglwydd a agorodd lyg
y llanc, ac efe a edrychodd, ac wele y mynydd yn llawn mei
a cherbydau tanllyd o amgylch Eliseus; yr oedd yn fyd
llawer amlach, a llawer ardderchocach ei meirch a'i cherbyd
a'i harfau na byddin y Syriaid. Deallodd y gwas erbyn h
fod mwy o'u tu nag oedd yn eu herbyn. Pan ddaeth llu
Syriaid i lawr o'r mynydd i'r ddinas i ddal y proffwyd, gwedd
odd yntau am i'r Arglwydd eu taro â dallineb. A phan oedd
ynt yno, mewn lle hollol ddieithr, yn ymbalfalu ganol dydd
y parwydydd, ac ar draws y ceryg a'r ffosydd, heb wybod p
fodd i symud, na pha beth i'w wneud, na phwy i'w ddal, n
phwy oeddynt eu gelynion na'u cyfeillion, aeth Eliseus atynt,
dywedodd, Nid hon yw'r ffordd, ac nid hon yw'r ddinas, de
wch a'r fy ol i, a mi a'ch dygaf chwi at y gwr yr ydych ch
yn ei geisio; ond efe a'u harweiniodd hwynt i Samaria.
chawsant weled yno y gwr oeddynt yn ei geisio. Yr oedd
ddifyr i weled byddin fawr o ddeillion yn rhes hir yn dilyn
proffwyd. Yr oeddynt wedi dyfod yno yn llu mawr arfog i
ddal ef, ond yr oedd ef yn eu dal hwy. Yr oeddynt hwy we
arfaethu ei gymeryd ef i gaethiwed, ond yr oedd ef, heb ddi
trafferth, yn eu tywys hwy oll yn un llinyn i gaethiwed. P
ddaethant i Samaria, cyffrodd yr holl ddinas, ac yr oedd
gynwrf byw drwyddi oll, gweled y proffwyd yn arwain byd
fawr o ddeillion arfog drwy'r pyrth i ganol y ddinas. P
oeddynt yno yn nghanol y *square* fawr, gweddiodd Eliseus
i'r Arglwydd agor eu llygaid; a'r Arglwydd a agorodd
llygaid, ac wele yn nghanol Samaria yr oeddynt. Yr oe
golwg wyllt, fel edrychiad ffyliaid arnynt, pan gawsant eu h

ain yn nghanol Samaria, a byddinoedd Israel yn eu cylchynu ar bob llaw. Gofynodd brenin Israel i'r proffwyd, Gan daro, a darawaf fi hwynt, fy nhad? Yr oedd yn teimlo yn gryf ac yn wrol, ac yn barod i daro, ac i gymeryd eu meirch, a'u cerbydau, a'u harfau, a'u holl glud yn anrhaith, gan iddynt ddyfod yn arfog i ganol ei wlad, a'i fod wedi eu cael felly i'r ddalfa. Ond dywedodd y proffwyd, Na tharo: a darewit ti y rhai a gaethiwaist â'th gleddyf ac â'th fwa dy hun? gosod fara a dwfr ger eu bron hwynt, fel y bwytaont ac yr yfont, ac yr elont at eu harglwydd. Gorchfygodd Eliseus eu drygioni trwy ddaioni. Porthodd ei elynion newynog, diododd ei elynion sychedig. Yr oedd yn hyfryd eu gweled yn gwledda ar fwrdd mawr y llŷs, yn nghanol Samaria, a'r proffwyd, a'r brenin a'i holl weinidogion yn dangos iddynt bob caredigrwydd a chroesaw. Ymddygwyd yn anrhydeddus atynt. Arlwywyd iddynt arlwy fawr, yn ol cyngor Eliseus, a hwy a fwytasant, ac a yfasant, ac a ollyngwyd ymaith, a hwy a ddychwelasant at eu harglwydd, i'w ddifyru ef â hanes eu taith. A byddinoedd Syria ni chwanegasant ar yr adeg hono, ddyfod i wlad Israel. Nid oedd dim blŷs dyfod yno eilwaith ar y fyddin hono, rhag eu taro yr ailwaith â dallineb, ac i'r amryfusedd diweddaf droi allan yn waeth na'r cyntaf.

Dylai yr adroddiad yma ddysgu i ni ddau beth yn arbenig:

1. Nad yw y gyfrinach ddirgelaf ddim yn guddiedig oddiwrth Dduw. Ni thywylla y tywyllwch rhagddo ef. Y mae ei lygaid ef ar holl gamrau dyn. Nid oes dywyllwch na chysgod angau lle y gall y rhai sydd yn gweithio anwiredd ymguddio. Y mae uffern yn noeth ger ei fron ef, ac nid oes dô ar ddistryw. Y mae yn clywed yr hyn a lefarir yn y glust yn nghanol yr ystafell wely. Y mae yn deall y meddwl o bell, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon. Nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef, am yr hwn yr ydym yn son.

2. Mai lliosog a chyflym a nerthol iawn ydynt y byddinoedd o angylion, gwyr y cerbydau tanllyd, sydd gan Dduw i

amddiffyn ei bobl. Gall un o honynt fyned allan a lladd gyntaf-anedigion yr Aipht mewn un nos : a gall ladd ag anadl gant a phedwar ugain a phump o filoedd yn ngw ei elynion. Y mae llengoedd dirif, filoedd o filoedd, a m iynau o fyrddiynau o honynt. Nid oes neb all lwyddo y herbyn, na dianc o'u ga Dylid gweddio am lygaid ag i'w gweled yn awr yn llen y mynyddoedd o'n deutu, ac bil am ras i filwrio dan fa eu brenin, fel y byddant o hochr, drwy holl beryglon holl boethder y frwydr, ac byddwn yn sicr o ddiogelwch a buddugoliaeth. Bydd g hardd iawn arnynt ar faes ẽ ng y dydd mawr, pan y byd yn eu llawn arfogaeth, dan ygad eu tywysog, yn dymchw y gelynion i'w bythol ddinystr, ac yn tywys y gwaredigi wlad eu buddugoliaeth a'u gorphwysdra.

X. Crybwyllir yn nesaf am Eliseus yn rhagfynegi hel rwydd annisgwyliadwy yn Samaria ar adeg o newyn Gallasid disgwyl na buasai y Syriaid, ar ol clywed cymaint nerthoedd Duw Israel, byth yn cynyg mwyach dyfod i Israel, yn enwedig ar ol clywed adroddiad a chyffes Naa am ei iachâd, ac adroddiad y rhai a darawid â dallineb adferiad eu golwg ; ond hawdd iawn gan galon falch ydyw ymgaledu yn erbyn Duw. Tua phen blwyddyn ar fyddin y deillion gael eu gollwng adref yn anrhydeddus, cy odd Benhadad brenin Syria ei "holl lu," ac aeth i fyn warchae ar Samaria ; ac yr oedd y gwarchae mor dŷn nes oedd y newyn yn drwm alaethus yn y ddinas. Gwerthid asyn er pedwar ugain sicl o arian, a phedwaredd ran cab o colomenod er pum' sicl o arian. Dwylaw gwragedd tost a ferwasant eu plant eu hunain er dofi cnofeydd y ne Fel yr oedd y brenin un tro yn myned heibio ar y mûr, gw a lefodd arno ef gan ddywedyd, Achub, fy arglwydd fr Dywedodd yntau, Oni achub yr Arglwydd dydi, pa fod achubaf fi di? ai o'r ysgubor neu o'r gwin-wryf? Be ddarfu i ti? Hithau a ddywedodd, Y wraig hon a ddy odd wrthyf, Dyro dy fab fel y bwytaom ef heddyw, a'm

n a fwytawn ni y foru. Felly, ni a ferwasom fy mab i, ac bwytasom ef: a mi a ddywedais wrthi hithau y diwrnod ll, Dyro dithau dy fab fel y bwytaom ef; ond hi a guddd ei mab. A phan glybu y brenin eiriau y wraig, efe a rgodd ei ddillad, ac a aeth heibio ar y mur, a'r bobl a edhodd, ac wele, sachliain oedd am ei gnawd ef oddi fewn. I yr oedd dychrynfeydd y gwarchae, a gwasgfeuon y newyn lle gwasgu brenin Israel i'r llwch i ymbil yn ostyngedig ac eiriol am drugaredd Duw, yn ei galedu a'i gynddeiriogi yn rthryfel yn erbyn ordinhadau yr Arglwydd; yn lle ymostg a chydnabod gyda pharchedig ofn ei fod ef a'i dywysoga'i bobl wedi troseddu cyfammod eu Duw, yr oedd yn taflu ai at ddrws ei ragluniaeth, ac yn hyf gyhoeddi mai ofer d gwasanaethu yr Arglwydd, a dysgwyl wrtho: ac efe a wedodd yn rhyfyg ei gynddaredd, Fel hyn y gwnelo Duw i, ac fel hyn y chwanego, os saif pen Eliseus mab Saphat o ef heddyw. Yr oedd yn ofnadwy ei glywed yn tyngu i'r glwydd y mynai ladd ei broffwyd y diwrnod hwnw; ond allai brenin Israel na brenin Syria ychwaith gael pen Elis mor hawdd ag oeddynt yn dychymygu. Yr oedd Elis yn eistedd yn ei dŷ, a'r henuriaid yn eistedd gydag ef. r brenin a anfonodd wr o'i flaen; ond cyn dyfod y genad at seus, efe a ddywedodd wrth yr henuriaid, A welwch chwi r anfonodd mab y llofrudd hwn i gymeryd ymaith fy mhen Edrychwch pan ddêl y genad i mewn, caewch y drws, a iwch ef wrth y drws; onid yw trwst traed ei arglwydd ar ol ef? Ac efe eto yn ymddyddan â hwy, wele y genad yn fod i mewn ato ef, ac yn dywedyd, wele y drwg hwn sydd liwrth yr Arglwydd, paham y dysgwyliaf oddiwrth yr Arydd mwy? Gyda hyny, yr oedd y brenin ei hun, a'i dywgion wedi cyrhaedd yno i ladd y proffwyd. Ond gyda edd hyf sobr, a chyda llais o nerth ac awdurdod, Eliseus a wedodd, Gwrandewch ar yr Arglwydd: Fel hyn y dywed yr glwydd, Yn nghylch y pryd hyn y foru y gwerthir sat o liad er sicl, a dau sat o haidd er sicl, yn mhorth Samaria.

Yna y tywysog yr oedd y brenin yn pwyso ar ei law, a a odd wr Duw, ac a ddywedodd, Wele, pe gwnai yr Argl ffenestri yn y nefoedd, a fyddai y peth hyn? Yr oedd anffyddiaeth yn ei iaith, ac yr oedd yn taflu y dirmyg m ar olud rhagluniaeth Duw, ac yr oedd ei ryfyg yn arsw pan yn codi ei lef felly mor gyhoeddus yn nghlyw y proff a'r brenin, a'r henuriaid, a'r tywysogion yn erbyn addewid garedd Duw: ac arswydus oedd dedryd uniongyrchol Duw yn ei erbyn, Wele, ti a'i gweli a'th lygaid, ond ni f o hono. Y mae adroddiad byr y Beibl o'r modd y daeth iau gwr Duw i ben yn hynod o darawiadol. Ac yr oedd war gwr gwahanglwyfus wrth ddrws y porth, a hwy a dd asant wrth eu gilydd, Paham yr ydym ni yn aros yma n meirw? Os awn i mewn i'r ddinas, newyn sydd yn y d a ni a fyddwn feirw yno; ac os trigwn yma, ni a fyddwn hefyd; am hyny deuwch yn awr, ac awn i wersyll y Syr o chadwant ni yn fyw, byw fyddwn; ac os lladdant ni, b wn feirw. A hwy a gyfodasant ar doriad dydd i fyned i syll y Syriaid, a phan ddaethant at gwr eithaf eu gwersyll, nid oedd neb yno. Canys yr Arglwydd a barasai i'r Sy glywed trwst cerbydau, a thrwst meirch, trwst llu maw hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Wele, brenin Israel a logodd i'n herbyn ni freninoedd yr Hethiaid, a breninoedd Aipht i ddyfod arnom ni. Am hyny, hwy a gyfodasant, ffoisant ar lasiad y dydd, ac a adawsant eu pebyll, a'u m a'u hasynod, sef y gwersyll fel yr oedd, ac a ffoisant a heinioes. Ni bu byddin erioed mewn "*panic*" gwy Yr oedd cynwrf ei dychryn yn annarluniadwy. Buasa hawdd i'r Duw barodd iddynt glywed meirch a cherby llu mawr, ddwyn llu mawr yn ddisymwth ar eu gwarth na buasai modd iddynt ddianc. Ond eu dychrynu i ffo adref, ac nid eu dyfetha oedd amcan yr Arglwydd. Yr y trwst mor ofnadwy yn eu clustiau fel yr oeddynt yn t fod meirch a cherbydau y gelyn bron ar eu sodlau, ac yr eu ffoedigaeth ar lasiad y dydd, a hi eto yn dywyll, d

l a'r dyrysni, wedi gadael eu barfau a'u holl eiddo ar ol, reol na threfn ; ond pob un yn rhedeg ac yn rhuthro ac ımwthio am ei fywyd, ac yn tybied bob moment ei fod ar hio dan draed y gelyn.

ι phan ddaeth y rhai gwahanglwyfus hyd gwr eithaf y rsyll, hwy a aethant i un babell, ac a fwytasant, ac a yfas- ac a gymerasant oddiyno arian, ac aur, a gwisgoedd, ac ıthant, ac a'u cuddiasant, ac a ddychwelasant, ac a aeth- i babell arall, ac a gymerasant oddiyno, ac aethant ac a'u diasant. Yna y dywedodd y naill wrth y llall, nid ydym n gwneuthur yn iawn, y dydd hwn sydd ddydd llawen- edl, ac yr ydym ni yn tewi a son ; os aroswn ni hyd oleu- bore, rhyw ddrwg a ddigwydd i ni, deuwch gan hyny yn , ac awn fel y mynegom i dŷ'r brenin. Felly hwy a ddaeth- ac a waeddasant ar borthor y ddinas, a hwy a ddywedas- Daethom i wersyll y Syriaid, ac wele nid oedd yno neb, lais dyn, ond y meirch yn rhwym, a'r asynod yn rhwym, ebyll megys yr oeddynt o'r blaen. Ac efe alwodd ar y horion, a hwy a'i mynegasant i dŷ y brenin oddifewn. ryd angharedig a hunanol iawn oedd yn y gwahangleifion cyntaf, yr oeddynt am geisio diogelu yr holl anrhaith a'r dydd iddynt eu hunain, pan yr oedd eu cymydogion yn eu yl yn marw o newyn ; ac wrth fyned o'r naill babell i'r gan fwyta ac yfed yn mhob un, yr oeddynt mewn perygl ngyrchol o adael i'w gwanc eu lladd ar ol eu hir ympryd ; gwelsant y perygl iddynt golli y fraint o gludo y newydd 'w cymydogion, a daeth egwyddorion ac yspryd gwell i'w odraethu. Pan ddaeth y newydd i'r ddinas, cyfododd y in liw nos, ac a ddywedodd wrth ei weision, Mynegaf yn i chwi yr hyn a wnaeth y Syriaid i ni : gwyddent mai ynog oeddym ni, am hyny aethant ymaith o'r gwersyll i uddio yn y maes, gan ddywedyd, Pan ddelont hwy allan ldinas, ni a'u daliwn hwynt yn fyw, ac a awn i mewn i'r as. Ac un o'r gweision a atebodd ac a ddywedodd, Cy- yn awr bump o'r meirch a adawyd, ac anfonwn, ac ed-

rychwn. Felly hwy a gymerasant feirch dau gerbyd; a'r bre-
in a anfonodd ar ol y Syriaid gan ddywedyd, Ewch ac
rychwch. A hwy a aethant ar eu hol hwynt hyd yr Ior-
onen, ac wele yr holl ffordd ydoedd yn llawn o ddillad a ll-
y rhai a fwriasai y Syriaid ymaith wrth frysio, a'r cenad-
ddychwelasant, ac a fynegasant i'r brenin. Yr oedd yn
turiol i'r brenin ddychymygu fod gan y Syriaid ryw gyn-
neu gynllwyn, i gymeryd y ddinas trwy ddichell, ac yr
yn ddoeth iddo fynu boddhad eu bod wedi ffoi cyn i bo-
ddinas gael ei agor; ond yr oedd yn dangos anffyddiae
chyndynrwydd ei galon wrth beidio ymgyngori â gwr D-
gan ei fod ef y dydd cyn hyny wedi rhagfynegi am y w-
igaeth. Pan ddeallodd y bobl fod chwedl y gwahang-
yn wir, yr oedd yno redeg ac ymwthio gwyllt arswydus,
fod pob un yn ei newyn a'i syndod, am fod mewn pryd i
rhan o'r lluniaeth a'r anrhaith. A'r brenin a osododd y t-
og yr oedd yn pywso ar ei law i gadw trefn yn y porth,
y bobl yn eu hawydd a'u brys poeth i gael eu rhan o'r anr-
a'i mathrasant fel y bu efe farw. A bu, y dydd hwnw, m-
y dywedodd gwr Duw wrth y brenin, farchnad fawr la-
mhorth Samaria, a gwerthid yno sat o beilliaid er sicl, a
sat o haidd er sicl; a chafodd y tywysog anffyddiog
hyny a'i lygaid, ond ni chafodd fwyta o hono, canys y
wrth ymwthio, a'i mathrasant ef fel y bu farw. Dylai
roddiad fel hyn beri i ni ystyried yn

1. Ei bod o bwys aurhaethadwy i ni bob amser gredu
eiriau Duw, canys ein bywyd ni ydyw credu ac ufuddh-
dystiolaethau ef.

2. Y bydd trwst meirch a cherbydau byddinoedd ei
yn ddychrynadwy iawn i'w elynion pan y byddant yn g-
yn eu brys i geisio ffoi yn y tywyllwch, ac yn dyrysu
glyn, ac yn suddo yn ymchwydd yr Iorddonen.

3. Y dylid bob amser frysio heb oedi dim i gyhoeddi
newydd da fydd o les i drueiniaid ar drengu. Pe bua-
pedwar gwr gwahanglwyfus yn ymdroi drwy'r dydd

ll i wledda, ac i guddio arian ac aur a gwisgoedd, ac i
ys a llawenychu yn nghanol helaethrwydd, gallasai eu
ogion yn y ddinas fod heb wybod drwy y dydd hwnw, a
y nos ddilynol, am yr holl lawnder oedd yn eu hymyl:
y buasai lluoedd yn meirw o newyn, ond gofynasid eu
ar law y rhai fuasai wedi cadw y newydd da oddiwrth-
Os gadawn ni i neb o'n cymydogion farw o newyn am
bywyd, pan y mae pob helaethrwydd yn eu cyrhaedd, a
yn esgeuluso eu cymell at fwrdd y wledd, gofynir eu
ar ein dwylaw ni. Y mae lle i ofni fod llaweroedd yn
ymaith ddydd y "llawen chwedl" i wledda o babell i
ac i geisio cuddio trysorau a gwisgoedd iddynt eu hun-
a y mae eu cymydogion yn meirw eisiau cael eu gwa-
t yr arlwy rad sydd yn eu hymyl.

owyllir rhai amgylchiadau eraill yn hanes Eliseus na
ni ddim eu hadrodd yn awr, megys ei waith yn per-
y cawl ag oeddid wedi wenwyno â "bresych gwylltion"
amgymeriad; ei waith yn porthi can' wr ag ugain teis-
idd; ei waith yn peri i'r haiarn nofio pan oedd yn dysgu
n y proffwydi ëangu eu terfynau; ei waith yn cyfar-
y Sunamees a'i theulu i adael eu gwlad drwy amser y
lynedd newyn, ac i gael eu hetifeddiaeth yn ol ar eu
eliad; a'i waith yn wylo yn ngwyneb Hazael wrth fedd-
y drygau a wnai efe i feibion Israel.

edd amgylchiadau ei farwolaeth fel helyntion ei fywyd,
tra nodedig. Daeth Joas, brenin Israel, i ymweled ag
oedd yn glaf ar ei wely angau; a wylodd y brenin ar
eb wrth feddwl fod y wlad yn ymyl ei golli; a llefodd,
fasai Eliseus wrth golli Elias, "O, fy nhad, fy nhad,
Israel a'i farchogion." Archodd y proffwyd i'r brenin
d bwa a saethau, ac agor y ffenestr tua'r Dwyrain, tua
Syria, a gosod ei law ar y bwa; a gosododd yntau ei
w ar ddwylaw y brenin, a dywedodd, Saetha, ac efe a
ld; a dywedodd y proffwyd, Saeth ymwared yr Argl-
a saeth ymwared rhag Syria; a thi a darewi y Syriaid

yn Aphec, nes eu difa. Ac efe a ddywedodd hefyd wrth brenin, Taro y ddaear, ac efe a darawodd dair gwaith, ac beidiodd. A gwr Duw a ddigiodd wrtho ef am na buasai taro yn drymach, ac yn amlach ; a dywedodd, Dylasit bump neu chwech o weithiau, yna y tarewsit Syria nes ei yn awr tair gwaith y tarewir Syria. Ac Eliseus a fu farw llawn o ddyddiau, dyddiau o lafur, a ffyddlondeb, a defnyddioldeb, ac anrhydedd : ac yr oedd ei enw yn adnabyddus drwy'r holl wledydd, a bu galar mawr ar ei ol. A minteioedd y Moabiaid a ddaethant i'r wlad y flwyddyn hono ; a phan oeddynt yn claddu gwr, mewn brys, hwy a fwriasant y corff i feddrod Eliseus ; a phan aeth i lawr, a chyffwrdd ag esgyrn Eliseus, efe a ddadebrodd, ac a gyfododd ar ei draed. Y mae esgyrn y gorthrymydd annuwiol yn llawn o bechod, yr hwn a orwedd gydag ef yn y pridd ; ond bendith a orphwys ar lwch y duwiol, i'w wylio tra yr huna yn nistawrwydd a llonyddwch ei feddrod.

## DEWISIAD MOSES.

"Trwy ffydd, Moses, wedi myned yn fawr, a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh ; gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw, na chael mwyniant pechod dros amser ; gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist, na thrysorau yr Aipht : canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gobrwy. Trw ffydd y gadawodd efe yr Aipht, heb ofni llid y brenin : canys efe a ymwrolodd fel un yn gweled yr anweledig. Trwy ffydd y gwnaeth efe y pasc, a gollyngiad y gwaed, rhag i'r hwn ydoedd yn dinystrio y rhai cyntaf-anedig gyffwrdd â hwynt. Trwy ffydd yr aethant trwy y môr coch, megis ar hyd tir sych : yr hyn pan brofodd yr Aiphtiaid, boddi a wnaethant."—Heb. 11. 24—29.

Ystyrir Moses fel un o'r rhai dysgleiriaf ei dduwioldeb o ddonian, ac ëangaf ei ddylanwad a'i ddefnyddioldeb o

yr Hen Destament. Nodir yn yr adnodau a ddar-

ranau ei ymddygiad pan yn dewis ochr pobl Dduw.
'thododd gymeryd ei alw yn fab merch Pharaoh.
' Dywysoges freninol, merch Pharaoh,—nid un o'i
ıd ei ferch, ei unig ferch, a'i etifeddes, wedi cael
u yn blentyn tri mis oed, mewn cawell bychan, yn
esg, ar lan yr afon; ac wedi ei dynu allan: ac yr
ysni a'i ddagrau wedi tyneru ei chalon, ac enill ei
penderfynodd ei fagu a'i fabwysiadu i fod yn fab
ı. Dygodd ef i fynu drwy y. prif ysgolion i fod yn
yn holl ddoethineb yr Aiphiaid, yn eu hanes, eu
cyfreithiau a'u crefydd, eu celfyddydau a'u gwybod-
ı moesau a'u defodau. Yr oedd yn un o'r dynion
chryfaf; mwyaf dysgedig a boneddigaidd yn yr holl
r oedd yn "nerthol mewn geiriau a gweithredoedd;"
ıwi swyddau uchaf yn ei llysoedd a'i byddinoedd, a
' yn etifedd y freniniaeth, a sefydlwyd, drwy y ffurfiau
ˌi ditl iddi. Yr oedd coron, a gorsedd, a theyrnwi-
ipht—yr oedd yr urddas penaf, a'r awdurdod uchaf,
oedd goreu, y meirch a'r cerbydau, y palasau a'r
gerddi a'r gwinllanoedd, a'r holl drysorau breninol,
;, yn ei gyrhaedd, yn ei ynryl, drwy rinwedd ei ber-
nerch y brenin; ond gwrthododd y cyfan, yr holl
oll elw. Mae'r geiriau a ddefnyddir yn gryfion ac
adol, "Gwrthod cymeryd ei alw yn fab merch Pha-
dywysoges gyfoethocaf, anrhydeddusaf, foneddigeidd-
ıoll fyd; y dywysoges dirion dosturiol ag oedd wedi
erch arno, ac wedi bod yn oludog o garedigrwydd
; y dywysoges ag oedd yn parhau i hoffi fwy-fwy ei
vch, a'i nerth, a'i gyrhaeddiadau, a'i ddoniau, tywys-
ˌdd wedi mynu cofrestru ei enw yn llyfrau y Llyw-
l ei mab a'i hetifedd, tywysoges ag oedd yn disgwyl
"alw" yn fab iddi; ac yr oedd pawb yn ei anrhyd-
cyfryw; ac yr oedd ei enw yn myned yn uwch, a'i

ch yn fwy o hyd. Yr oedd Pharaoh a'i dywysogion, a'i
orwyr, a'i gapteniaid, yn edrych arno fel etifedd yr
ond "gwrthododd" yr holl anrhydedd cysylltiedig â'r
o yn fab merch Pharaoh. Nid y Dywysoges ddarfu
ei erthynas ag ef, a'i ddiarddel. Nid y brenin a'i ddeddf-
wyr ddarfu wadu ei hawl a'i ditl fel ei hetifedd: na, yr oedd
mor boblog ac mor gymeradwy drwy holl gylchoedd uchaf y
deyrnas ag y bu tywysog breninol, neu etifedd coron, erioed.
Yr oedd pawb yn hoffi gweled tywysog o'r fath nerth a'r fath
harddwch, o'r fath addysg a'r fath ddoniau yn sefyll wrth
droed yr orseddfainc; ond efe "wrthododd" gymeryd ei alw
yn fab merch Pharaoh. A dichon na ddarfu i neb, na chyn
hyny, nac wedi hyny, droi ei gefn ar fwy o fawredd daearol er
mwyn crefydd.

2. Dewisodd yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw. I
mae hyny yn tybied ei fod yn dewis eu cymeriad a'u cyflwr, e
gofidiau a'u gobeithion; ei fod am fwrw ei goelbren yn e
mysg; am gael lle yn eu gwersylloedd, ac enw yn eu côf-lyfrau;
am gymeryd ei ran o'u gofalon, a chael rhan o'u cysuron. E
fod yn dewis eu hegwyddorion a'u cyffes, eu grasau a'u proffes
a'u rhodiad; ei fod am blygu i'w cyfreithiau, a chael bod dan
ymgeledd eu triniaethau; ei fod am gymdeithas eu dagrau a'u
caniadau, a'u gweddiau, a'u disgwyliadau, a'u ffydd, a'u cariad.
Yr oedd yn foddlon i gymeryd yr adfyd a'i tlodi, y trallodion
a'r gorthrymderau, y gwawd a'r erlid. Yr oedd am deithio
gyda hwy drwy'r tymhestloedd, a chael eistedd gyda hwy dan
wenau yr heulwen; am fod gyda hwy yn y llafur, a chyda hwy
yn yr orphwysfa; gyda hwy drwy y filwriaeth, a chyda hwy
yn rhanu'r yspail; gyda hwy yn eu galar-wisgoedd, a chyda
hwy yn eu gynau gwynion; gyda hwy yn dwyn y cleddyf, a
chyda hwy yn cario'r palmwydd: gyda hwy ar eu pererindod
drwy'r anial; a chyda hwy byth gartref yn y wlad well.

3. Gwnaeth y Pasg a gollyngiad y gwaed rhag i'r hwn ydoedd
oedd yn dinystrio y cyntaf-anedig gyffwrdd â hwynt. Y mae
hyn yn tybied ei fod wedi cymeryd arno ofal pwysfawr y gwydd

uchel o fod yn flaenor ac yn arweinydd iddynt. Dadleuodd eu hachos yn llŷs Pharaoh, nid yn unig drwy resymau a deisyfiadau, ond drwy arwyddion a rhyfeddodau mawrion a nerthol; cymerodd arno y gofal o gyflwyno eu cwynion i Dduw, ac o esbonio yn ol iddynt hwythau ordinhadau y nefoedd; ac fel eu dyddiwr, a'u deddfwr, a'u harweinydd, trefnodd gyda golwg ar ddull ac amser eu cychwyniad o wlad y caethiwed; a chyfarwyddodd hwy yn fanwl i baratoi oen y Pasg, a thaenellu y gwaed ar y ddau ystlys bost ac ar gapan y drws, ac i'w fwyta wedi gwregysu eu lwynau, a'u hesgidiau am eu traed, a'u ffyn yn eu dwylaw, a bwyta ar ffrwst, fel swper eu hymadawiad; fel gwledd Pasg yr Arglwydd pan aeth heibio i'w tai am eu bod dan arwydd y gwaed; fel gwledd eu gwaredigaeth, a gwledd eu cyfamod eu bod yn eu rhoddi eu hunain dan nodded ac arweinyddiaeth yr Arglwydd. Cymerodd Moses arno y gofal o sefyll rhwng yr Arglwydd a'r bobl; ac nid gofal o fychan bwys ydoedd bod yn gyfryngwr cyfamod goruchwyliaeth yr Hen Destament.

4. Gadawodd yr Aifft heb ofni llid y brenin. Gadawodd yr Aipht ddwywaith. Y tro cyntaf pan oedd yn ddeugain mlwydd oed, am iddo ddial cam Hebrewr ar Aiphtwr oedd yn ei orthrymu. Nid peth bach i un o'i sefyllfa ef oedd gadael yr Aipht. Y wlad ffrwythlonaf, brydferthaf, fwyaf diwylliedig a chyfoethog y pryd hyny ar yr holl ddaear; gadael golygfeydd hyfryd glenydd y Nile, rhodfeydd y llenyrch blodeuog, a gerddi y pêrlysiau, a'r llwyni gwŷrddion cauadfrig, a'r perllanau a'r gwinllanoedd; a meusydd llydain yr ŷdau toreithiog, a'r porfeydd breision meillionog: gadael yr Aipht, gwlad y pyramidiau, a'r temlau, a'r colegau, a'r palasau ardderchocaf yn y byd: gadael yr Aipht gwlad magwrfa dysgeidiaeth, athroniaeth a chelfyddyd. Gadael yr Aipht pan oedd wedi dringo i le uchaf y dosbarth blaenaf o'r dysgedigion a'r doethion: a gadawodd yr Aipht i fod yn bererin ac yn alltud mewn gwlad ddieithr: gadawodd rwysg ac urddas llŷs yr Aipht i fod yn fugail defaid yn nhir Midian. Gadawodd gymdeithas

doethion, dysgedig, am fywyd o unigedd mewn anialdir estron-ol. Yr oedd hyny yn gyfnewidiad mawr iawn yn amgylch-iadau ei fywyd; ond yr oedd gadael yr Aipht yr ail waith, fel arweinydd i ddeuddeg llwyth Israel, fel blaenor i chwe' chan mil o wŷr traed, heblaw plant, a phobl gymysg lawer gyda hyny, yn llawer trymach ac anoddach gorchwyl. Yr oedd llawer mwy o drafferth ac o bryder yn gysylltiedig a'i ail ym-adawiad na'r ymadawiad cyntaf; arwain myrddiynau felly bob oed a gradd heb wybod pa fodd yr oeddynt i ymdaith, a pha fodd yr oeddynt i gael ymborth ar eu teithiau. Rhyfedd oedd yr olygfa eu gweled yn cychwyn ar ffrwst, a'r toes ar eu hysgwyddau, heb ei lefeinio, o Rameses i Succoth, lle y pob-ant eu toes yn deisenau croyw; ac o Succoth i Etham, y-nghwr yr anialwch; ac yna yn troi o Etham i Pihahiroth, o flaen Baalzephon, ac yna yn gwersyllu yn Migdol; ac oddi-drwy'r môr, yr hyn pan brofodd yr Aiphtiaid boddi a wnaeth-ant. Dyna yn ol ein testyn, oedd prif ranau ei ymddygiad. Gwrthod cymeryd ei alw yn fab merch Pharaoh. Dewis ad-fyd pobl Dduw. Sefydlu y Pasg, a gadael yr Aipht. Cr-bwyllwn yn

II. Brif ragoriaethau ei ymddygiad.

1. Gwnaeth ei ddewisiad ar ol dwys ystyriaeth o gysyl-iadau y ddwy ochr. Yr oedd wedi myned yn fawr; yn llawn deugain mlwydd oed. Yr oedd ei feddwl yn ei nerth, ei b-iad yn ei addfedrwydd. Yr oedd wedi cael cyfle i bwyso, a gyd-bwyso y ddau fath drysorau, i ystyried natur y ddau w-anaeth, ac i astudio cymeriad y ddau bobl. Yr oedd w-troi y peth yn ei feddwl, ac edrych arno yn ei wahanol gys-iadau a'i ganlyniadau. Nid mewn nwyd o fyrbwylldra, a mewn llewyg o ddychryn, nac yn ngwres unrhyw gleifi-gwnaeth ei ddewisiad. Yr oedd yn gwbl argyhoeddedig m-Duw Israel oedd yr unig wir a'r bywiol Dduw; ac nad oe-duwiau yr Aipht ond oferedd, a defodau eu gwasanaeth o-twyll, ac y terfynai mewn siomedigaeth. Yr oedd ei ddeall a-galon yn cyd-dystiolaethu ei fod yn gwneud dewisiad doeth, a-uniawn, ac enillfawr.

2. Gwnaeth ei ddewisiad mewn yspryd gwrol a llwyr benderfynol. Gwyddai y cynhyrfid llid, llid mawr, y llid creulonaf i'w erbyn, oblegyd ei benderfyniad i ymwrthod â duwiau yr Aipht a holl ddeniadau eu gwasanaeth. Gwyddai yn dda y tynai i'w erbyn lid y brenin, a llid gweinidogion ei lŷs, a llid capteniaid ei fyddinoedd, a llid offeiriaid y temlau, a llid y dewiniaid a'r swynwyr, a holl ddysgedigion y wlad; ond aeth rhagddo yn wrol "heb ofni llid y brenin," na llid neb o wŷr ei lysoedd, na gwŷr ei demlau, na gwŷr ei golegau. Gwyddai yn dda y cai ei lawn ran o'r dirmyg mwyaf a fedrai y byd daflu i'w wyneb, a llwytho ar ei gymeriad, ond aeth rhagddo heb ofni y dirmyg. Gwyddai y byddai gyrfa pobl Dduw yn un o lafur a lludded, a'u bywyd yn fywyd o iselder a thlodi; ac y byddai raid iddo "oddef adfyd" wrth gymeryd ei ran gyda hwy, ond aeth rhagddo heb ofni na'r llafur, na'r tlodi, na'r adfyd, yn yr yspryd mwyaf gwrol.

3. Gwnaeth ei ddewisiad yn y dull mwyaf cyhoeddus. Rhoddodd gyfle i'r Aiphtiaid ac i'r Israeliaid i wybod ei farn a'i deimlad, ei ddewisiad a'i benderfyniad: a chafodd offeiriaid a bugeiliaid tir Midian, a breninoedd yr Amoriaid a'r Moabiaid, a duciaid Edom, a meibion Ammon, a chewri Amalec a Philistia, a holl dywysogion tir Canaan, wybod ei brofiad a'i broffes Nid oedd arno gywilydd arddel ei ochr; ac yr oedd yn ewyllysgar i bawb, o bob gwlad, gael gwybod ei benderfyniad.

4. Parhaodd o'r un farn, a glynodd wrth ei benderfyniad drwy holl helyntion ei fywyd, a holl gyfnewidiadau ei oes. Ni siglodd ei farn; ni newidiodd ei brofiad; bu yn ddiymod yn ei broffes; ac yn ffyddlawn i gyfamod ei Dduw. Cadwodd at ei ddewisiad drwy y deugain mlynedd y bu yn nhir Midian mewn unigedd anghyhoedd yn bugeilio praidd Reuel. Ni newidiodd ei farn pan yn cyhoeddi ei genadwri wrth Pharaoh, ac yn gofyn am ryddhad plant Israel o'u caethiwed; ac ni soniodd, ac ni feddyliodd am droi yn ol i'r Aipht drwy holl brofedigaethau taith fawr yr anialwch. Yr oedd llwythau

drosto ei hun a thros eraill; a'i roddi ei hun dan ei ofal a'i nodded, dan ei addysg a'i arweinyddiaeth. Yr oedd hefyd yn dda iawn ganddo ymddiddan am Dduw a'i lywodraeth, ac am bethau pwysig crefydd a byd arall, pa le bynag, a pha bryd bynag y cai gyfle i hyny; ac y mae rhediad ei holl gyfansoddiadau yn profi fod ei feddwl cryf, ëang, treiddgar, awenyddol wedi hir ymhyfrydu mewn ymarferiadau crefyddol. Yr oedd ganddo dystiolaeth oddi fewn yn ei galon fod gwir hyfrydwch, fod sylweddol gysur, i'w gael yn holl ranau gwasanaeth yr Arglwydd; ac yr oedd felly o fodd ei galon, o'i rydd-ddewisiad, yn ol llais ei reswm a'i gydwybod, yn llwyr benderfynol i ymwrthod â phob mawredd a mwyniant daearol er mwynhau hyfrydwch tawel ffyrdd duwioldeb.

3. Yr oedd yn gweled yr anweledig. Yr oedd golygon ei ffydd mor gryfion ac mor glir fel yr oedd yn gallu gosod yr Arglwydd ger ei fron bob amser. Yr oedd yn gallu gweled gwenau gwyneb ei drugaredd; a gweled y "breichiau tragywyddol" oeddynt yn ei gynal; a'r ddeheulaw gref uchel oedd i'w amddiffyn a'i wobrwyo, a'r fynwes bur oedd mor lawn o gariad ac o dosturiaethau. Yr oedd ei ffydd yn gallu gweled llygad pur ei holl bresenoldeb yn edrych arno, ac yn gallu clywed llais ei ddoethineb a'i gariad yn llefaru wrtho. Yr oedd yn hawdd iddo ymwroli pan yn gweled felly yr anweledig.

4. Yr oedd yn edrych ar daledigaeth y gwobrwy. Yr oedd ei ffydd yn edrych yn mlaen tua'r diwrod. Gwyddai fod dydd taledigaeth yn aros pob dyn: a gwyddai fod taledigaeth "gwobrwy" yn aros pob duwiol. Gwyddai y byddai gwobrwy y gwasanaethwr ffyddlawn yn un anrhaethol ogoneddus, yn wobrwy nad oedd gwobrwyon penaf daear ddim yn haeddu eu cyffelybu iddi; yn wobrwy o werth anmhrisiadwy, ac o ogoniant anniflanedig; yn wobrwy o gyfoeth, ac anrhydedd, a gorfoledd, a geidw yr enaid byth wrth ei fodd. Gwyddai fod y wobrwy yn cael ei chadw yn ddiogel iddo, ac mai yr Arglwydd, y barnwr cyfiawn, fyddai yn ei "thalu" iddo; ac y byddai yn ei thalu yn gyhoeddus, gydag urddas mawr, yn ngwydd holl

eiliaid ei lywodraeth, yn y dydd diweddaf. Gwyddai y byddai y "wobrwy," a holl amgylchiadau ei "thaledigaeth" yn anfeidrol deilwng o gariad, a doethineb, a goludoedd gras yr Arglwydd ; ac yr oedd yn hawdd iddo droi ei gefn ar yr Aipht a'i thrysorau, pan yr oedd yn gallu edrych yn mlaen at daledigaeth y wobrwy.

Y mae yr un egwyddorion a'r un elfenau yn perthynu i fyd duwiol yn mhob oes a than bob goruchwyliaeth. Y mae yr un elfenau yn perthynu i wir grefydd yn ein hamser ni ag oedd yn amser Moses. Rhaid cefnu ar wagedd y byd, ei bleserau gau, a'i gyfeillachau llygredig, a thwyll ei gyfoeth, hudoliaethau rhwysg ei rodres ; a dewis yn hytrach odiaeth nefoedd, ac addysg a dyddanwch ordinhadau crefydd, a chymdeithas y saint, a "goddef adfyd" gyda phobl Dduw, os bydd raid, a thori yn mlaen drwy orthrymderau, a glynu er pob ydd croes, a chadw y ffydd nes gorphen yr yrfa.

Ac y mae yr un cymhelliadau i fywyd duwiol yn awr ag oedd yn amser Moses ; a bydd yn hawdd i ninau ddewis crefydd, a hyd yn nod adfyd pobl Dduw, a dirmyg Crist, a glynu hefyd yn ein penderfyniad, ond i ni arfer ein ffydd i weled yr anweledig, ac i edrych ar daledigaeth y gwobrwy.

Dylai pob dyn edrych yn mlaen i ystyried beth fydd "ddiwedd." Y mae peidio edrych byth yn mlaen at ddydd taledigaeth yn brawf o annoethineb ac o anffyddiaeth. Y mae yr edrych yn mlaen yn anogaethol iawn i'r duwiol ar ei ynia lafur ac adfyd ; ac os yw edrych yn mlaen ar daledigaeth y wobrwy mor felus ac mor adfywiol iddo, beth fydd y mwynhad o'r wobrwy yn nghymdeithas y saint, ac yn ngwydd wyneb ei Dduw, yn y nefoedd ! Ac os yw yr edrych yn mlaen mor ddychrynadwy i'r annuwiol, os yw y "disgwyl" mor ofnadwy iddo, beth fydd ing ac aethau ei ddychryn, a'i euogrwydd a'i anobaith pan fydd y farnedigaeth wedi ei oddiweddyd !

## PENDERFYNIAD JOSUA.

"Ac od yw ddrwg yn eich golwg wasanaethu yr Arglwydd, dewiswch i chwi heddyw pa un a wasanaethoch, ai y duwiau a wasanaethodd eich tadau, y rhai oedd o'r tu hwnt i'r afon, ai ynte duwiau yr Amoriaid, y rhai yr ydych yn trigo yn eu gwlad: ond myfi, mi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd.—Josua 25. 15.

Pan oedd Josua yn ymyl marw, yn gorphen ei yrfa a'i weinidogaeth, cynullodd ato i Sichem holl lwythau Israel; ac yno safasant hwy, a'u henuriaid, a'u barnwyr, a'u swyddogion yn gynulleidfa fawr iawn, i adnewyddu eu cyfamod i wasanaethu yr Arglwydd. Ysgrifenodd Josua eiriau eu cyfamod yn llyfr cyfraith yr Arglwydd; a gosododd i fynu y maen mawr dan dderwen yn agos i gysegr yr Arglwydd, fel tystiolaeth o'r cyfamod, rhag iddynt anghofio eu hadduned a gwadu eu Duw. Yr oedd mawredd y gynulleidfa, a seiliad y fath gyfamod cyhoeddus, a'r ystyriaeth fod ei hen flaenor ffyddlawn Josua, dan goron ei wallt gwyn, ar fin ei fedd, yn eu hanerch am y tro diweddaf, yn gwneuthur yr achlysur yn nodedig o bwysfawr a difrifol, a'r olygfa yn un effeithiol annarluniadwy. Coffhaodd Josua iddynt, yn ei araeth gynes gynwysfawr, am ddaioni yr Arglwydd i'w tadau, ac iddynt hwythau; a gwasgodd ei gyngor at eu calon yn y geiriau a ddarllenwyd. Y mae ei eiriau yn awgrymu i ni yn

I. Fod dau Feistr yn cydymgais am galon a gwasanaeth dyn. Un o'r ddau ydyw Iesu; Anwylyd y nefoedd, Brenin y gogoniant, Eneiniog Duw i fod yn Waredwr pechadur, yr Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw; Tywysog'cin hiechydwriaeth a berffeithiwyd drwy ddioddefiadau, yr Eiriolwr sydd gyda'r Tad, Pentywysog a Pherffeithydd gyrfa ffydd, Arolygydd gweinyddiadau rhagluniaeth, a'r hwn a ordeiniwyd i fod yn Farnwr

ar bob peth perthynol i wasanaeth a mwyniant ffyrdd pechod. Y maent weithiau yn temtio y glust â pheroriaeth, bryd arall yn temtio y llygad â blodau llygredd a theganau gwagedd, ac yn aml iawn yn temtio yr archwaeth â bwydydd, neu ddiodydd niweidiol i ymollwng i lythineb a meddwdod. Ac y mae cenadon ochr uffern drwy ddiwydrwydd eu gweinidogaeth, ac amrywiaeth eu doniau denu, wedi bod yn llwyddiannus iawn yn mhob oes i hudo dynion i lwybrau colledigaeth.

II. Fod dyn yn sicr o ufuddhau i un o'r ddau feistr. Y mae yn sicr o droi i un o'r ddau faes, ac i daro gydag un o'r ddwy fyddin. Oblegyd yn

1. Nis gall wasanaethu y ddau Arglwydd. Y mae eu hegwyddorion a'u gwasanaeth yn hollol groes i'w gilydd. Ni fyn yr un o honynt haner y galon, pe byddai modd i ddyn ei haneru. Yr hwn nad yw gyda Iesu, i'w erbyn y mae. Yr hwn nad yw yn casglu, y mae yn gwasgaru. Beth bynag a wnel dyn dros y naill, y mae yn gweithio ar yr un pryd, drwy y peth hwnw, yn erbyn y llall. Y mae yspryd y ddau feistr, a natur y ddau wasanaeth mor groes i'w gilydd fel y mae yn hollol anmhosibl i ddyn ranu ei galon rhyngddynt.

2. Nis gall dyn fod heb ei ochr, neu fod yn ddiwaith a diddylanwad. Ni oddefir iddo fod yn *neutral*. Nis gall gael modfedd o dir canolog i sefyll arno. Ofer iddo geisio dweyd am dano ei hun, wrtho ei hun, nac wrth neb arall, Nid wyf fi ddim. Nid wyf fi ddim dros neb, ac nid wyf yn erbyn neb. Nid oes dim a fynwyf fi a'r un o'r ddwy ochr. Nid wyf yn gweithio dim ar yr un o'r ddau faes, nac yn taro dim gydag un o'r ddwy fyddin. Byddai mor briodol i ddyn haeru nad yw ddim yn ddyn a dweyd pethau felly. Byddai mor briodol iddo haeru, na fedd na chorff nac enaid, na fedd na chalon na serchiadau, na deall nac ewyllys, na fedd na llaw na llygad, na chlust na thafod, nac unrhyw allu corfforol na meddyliol, ag a fyddai iddo ddweyd nad yw yn gwneuthur dim dros y naill ochr na'r llall. Felly gan nas gall wasanaethu y ddau feistr, gan nas gall gael tir canol i sefyll arno, a'chan nas gall fod

heb wneuthur dim, y mae yn sicr o daro o d
y mae yn sicr o droi i un o'r ddwy ffordd,
weithio ar un o'r ddau faes, ac y mae yn sic
un o'r ddwy fyddin. Rhyfedd iawn fyddai
hardd, bywiog, heinyf, gwridog, doniol, craf
glust, ystwyth ei dafod, hwylus ei law, ysgaf
ei ysgogiadau, treiddiol ei fyfyrdodau, yn
mawr o gymdeithion, yn haeru yn hyf ac yn
blynyddoedd lawer o fywyd llawn o gyfleusd
nad yw ddim yn gweithio dan yr un o'r dda
ddim yn milwrio dan yr un o'r ddwy faner,
dros yr un o'r ddwy ochr, nad yw ddim ar fa
yw ddim ar faes pechod. Y mae pawb fu y
phen eu gyrfa yn un o'r ddau wasanaeth. Y
awr yn y byd yn un o'r ddau wasanaeth, dan

III. Fod pob dyn yn cael dewis ei ochr.
Israel yn amser Josua yn cael dewis pwy a
felly y mae wedi bod dan bob goruchwyliaet
ar bob amgylchiad. Y mae dynion weithiau
hau ac esgusodi eu hymddygiadau trwy r
ddim yn rhydd i gael eu dewis ; ond ni ddei
au, ac ni thycia eu hesgusodion yn nydd y
Y mae pob dyn yn cael ei ddewis.

1. Nid oes dim gallu y tu allan iddo ei hu
yllys dan orfodaeth, neu ei luddias i gael
tybiem am ferch fechan ddeuddeg oed am ga
Iesu Grist, nid oes dim gallu nac awdurdod
ei rhwystro. Pe cydymgyngorai holl awdu
i'w herbyn, pe codai breninoedd a'u prif wei
iaid a'u byddinoedd, seneddwyr a siryddion
swyddogion eu llysoedd, a'r dewiniaid a'r astror
ei rhwystro i weled hawddgarwch Iesu, a'i
chalon iddo, nis gallent ei rhwystro. Galla
yn eu canol, gan godi ei golygon diolchgar
Gwaredwr—

"At wedd dy wyneb nid yw ddim—drysorau maith y llawr
Mae gair o'th enau'n llawer mwy ei rym nag uffern fawr.

Ni feddaf ar y ddaear lawr, ni feddaf yn y ne',
Neb ag a bery'n ffyddlawn im', yn unig ond efe.

Mae ynddo'i hunan drysor mwy nag fedd yr India lawn,
Enillodd i mi fwy na'r byd ar groesbren un prydnawn."

Pe ceisient eilwaith, ac eilwaith drachefn, ei rhwystro i ymffrostio yn y groes, gallai ganu mewn gorfoledd yn eu gwyneb,

"Ei fywyd sanctaidd ef, a'i angau yn fy lle,
A fydd fy ymffrost yn mhob man, a'm sylfaen dan y nef,"

"O Galfaria daeth fy hedd, a fy mywyd ;
Ac oddiyno mae fy ngwledd, nefol hyfryd ;
Dan ei gysgod tawel gwiw, byth arosaf ;
A chanu wnaf tra byddwyf byw, Haleluwia."

Y mae'n wir y gallent yn hawdd fygu tôn ei llais egwan mwyn ; ond nid allent byth fygu anadl ei chariad at Iesu. Pe byddai i'r un awdurdodau geisio rhwystro i hen chwaer ffyddog bedair a phedwar ugain oed, pan ar ei gwely angau, bwyso ar Iesu a'i Iawn am ei bywyd tragywyddol, gallai edrych arnynt heb grynu, a chanu â'i llais bloesg,

"Yma wrth groes fy Mhrynwr Crist,
Y doda'i lawr fy enaid trist,
Dan ddyferynau'i werthfawr waed,
A byth oddiyma mwy ni ymâd.

I'm gyru i bant pe ceisiau'r byd,
Fy nghalon erys yma o hyd ;
Fy noddfa olaf yw a'm plaid.
Mi drengaf yma os bydd raid."

O'r tu arall pe byddai i holl awdurdodau byd ac eglwys gydymfyddino oddeutu bachgenyn ieuanc gwyllt anystyriol, neu oddeutu hen anffyddiwr wedi hir ymgaledu yn ei anghrediniaeth gan ddywedyd wrtho gyda gwedd a llais awdurdod, fod yn rhaid iddo edifarhau, a chredu, a gweddio, ac ymorphwys ar haeddiant y Ceidwad, nid allent drwy unrhyw rym bygythiol ei orfodi i wneud hyny. Y mae yn bosibl i ddynion annuwiol, drwy ddylanwad moesol eu geiriau a'u hymddygiadau, ddenu eraill i fod yr un ochr a hwy ; ac y mae yn bosibl i bobl

dduwiol, drwy eu geiriau a'u siamplau, ddenu eraill i dd
gyda hwy i ddewis ochr crefydd a gwasanaeth Iesu ; ond
gellir gorfodi neb i "ddewis." Nid dewis fyddai hyny. B
yn anghyson i ddweyd fod dyn yn dewis yn groes i'w ewy
Y mae dyn, gan ei fod yn ddeiliad llywodraeth foesol, i fod
rhydd i farnu drosto ei hun, ac i ddewis yn ol ei farn.

2. Y mae egwyddorion cyfansoddiad, a holl weinydd
llywodraeth Duw yn dysgu yn eglur fod dyn yn rhydd i dd
Y mae pob darluniad sydd genym o'r Llywydd mawr y
wyddo fod dyn fel deiliad ei lywodraeth yn cael "dewis."
byddai dim ystyr i gyhoeddiadau cyfiawn a grasol ei
y gwahoddiadau, yr ymresymiadau, y gorchymynion ;
enwedig y gocheliadau, y bygythion, a'r addewidion, o
ydyw dyn yn rhydd i ddewis. Ni byddai dim priodoldeb
am yr Arglwydd fel Deddfwr, ac fel Barnydd yr holl dd
nac am ddydd mawr penodedig i farnu dynion yn ol eu g
redoedd, oni bai eu bod yn cael rhyddid i ddewis. Y
pob amadroddion tebyg i'r rhai canlynol yn arwyddo yn
fod gan ddyn ryddid i dderbyn, neu wrthod, fel y bydd
dewis. "O nad ystyrient eu diwedd." "O na wrand
fy mhobl arnaf, na rodiasai Israel yn fy ffyrdd ! Ond ni w
dawsai fy mhobl ar fy llef, ac Israel ni'm mynai. A
wrth eu cyngor eu hunain" "Pa hyd yr ydych chwi y
rhwng dau feddwi ? Os yr Arglwydd sydd Dduw, ewch
ol ef ; ond os Baal, ewch ar ei ol yntau." "Ac Orpah
anodd ei chwegr, ond Ruth a lynodd wrthi hi." "Deuw
awr hon, ac ymresymwn medd yr Arglwydd." "Os bydd
ewyllysgar ac ufudd, daioni y tir a fwytewch." "O de
i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno." "Paham y
iwch arian am yr hyn nid ydyw fara ?" "Gogwyddwch
clust, a deuwch ataf ; gwrandewch, a bydd byw eich e
"Gadawed y drygionus ei ffordd." "Yn gymaint ag i mi
gwahodd, ac i chwithau wrthod, i mi estyn fy llaw a neb
ystyried ; ond diystyrasoch fy holl gyngor i, ac ni fynech
o'm cerydd." "Pan elwais chwi, nid atebasoch ; pan lef

ai wrandawsoch; ond gwnaethoch ddrygioni yn fy ngolwg, a ewisasoch yr hyn nid oedd dda genyf." "Gwyn ei fyd y dyn a wrandawo arnaf, ac a wylio yn ddyfal beunydd wrth fy rysau, gan warchod wrth byst fy mhyrth i." "Fy mab moes mi dy galon." "Fy holl gaseion a garant angau." "Hwy m gadawsant i ffynon y dyfroedd byw." "Paham, tŷ Isael, y byddwch feirw? canys nid oes ewyllys genyf i farwoleth y marw, medd yr Arglwydd Dduw. Dychwelwch, gan yny, a byddwch fyw." "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, ni ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol; ond troi o'r nnuwiol oddiwrth ei ffordd a byw: dychwelwch, dychwelch, oddiwrth eich ffyrdd drygionus; canys, tŷ Israel, paham byddwch feirw." "Ac o'r diwedd i ti ochain, wedi i'th nawd a'th gorff gurio, a dywedyd, Pa fodd y caseais i addsg! pa fodd y dirmygodd fy nghalon gerydd! Ac na wranewais ar lais fy athrawon, ac na ostyngais fy nghlust i'm dysgwdwyr!" "Gwrthodasant wrando, a rhoddasant ysgwydd nhydyn, a thrymhasant eu clustiau rhag clywed; gwnaethnt hefyd eu calonau yn adamant, rhag clywed y gyfraith, a'r eiriau a anfonodd Arglwydd y lluoedd trwy ei Yspryd, yn aw y proffwydi gynt: am hyny y daeth digofaint mawr oddiwrth Arglwydd y lluoedd." "Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd." "Yr hwn sydd ganddo glust, wrandawed beth y mae yr Yspryd yn ei ddywedyd wrth yr glwysi." "Yr wyf yn argyhoeddi, ac yn ceryddu y sawl yr wyf yn eu caru; am hyny bydded genyt sêl, ac edifarha." 'Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws ac yn curo: os clyw neb y llais i, ac agoryd y drws, mi a ddeuaf i mewn ato ef, ac a wperaf gydag ef, ac yntau gyda minau."

3. Y mae dyn yn deall ac yn teimlo, ac y mae tyst oddiewn iddo yn gorfod cydnabod, ei fod yn cael gweithredu yn ol ei ddewisiad. Pan y bydd dan ymresymiad y bregeth, neu ar wely cystudd, neu yn gweled cyfaill iddo yn marw, neu pan y bydd rhyw glefyd neu haint yn rhodio o'i ddeutu yn y tywyllwch: a phan y bydd y pryd hyny yn galw i'w gôf fel y

**bydd wedi gadael Duw, wedi gwrthryfela yn erbyn ei awdurd-
od, wedi hir ddibrisio cynygion ei gariad, wedi barnu yn afl-
waed y cyfammod, wedi mathru mab Duw, a'i ail groeshoelio,
a'i osod yn watwar, ac wedi diffodd y difenwi Yspryd y gras;
phan y bydd yn cofio ei fod wedi rhoddi ei dalentau a'i amser
goreu i'r gelyn, ac wedi diwyd ymorchestu yn ei wasanaeth;
phan y geilw i'w gôf fod Duw yn Llywydd uniawn, eiddigedd
o'i ogoniant, a'i awdurdod, a threfn ei deyrnas, a bod y Duw
hwnw yn gwybod yn berffaith am ei holl ymddygiadau; ac y
gelwir ef i'r farn am danynt oll, y mae dychryniadau yn ei
ddal. Y mae yn teimlo gwasgfeuon euogrwydd, ac yn cry-
ac yn ochain ac yn ei gondemnio ei hun am ei ryfyg a'i anyst-**
iaeth, yn casau addysg, ac yn dirmygu cerydd, ac ymgyndyn
yn ei anufudd-dod, ac yn ymdrybaeddu yn ei lygredd, ac yn
gwrthod agor ei ddrws i Iesu. Ni byddai dim dychryniadau
felly yn ei arteithio, oni ba'i ei fod yn ymwybodol ei fod we-
cael rhyddid i weithredu yn ol ei ddewisiad: a phan y mae yn
teimlo fod gwasgfeuon angau yn ei orchfygu, a bod ei Farnwr
wrth y drws, y mae ei euogrwydd yn trymhau, a'i ddychryn-
yn ei wylltio fwy-fwy. Hawdd ganddo, yn adeg iechyd, ddy-
feisio esgusodion dros ei ryfyg, a chynyg taflu y bai at eraill;
ond wrth farw, y mae ei euogrwydd yn ymdreiglo yn ol er
waethaf ar ei gydwybod ei hun, yr hyn a erys yn brawf byth
i'w erbyn o'i ymwybodolrwydd ei fod yn gyfrifol i'w Farnwr
fel rhydd-weithredydd.

IV. Fod pob cymelliad i ni ddewis fel y gwnaeth Josua,
sef dewis "gwasanaethu yr Arglwydd." Oblegyd yn

1. Duw holl-ddigonol ydyw. Y Duw byw, Hollalluog,
feidrol, anfarwol, hollwybodol a digyfnewid, perffaith yn
holl gymeriadau. Y mae ei galon yn llawn tosturiaethau.
mae ei ddeall yn aneirif, ei nerth yn anorchfygol, a golud
ras yn anchwiliadwy. Gair ei enau ddygodd y bydoedd i
fodolaeth, ynddo ef y maent oll yn cydsefyll. Anadl ei ffroen
a ladd yr anwir, a gwên ei ffafr ydyw bywyd y credadyn.
mae ganddo ddigon, a digon byth, o bob peth gofynol er di-
wyddwch enaid.

2. Duw yr hen dduwiolion ydyw. Duw Adda, ac Abel, a Seth; Duw Enoch, a Noah, a Job; Duw Abraham, ac Isaac, a Jacob; Duw Joseph, a Moses, a Josua; Duw Dafydd, a Josiah, a'r holl freninoedd ffyddlawn; Duw Elias a'r holl broffwydi; Duw Daniel a'r tri llanc; Duw yr apostolion a holl lu y merthyron; Duw ein tadau a'n mamau sydd wedi blaenu; y Duw y buont hwy yn ymddiried iddo, ac yn ymhyfrydu yn ei wasanaeth; y Duw fu'n ymgeleddu eu cyflwr, yn maddeu eu beiau, yn eu nerthu mewn gwendidau, yn eu cynal ar eu teithiau, yn eu harwain drwy'r glyn, ag sydd yn eu gogoneddu yn y nefoedd.

3. Duw ein cymwynasau ninau ydyw Lluniwr ein cyrff, a Thad ein hysprydoedd. Cynalydd bywyd yn ein gwaed, ac anadl yn ein ffroenau. Awdwr ein holl gysuron amserol, gwres y galon, a gwrid yr wyneb. Yr hwn sydd yn ein porthi hyd at ddigon, a'n gwisgo hyd at gludwch. Y Duw sydd yn estyn i ni ddarpariadau ei Ragluniaeth, ac yn cynyg i ni drysorau ei iachawdwriaeth. Y Duw sydd yn estyn ei law yn barhaus fel arwydd ei fod am ein derbyn i'w ffafr ac i'w fynwes, i brofi o'i gariad, i rodio yn ei ffyrdd, i bwyso ar ei fraich, aros yn ei dŷ, ac i breswylio byth yn ei nefoedd.

4. Y mae ei "wasanaeth" yn rhesymol, yn esmwyth, yn anrhydeddus, yn hyfryd, yn ddiogel, yn enillfawr, yn terfynu yn dda, mewn cyflawn fwynhad ó ogoniant a gorfoledd anfarwol. Os byddwn ni, fel Josua, am ddewis gwasanaeth y Duw hwn, y mae yn y testun yn

V. Gyfarwyddyd i ni pa fodd i ddewis.

1. Yr ydym i ddewis "heddyw." Y mae o bwys anrhaethol i ni ddewis heddyw. "Heddyw" ydyw llais gorchymyn y nefoedd Llais awdurdod, a doethineb, a chariad ein Duw. "Heddyw" ydyw llais cyngor holl hen athrawon y Beibl. "Heddyw" ydyw llais addysg gweinidogaeth yr efengyl. "Heddyw" ydyw llais dymuniad ein holl gyfeillion crefyddol. "Heddyw" ydyw llais rhybudd y rhai sydd wedi colli'r adeg. "Heddyw" y mae cysegroedd a maesydd crefydd yn agored.

"Heddyw" y mae eisiau gweithwyr i'w gwinllan. "Heddyw" y mae lle yn ei thŷ ac wrth ei bwrdd. "Heddyw," y mae heddyw genym, ac nid oes genym sicrwydd am yr un adeg ar ol heddyw, ac os collir yr adeg bydd y golled yn anadferadwy. "Heddyw," pe caem sicrwydd am "lawer o flynyddoedd" ni chaem byth adeg well na "heddyw" i ddewis ochr pobl Dduw a gwasanaeth yr Arglwydd.

2. Os dewiswn fel Josua yr ydym i ddewis gyda'n "tylwyth." Hyfryd iawn ydyw gweled "tylwyth" gyda'u gilydd yn gwasanaethu yr Arglwydd; tylwyth, yn cynwys tri neu bedwar dosbarth, y taid a'r nain, y tad a'r fam, y plant hynaf ac ieuangaf, gweinidogion y teulu, a cheraint neu gyfeillion a fod yno ar ymweliad, yn cyd-gyfammodi i wasanaethu yr Arglwydd. Hyfryd iawn eu gweled felly ar bob amgylchiad, mewn iechyd ac mewn cystudd, yn ystafell galar, ac o gylch bwrdd y wledd, yn y tŷ ac yn y maes, o gylch yr allor gartref, ac yn eu côr wrth fwrdd y cysegr; a'r ddydd genedigaeth, i gyflwyno y bychan tlws newydd-anedig i Dduw: ar ddydd priodas, i eneinio yr iau ag olew eu cariad a'u hewyllys da, ac i erfyn am y fendith o fryniau tragywyddoldeb ar y ddau fydd yn eu gwisgo; ar ddydd marwolaeth i ollwng yr un fydd yn eu gadael i law ei arweinwyr nefol i gael ei godi i'r cerbyd, i fyned i fyw i'r llŷs at ei Waredwr, ac i ddywedyd wrtho, yn nghanol eu hiraeth, y deuant oll ar ei ol pan y gelwir am danynt. A bydd yn ddedwydd iawn i weled teulu duwiol gyda'u gilydd yn y farn ar y ddeheulaw, a'u gweled yn eu trigfa hardd yn nhŷ eu Tad, ac yn cydrodio llwybrau bl... euog y wlad well, ac yn cyd-addoli yn eu côr yn nheml y ... oedd.

3. Os gwnawn ni fel Josua, bydd raid i ni ddewis dan ffurf cyfammod cyhoeddus. Yr oedd yr hen dduwiolion ... wocaf yn dewis eu hochr yn y dull mwyaf cyhoeddus. ... oeddynt yn foddlon i holl lwythau Israel, a holl lwythau y c... edloedd hefyd, yn foddlon i'w cymydogion ac estroniaid hefyd, yn foddlon i'r eglwys a'r byd hefyd, wybod eu dewisiad ...

mae manteision arbenig o ddewis yn gyhoeddus felly, ac o selio cyfammod ein crefydd yn ngwydd llawer o dystion. Bydd hyny yn rym i'n penderfyniad a'n gweddi, ac yn anogaeth i eraill allu gwneud yn yr un modd: bydd yn wanychdod i deyrnas y tywyllwch, ac yn adfywiad i deulu y saint, ac yn achos o lawenydd yn ngwydd angylion Duw. Y mae yn anhawdd iawn peidio dewis yn gyhoeddus heb fyned dan y cymeriad o fod arnom gywilydd o Grist ac o'i eiriau, o'i groes ac o'i achos ac o'i bobl. Byddai yn dda i bob Cristion cuddiedig, os oes un felly yn bod, ystyried y golled y mae'n gael, a'r niwed y mae'n wneud wrth sefyll draw yn lle cyffesu ei egwyddorion, a dangos ei ochr.

4. Os dewiswn fel y gwnaeth Josua, byddwn am gael eraill gyda ni i wasanaethu yr Arglwydd. Yr oedd Josua yn hoffi gweled yr henuriaid, a'r penaethiaid, a'r barnwyr, a'r holl swyddogion yn selio y cyfammod. Yr oedd wrth ei fodd pan yn clywed yr holl bobl yn dywedyd yn un llais, a hwnw yn llais uchel, "Na ato Duw i ni adael yr Arglwydd." A phan yr ysgrifenodd eu geiriau yn llyfr yr Arglwydd, a phan y cododd y maen fel tystiolaeth o'r cyfammod. Yr oedd yn foddlon i farw mewn tangnefedd ar ol cael yr hyfrydwch o weled y fath lu mawr yn cydymgysegru mor ddifrifol i wasanaethu yr Arglwydd, heb fod yn eu mysg na llwyth na theulu yn troi yn anffyddlon; ac y mae pob credadyn eto, sydd yn meddu ysbryd Josua, am gael pawb i droi allan gydag ef i wasanaethu yr Arglwydd.

## ACHAN YN Y GWERSYLL.

---

"A Josua a gymerth Achan mab Zerah, a'r arian, a'r fantell, a llafn aur, ei feibion hefyd, a'i ferched, a'i wartheg, a'i asynod, a'i ddefaid hefyd, a'i babell, a'r hyn oll a feddai efe ; a holl Israel gyd âg ef a'u dygasant hwynt i ddyffryn Achor. A Josua a ddywedodd, Am i ti ein blino ni, yr Arglwydd a'th flina dithau y dydd hwn. A holl Israel a'u llabyddiasant ef â meini, ac a'u llosgasant hwy â thân, wedi eu llabyddio a meini. A chodasant arno ef garnedd fawr o geryg hyd y dydd hwn. Felly y dychwelodd yr Arglwydd oddiwrth lid ei ddigofaint : am hyny y gelwir enw y fan hono Dyffryn Achor, hyd y dydd hwn."—Josua 7. 24—26.

---

Ceir dechreuad yr hanes yma yn ninystr Jerico, a'i ddiwedd-iad yn ninystr Ai. Sylwn yn

I. Ar adroddiad byr y Beibl o'r prif amgylchiadau. Jerico oedd y ddinas gyntaf a gymerwyd gan Israel ar ol eu dyfod-iad dros yr Iorddonen i wlad yr addewid. Yr oedd yn ddinas gaerog, gyfoethog, dan lywyddiaeth brenin, a than amddiffyn-iad llu o wŷr grymus. Cauwyd y pyrth pan y daeth llwythau Israel i'r golwg, fel nad oedd neb yn cael myned allan, na neb yn cael dyfod i mewn. Ceir darluniad lled fanwl am ddull y gwarchae. Yr oedd i barhau, yn ol gair yr Arglwydd, am saith niwrnod. Yr oedd byddinoedd Israel, yn arfogion, i ym-deithio unwaith bob dydd o amgylch y ddinas am chwe' diwr-nod : ac yr oeddynt i godi yn fore, ar doriad gwawr y seithfed dydd, ac ymdeithio o'i hamgylch saith waith. Yr oedd Arch Duw i fod yn nghanol rhes yr arfogion, rhai o'i blaen a rhai o'i hol ; ac yr oedd saith o offeiriaid i gerdded o flaen yr Arch gan leisio ag udgyrn, o gyrn hyrddod. Pan oeddynt yn cyl-ynu y ddinas y seithfed tro ar y seithfed dydd, canodd y offeiriaid yn hirllaes, â chorn yr hwrdd, a rhoddodd Josua arwydd i'r bobl floeddio, yr oeddynt wedi cael gorchymyn i fod yn gwbl ddistaw hyd y foment hono. Yr oedd yn

anddynt gael cenad i floeddio, a rhoddasant floedd yn iawn,
'r mur a syrthiodd i lawr odditanodd, a'r bobl a aethant i
'ny bob un ar ei gyfer, ac a enillasant y ddinas. Yr oedd yr
ırglwydd wedi gorchymyn am i'r ddinas a'i holl olud fod yn
diofryd-beth, ac felly difrodasant yr oll oedd ynddi, yn wr a
wraig, yn eidion ac yn ddafad, â min y cleddyf; ond arbed-
'yd Rahab a'i theulu, yn ol cyfammod yr yspiwyr. Yr oedd
srael i ymgadw yn llwyr oddiwrth y diofryd-beth, rhag eu
wneuthur eu hun yn ddiofryd-beth, a dwyn trallod i'w gwer-
yll. Casglasant yr arian a'r aur, a'r llestri pres a haiarn i
rysor yr Arglwydd, a llosgasant y ddinas a thân. Yr oedd-
nt yn tybied fod y cyfan wedi cael ei wneud i'r lythyren yn ol
gorchymyn, ac yr oeddynt yn uchel orfoleddu yn eu buddug-
liaeth, ac yn teimlo yn barod at ail ymgyrch: ac felly anfon-
dd Josua genadau o'u blaen i edrych ansawdd Ai. Dychwel-
dd y cenadau, gan hysbysu nad oedd dim eisiau poeni yr holl
ddin i ymosod ar Ai, am y byddai dwy neu dair mil o wŷr
ı ddigon o nerth i'w chymeryd, am mai dinas fechan, o ych-
lig bobl, ydoedd. Aeth tair mil i fyny i'w herbyn, yn llawn
wroldeb, heb dybied fod yn bosibl iddynt golli y dydd; ond
'odd y frwydr i'w herbyn, a ffoisant o flaen gwŷr Ai, ac ym-
liwyd hwynt hyd Sebarim, a tharawyd hwy yn y goriwaered,
syrthiodd yn nghylch un gwr ar bymtheg ar hugain o hon-
ıt; am hyny y toddodd calonau y bobl, ac yr aethant fel
wfr. A Josua a rwygodd ei ddillad, ac a syrthiodd i lawr ar
wyneb o flaen Arch yr Arglwydd hyd yr hwyr, efe a henur-
ıid Israel, ac a ddodasant lwch ar eu penau. A dywedodd
osua, Ah, ah, O Arglwydd Ior, i ba beth y dygaist y bobl
na dros yr Iorddonen, i'n rhoddi ni yn llaw yr Amoriaid, i'n
yfetha? O na buasem foddlon, ac na thrigasem tu hwnt i'r
ɔrddonen! O Arglwydd beth a ddywedaf, pan dry Israel
warr o flaen ei elynion! Canys y Canaaneaid, a holl drigol-
n y wlad, a glywant, ac a'n hamgylchant, ac a dorant ymaith
ɑ henw oddiar y ddaear: a pha beth a wnai i'th enw mawr!
.'r Arglwydd a ddywedodd wrth Josua, Cyfod, paham yr yd-

wyt yn gorwedd fel hyn ar dy wyneb? Israel a bechodd, a throseddasant fy nghyfammod a orchymynais iddynt, cymerasant hefyd o'r diofryd-beth, ie, lladratasant, a gwadasant, gosodasant hefyd hyny yn mysg eu dodrefn eu hun. Am hyny ni ddichon meibion Israel sefyll yn wyneb eu gelynion, eithr troant eu gwarr o flaen eu gelynion, am eu bod yn ysgymun-beth. Ni byddaf mwyach gyda chwi, oni ddyfethwch yr ysgymun-beth o'ch mysg. Cyfod, sancteiddia'r bobl, a dywed, ymsancteiddiwch erbyn y foru, canys fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Diofryd-beth sydd yn dy blith di o Israel: ni elli sefyll yn wyneb dy elynion, nes tynu ymaith y diofryd-beth o'ch mysg. Am hyny, nesewch y bore wrth eich llwythau, a'r llwyth a ddalio yr Arglwydd, nesaed bob yn deulu, a'r teulu a ddalio yr Arglwydd, nesaed bob yn dŷ, a'r tŷ a ddalio yr Arglwydd, nesaed bob yn wr, a'r hwn a ddelir a'r diofryd-beth ganddo a losgir a thân, efe ac oll sydd ganddo; o herwydd iddo droseddu cyfammod yr Arglwydd, ac o herwydd iddo wneuthur ynfydrwydd yn Israel. Felly Josua a gyfododd y fore, ac a ddug Israel wrth eu llwythau, a llwyth Judah a ddaliwyd. Ac efe a ddynesodd deuluoedd Judah, a daliwyd teulu y Zarhiaid; ac efe a ddynesodd deulu y Zarhiaid bob yn wr, a daliwyd Zabdi; ac efe a ddynesodd ei dyaid ef bob yn wr, a daliwyd Achan, mab Carmi, fab Zabdi, fab Zerah, o lwyth Judah. A Josua a ddywedodd wrth Achan, Fy mab, atolwg, dyro ogoniant i Arglwydd Dduw Israel, a chyffesa iddo, a mynega yn awr i mi beth a wnaethost, na chela oddiwrthyf. Ac Achan a atebodd Josua, ac a ddywedodd, Yn wir myfi a bechais yn erbyn Arglwydd Dduw Israel, canys fel hyn, ac fel hyn y gwnaethum: Pan welais yn mysg yr yspail, fantell Babylonig deg, a dau can' sicl o arian, ac un llafn aur o ddeg sicl a deugain ei bwys, yna y chwenychais hwynt, ac a'u cymerais: ac wele hwy yn guddiedig yn y ddaear yn nghanol fy mhabell, a'r arian danynt. Yna Josua a anfonodd genadau, a hwy a redasant i'r babell, ac wele hwynt yn guddiedig yn ei babell ef, a'r arian danynt. Am hyny, hwy a'u cymerasant o ganol

abell, ac a'u dygasant at Josua, ac at holl feibion Israel; a'u gosodasant hwy o flaen yr Arglwydd. A Josua a gyrth Achan, fab Zerah, a'r arian, a'r fantell, a'r llafn aur, ei ion hefyd, a'i ferched, a'i wartheg, a'i asynod, ei ddefaid yd, a'i babell, a'r hyn oll a feddai efe, a holl Israel gyd ag a'u dygasant hwynt i ddyffryn Achor. A Josua a ddywedl, Am i ti ein blino ni, yr Arglwydd a'th flina dithau y dydd n. A holl Israel a'i llabyddiasant ef â meini, ac a'u llosgnt hwy a thân wedi eu llabyddio a meini: a chodasant o ef garnedd fawr o geryg hyd y dydd hwn. Felly y dychodd yr Arglwydd oddiwrth lid ei ddigofaint: am hyny y wir enw y fan hono, Dyffryn Achor, hyd y dydd hwn." na adroddiad cryno y Beibl o drosedd Achan, o'r dull y iwyd ef, ac o'i gospedigaeth drom am iddo flino Israel. Ar lyfetha felly y diofryd-beth, dywedodd yr Arglwydd wrth ua, "Nac ofna, cymer gyda thi yr holl bobl o ryfel, a dos i y i Ai: gwel, mi a roddais yn dy law di frenin Ai a'i bobl, ldinas hefyd, a'i wlad." A chyfododd Josua, ac a wnaeth i, a'i brenin, a'i bobl, fel y gwnaethai i Jerico; ond ei hanith a'i hanifeiliaid a gafodd Israel iddynt eu hunain. Felly dyffryn llosgiad y diofryd-beth yn ddyffryn gobaith i Israel, hyflymasant eu buddugoliaethau ar ol hyny, heb unrhyw awsdra, yn y dull mwyaf effeithiol a llwyddianus.

I. Crybwyllwn rai o'r addysgiadau ymarferol ellir dynu oddi h hanes Achan.

. Dylem ystyried fod pobl Dduw yn awr, fel yn y dyddiau y, yn nghyraedd profedigaethau. Dylent gymeryd atynt holl arfogaeth, a bod bob amser dan eu harfau, ac ar eu yliadwriaeth, gan eu bod yn ngwlad y gelynion, ac yn yraedd eu llid a'u cynllwynion. Y mae'n berygl iddynt uthur unrhyw gyngrair na chyfathrach â'r gelynion. Nid dim heddwch i fod rhyngddynt â'r gelyn, yr hwn sydd yn ned o amgylch, a'i holl fryd ar eu drygu a'u dyfetha. Y nt i ofalu cadw eu lle a'u cylch yn y fyddin ac yn y gwer-, i fod yn ffyddlawn i'w gilydd, yn ufudd i'w blaenoriaid, i

ddilyn baner eu Capten, i gadw holl gyfraith cyfammod Duw, ac i ymnerthu yn nghadernid ei allu ef.

2. Y gall diofryd-bethau gael ei dwyn i mewn i wersyll pobl Dduw, a chael eu cuddio yn eu pebyll. Gellir edrych y pethau canlynol fel diofryd-bethau: cariad at unrhyw rych gwaharddedig, neu chwenychiad am gael ei fwynhau—cellwair â phrofedigaethau heb ystyried fod hyn fath o gymmod â'r gelyn, ac yr un peth a chwarae ar gelyn yn nghanol ei faglau ac yn nghyraedd ei saethau. ystyriaeth ac ysgafnder a rhyfyg yn moddion gras gyda dinhadau duwioldeb, pan dichon uwchben geiriau pur y neu yn plygu glin wrth yr orsedd, neu yn ymresymu am rawiaethau crefydd, neu yn eistedd wrth fwrdd y cym Porthi meddyliau ofer. Segurdod meddwl, sef gadael ei oedd i ymddiogi, a gadael i serchiadau y galon ymgrwydr y dewisont heb osod un math o iau arnynt. Yspryd ai ldd i ddibrisio cyfreithiau yr efengyl. Yspryd deddf ymestyn am wneud hunan-gyfiawnder yn ditl i'r nefoedd. pryd plaid yn peri i un farnu yn gûl am eraill, ac edrych anfrawdol at wahanol ddosbarthiadau o'i gyd-grefydd Angbariad tu ag at ein cydfilwyr o'r un fintai a ninau. yn ddiawydd am ledaeniad yr efengyl ac achubiaeth ene Hoffi trais a therfysg, ac erlid a rhyfel. Yspryd ystyfnig faddeugar. Ofn gwasaidd. Cyfeillach y byd a'i olud, a'i anau a'i fwynderau. Rhagrith, neu geisio dangos i eraill ein calon yr hyn nid ydyw mewn gwirionedd. Y mae y au hyn oll yn ddiofryd-bethau, ac y mae pob un o honynt le bynag y bydd yn cael ei fynwesu, pa un bynag ai yn bell ai yn y cysegr, ai yn y gwersyll, yn ddigon i wneud y hono, neu y teulu hwnw, neu y gynulleidfa hono yn ysgym beth yn ngolwg yr Arglwydd.

3. Fod yr effeithiau mwyaf galarus yn sier o ddilyn cu unrhyw ddiofryd-beth yn y fynwes, neu yn y babell, yn gwr o'r gwersyll. Y mae yn sicr o beri i Dduw ddig chuddio ei wyneb; achosa i fraich ei amddiffyn gael ei

yn ol, ac i lais ei drugaredd ddystewi, i ddyddanwch dylanwad ei Ysbryd beidio, ac i gwmwl ei arweinyddiaeth ymadael. Mewn canlyniad i hyn bydd y fyddin yn sicr o ddyrysu, a cholli y dydd, ac o orfod ffoi yn awr y frwydr. Rhydd hyny achos i'r gelyn ymfawrygu, ac ymffrostio, a chablu, ac ychwanegu ei nerth a'i feiddgarwch, a dyblu a dyfnhau ei ddichellion. Achosa hyny ddychryn a galar drwy yr holl wersyll, digalona y rhai llesg yn y llwythau, tristâ yr henuriaid mwyaf eu gofal, a phar i bob Josua ffyddlon rwygo ei ddillad, a dodi llwch ar ei ben, a syrthio ar ei wyneb o flaen arch Duw; dwg farnedigaeth arswydus ar warthaf y troseddwr, a bydd perygl i'w deulu, a'i geraint, a phawb fyddant o'i gyfrinach syrthio dan yr un farnedigaeth.

4. Y dylai llwythau yr Arglwydd, neu eglwysi y saint, osod eu gwyneb yn erbyn pob diofryd-beth. Gan ei fod yn effeithio mor ofnadwy yn yr holl gysylltiadau a nodwyd, dylent fod yn ofalus a dyfal iawn i anog a dysgu plant ac ieuenctyd i ymgadw yn bur oddiwrth y pechodau mwyaf parod i'w hamgylchu, ac i lwyr ymwthod â phob peth gwaharddedig. Dylai pob credadyn chwilio holl gonglau ei feddwl, a holl gelloedd ei galon rhag fod yno unrhyw ddrwg yn cael ei guddio yn mysg ei fyfyrdodau, a'i serchiadau, a'i ddymuniadau. Dylai pob penteulu gymeryd "canwyll y gorchymyn" i chwilio ei holl babell, neu ei dŷ, rhag fod yno ddim diofryd wedi cael ei ddwyn i mewn a'i guddio yn mysg ei ddodrefn cyfreithlawn. Dylai yr eglwys chwilio yr holl wersyll, rhag fod yno ryw Achan neu deulu Achanaidd, yn nychu grym y gwersyll, drwy beri i'r gogoniant ymadael o hono, a'i wneud yn ysgymun-beth yn ngolwg yr Arglwydd. A phan y deuir o hyd i ryw ddiofryd, dylid ei ddatguddio, ei ddwyn i'r golwg, a'i osod ger bron yr Arglwydd, a'i ddyfetha heb arbed.

5. Y daw pob diofryd-beth i'r golwg, yn gynar neu yn ddiweddar, er gwaethaf holl ddyfais y troseddwr i'w guddio. Yr oedd Achan wedi bod yn ofalus ac yn gyfrwys i guddio y fantell Babylonig deg a'r llafn aur, yn y ddaear, yn nghanol e

ac arbed yr Achan, a'i arbed hefyd yn gyfiawn ac yn anrhydeddus. "Y neb a guddio ei bechodau, ni lwydda; ond y neb a'u haddefo, ac a'u gadawo a gaiff drugaredd." "Addefais fy mhechod wrthyt, a'm hanwiredd ni chuddiais: dywedais, Cyffesaf yn fy erbyn fy hun, fy anwireddau i'r Arglwydd, a thi a faddeuaist anwiredd fy mhechod. Gwyn ei fyd y neb y maddeuwyd ei drosedd, ac y cuddiwyd ei bechod." "Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlawn yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddiwrth bob anghyfiawnder." Gall Duw guddio pechodau fel na ddeuant i'r golwg. Gall eu taflu o'r tu ol i'w gefn. Gall ddileu y camweddau fel cwmwl ac fel niwl er ei fwyn ei hun. Y mae yn Nghrist yn cymodi troseddwyr ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau: canys yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bech-aberth drosom ni, fel y gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef. Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd: cospedigaeth ein heddwch ni roddwyd arno ef, a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni. Y mae modd i'r euog gael ei gyfiawnhau yn rhad drwy ei ras ef, drwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu: yr hwn a osododd Duw yn iawn, drwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder yn maddeuant pechodau; ac fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu. Yr athrawiaeth am faddeuant pechod, a chyfiawnhad y troseddwr trwy ffydd yn Iawn Iesu Grist ydyw un o athrawiaethau mwyaf a melysaf y grefydd Gristionogol.

7. Fod byddinoedd Duw yn anorchfygol pan fyddant wedi difa pob diofryd-beth o'u mysg. Bu dyffryn Achor, lle y llosgwyd diofryd-bethau Achan, yn ddrws gobaith i Israel. Trodd glyn eu trallod yn borth eu gorfoledd. Trodd eu hympryd yn wledd, a'u galarnad yn gân buddugoliaeth. Disgynodd Duw i'w mysg, gwenodd arnynt, a llefarodd wrth fodd eu calon, geiriau o adfywiad a chyfarwyddyd. Addawodd fod gyda hwy yn y frwydr, fel na lwyddai yr un offeryn a lunid i'w herbyn. A gwaith hawdd i eglwysi y saint fydd gorchfygu yr un drwg, os na fydd rhyw Achan yn eu mysg i'w bradychu a'u dyrysu.

Ond iddynt ofalu yn ffyddlawn i ddyfetha pob diofryd-beth o'n mysg, byddant yn ddiogel ar faes yr ymdrech, yn fuddug[ol] ym mhob brwydr, ac yn fwy na choncwerwyr drwy yr hwn a'n carodd.

---

## ABRAHAM FEL PENTEULU.

---

PREGETH I YSGOLION SABBOTHOL A PHENAU TEULUOE[DD]

---

"Canys mi a'i hadwaen ef, y gorchymyn efe i'w plant, ac i'w [dy]lwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd, gan wne[uthur] cyfiawnder a barn, fel y dygo yr Arglwydd ar Abraham yr h[yn a] lefarodd efe am dano."—Gen. 18. 19.

---

Y mae yr adnod yn dystiolaeth anrhydeddus, o enau yr A[r]glwydd ei hun, am ofal a ffyddlondeb Abraham i ddysg[u ei] blant ac i'w dylwyth ar ei ol gadw o honynt ffordd yr A[rgl]wydd. Y mae Duw yn gofyn, "A gelaf fi rhag Abraha[m y] hyn a wnaf?" Na wnaf. Ni chelaf oddiwrtho fy mwr[i]acthau. Hysbysaf iddo fy ffyrdd, mynegaf iddo fy ne[ges] a'm tystiolaethau, cyhoeddaf iddo fy Enw, egluraf idd[o fy] nghymeriad; canys mi a'i hadwaen ef, yr wyf yn adw[aen ei] egwyddorion a'i fwriadau, yr wyf yn adwaen ei deimlad[au a'i] arferiadau, yr wyf yn adwaen cywirdeb ei grefydd bers[onol], yn adwaen gorchymynion a siamplau ei grefydd deuluai[dd; yr] wyf wedi cael prawf hir a llawn o hono y gwnaiff ddefn[ydd] o'm deddfau a'm barnedigaethau, ac felly mi a'u hysbysaf [iddo]. Ystyriwn yn

I. Y drefn oedd Abraham yn gymeryd i addysgu ei [blant] a'i deulu.

1. Yr oedd yn eu dysgu drwy adrodd hanesion pwys[ig]

nt—hanes y greadigaeth—hanes cwymp ein rhieni cyntaf—
ıanes merthyrdod Abel—a symudiad Enoch—hanes ymlygriad
yflym plant dynion—hanes Noah, a'r arch, a'r dilnw—hanes
.nffyddiaeth a gwrthryfel rhyfygus teulu Twr Babel. Yr oedd
ylch hanesyddiaeth y pryd hyny yn gyfyng iawn wrth ei gyd-
ıaru â'r hyn yw yn bresenol; ond yr oedd Abraham am
meud defnydd da o'r hyn oedd ganddo.

2. Yr oedd yn eu dysgu trwy egluro iddynt athrawiaethau
uwioldeb. Yr oedd yn darlunio iddynt gymeriad yr Argl-
ydd fel un haeddol o gael ei ofni a'i garu, fel un teilwng o
ob cred ac ymddiried: yr oedd yn egluro iddynt gyflwr dyn
el pechadur yn erbyn awdurdod a gras Duw, ac nad oedd
im gobaith iddo am arbediad ac ymgeledd ond o rad dostur-
ıethau yr Arglwydd; yr oedd yn pregethu iddynt am anfar-
oldeb dyn, a'i gyfrifoldeb, ac y byddai yn cael derbyn byth
ıewn sefyllfa ddyfodol yn ol ei weithredoedd yn y byd yma;
r oedd yn dywedyd wrthynt am anwadalwch a gwagter
ıwynderau daear; ond fod mwyniant crefydd yn sylweddol,
ı barhaus, ac yn ddisiomedig, bod ei ffyrdd hi yn ffyrdd hyf-
dwch, a'i holl lwybrau hi yn heddwch.

3. Yr oedd yn cyngori ac yn rhybuddio ei deulu, mewn
ull tyner, doeth, a ffyddlawn. Yr oedd, fel tad caredig, ac
el patriarch profiadol yn egwyddori, yn argyhoeddi, ac yn
eryddu yn ol yr amgylchiad mewn cariad ac addfwynder. Yr
edd yn rhoddi iddynt orchymyn ar orchymyn, cyngor ar
yngor, ychydig yma ac ychydig acw. Yr oedd yn crybwyll
m bethau yr enaid wrthynt pan yr eisteddai yn ei dŷ, a phan
cerddai ar y ffordd, pan y gorweddai i lawr, a phan gyfodai i
ny. Yr oedd yn dal ar bob adeg a phob cyfleustra i'w haddysgu.

4. Yr oedd yn codi allor ac yn aberthu yn eu canol. Yr
edd ei aberthau cymmod a maddeuant, a'i offrymau hedd a
iolch yn rhoddi addysg iddynt; a diameu ei fod yn gweddio
rostynt bob amser pan yn gwasanaethu o gylch yr allor; ac
mae genym brofion ei fod yn eiriolwr taer iawn yn ei holl
eddiau.

5. Yr oedd yn eu dysgu drwy ei siamplau—drwy ei ys
boneddigaidd myfyrgar, ei deimladau tyner cariadlawn, ei
weddau difrifol deniadol, a'i holl ymarweddiad cyfiawn a d
iol: a diameu ei fod yn cyflawni gwahanol ganghenau ei sw
fel penteulu mewn dull tra effeithiol, oblegyd yr oedd yn g
adyn o alluoedd cryfion o ran corff a meddwl, yn un o l
craff, o feddwl cyflym, o dymer hawddgar, o ddoniau den
yr oedd yn esboniwr eglur, yn bregethwr gwresog, yn egw
orwr trwyadl; yr oedd yn broffwyd enwog, yn offeiriad
rus a gofalus. Ac yn

6. Diameu fod ganddo amserau penodedig at offeiriad
ei dŷ, ac at egwyddori ei deulu—yn enwedig y Sabboth,
yr Arglwydd. Yr oedd ganddo y gofal manylaf i sanct
y Sabboth fel un o sefydliadau hynaf a phwysicaf add
Arglwydd: a'r gwasanaeth puraf a sancteiddiaf a fedrai
ar ddydd Duw oedd hyfforddi ei deulu lliosog yn athraw
au a dyledswyddau crefydd.

II. Y rhwystrau oeddynt ar ei ffordd i addysgu ei deu
1. Yr oedd ei dylwyth yn lliosog iawn, yn cynwys yn
dros fil o eneidiau, o bob oed a gradd, o wahanol dym
ac archwaeth, rhai o honynt yn perthyn yn agos iddo, a
aill heb fod yn perthyn dim iddo; rhai yn hen, rhai yn
ol eu dyddiau, a rhai yn nyddiau eu hieuenctyd; ac yr
rhai o honynt yn blant rhieni eilun-addolgar, neu anghre
a rhaid, o ganlyniad, fod ei ofalon fel penteulu yn rhai
ferol o bwysig.

2. Yr oedd sefyllfa wasgaredig ei deulu yn anfantais
Y mae ambell i feistr, yn yr oes yma, yn berchenog g
fawr at nyddu a gweu llin, neu wlan, neu sidan, neu at
haiarn neu bres, ac y mae llawer o ddwylo, neu deulu
yn perthyn i'w weithfa; ac y mae ambell i feistr yn o
yn bryderus iawn am gael moddion addysg fuddiol i g
y rhai sydd yn gweithio dano, ac y mae ganddo fantais
fawr nad oedd gan Abraham, drwy fod ei deulu yn gall
gadw oriau mor reolaidd, ac yn cael cyd-weithio a ch

mor agos i'w gilydd. Yr oedd teulu Abraham yn wasgaredig iawn. Un dosbarth gyda'r defaid yn mhell yn mlaen yn y Dwyrain, a dosbarth arall gyda'r camelod yn mhell yn ol yn y Gorllewin, rhai ar ei dde, ac eraill ar ei aswy, gyda'u gwahanol orchwylion, filldiroedd lawer oddiwrth eu gilydd; ac yr oedd yn anhawdd trefnu i'w cael i gydgyfarfod ond yn bur anfynych. Yr oedd hyny yn rhwystr ar ei ffordd i drosglwyddo addysg iddynt; ond mae'n debyg fod ganddo is-athrawon, wedi eu hyfforddi a'u hawdurdodi i ddysgu eraill, ac mai rhan o'i waith ef oedd arolygu a chyfarwyddo a chalonogi gwaith yr athrawon.

3. Heblaw fod ei deulu yn lliosog ac yn hynod o wasgaredig yr oedd ei sefyllfa fel pererin yn y tir, yn dra anfanteisiol iddo eu dysgu. Er fod Duw wedi addaw rhoddi gwlad Canaan yn etifeddiaeth i'w hâd, nid oedd ganddo y pryd hyny feddiant o gymaint a lled troed ynddi. Pe buasai ganddo ei drigfa sefydlog yno, ac etifeddiaeth fawr gryno o gylch ei "ddinas," buasai hyny yn hwylusdod mawr iddo gydag ordinhadau cymdeithasol crefydd; ond yr oedd yn gorfod symud ei luest, a newid lle yr allor yn bur fynych. Ar ol iddo droi allan o Ur y Caldeaid i Haran, a symud oddiyno eilwaith, bu yn ymdeithio drwy bron bob cwr o wlad Canaan. Ymfudodd unwaith i'r Aipht, mewn amser o newyn, dychwelodd oddiyno i Ganaan, a bu yn bererin yno hyd ddiwedd ei oes. Byddai yn pabellu weithiau yn anialwch Beerseba, ac weithiau ar wastadedd Mamre, weithiau yn Cades, ac weithiau yn Bethel, weithiau yn Sichem ac weithiau yn Gerar, weithiau yn y mynydd, ac weithiau yn y dyffryn, weithiau yn yr anial anghyfanedd, ac weithiau gerllaw pyrth a llwybrau y Canaaneaid; ac yr oedd ymfudiadau felly yn anhawsdra iddo gadw ei deulu mawr dan reolau manylaf disgyblaeth addysg; ond bu yn ymdrechgar a ffyddlawn drwy ei holl symudiadau.

4. Mae lle i gasglu nad oedd dim cyfle gan Abraham i ddysgu ei deulu ar lyfr. Buasai llyfrau bychain crefyddol yn werthfawr iawn iddo roddi yn nwylaw ei deulu, gyda

chymhelliad iddynt dreulio oriau eu hamdden i chwilio eu llyfrau; nid oes neb all ddirnad y lles y mae llyfrau bychain wedi wneud yn ein hoes ni, er ychwanegu llwyddiant rhieni athrawon a gweinidogion y gair yn eu llafur pwysfawr. B asai yn werthfawr iawn iddo ef pe buasai ganddo Destam bychan, neu esboniad cryno, neu lyfr caniadau a gwedd neu holwyddoreg cynwysfawr i'w roddi yn llaw y rhai oedd yn bugeilio ei braidd ac yn trin ei feusydd, ac yn enwedig nwylaw y plant a fegid yn ei deulu; ond nid oedd llyfrau i'w cael. Nid oedd y gelfyddyd o argraffu wedi ei dyfeis pryd hyny, ac y mae lle i gasglu fod y gelfyddyd o ysgri yn anadnabyddus yn ei deulu.

5. Yr oedd coel-grefydd a llygredigaethau teuluoedd ei gydogion yn brofedigaethus i rai o'i deulu yntau. Pe buasai penau teuluoedd ag yr oedd yn ymdaith yn eu mysg yn o'r un brofiad, ac o'r un ffydd, o'r un gân, ac o'r un wedd ef, gallasent fod o lawer o gymorth ac o gefnogiad iddo. Gallasent weithiau gynal cymanfa er addysgu eu teuluoedd er eu cymell i gadw ffordd yr Arglwydd; ond yr oedd ysp ac ymddygiad ei gymydogion yn fwy o rwystr nag o gym iddo; ac yn tueddu yn fwy i lygru ei deulu nag i'w sancteiddio. Pe buasai patriarchiaid tylwythau Canaan y pryd hyny i gyd yn Abrahamiaid, buasai hyny yn elw ac yn gysur mawr iddo ef a hwythau, a buasai eu gwlad yn dyfod yn fuan yn llawn o bob golud a gwynfyd tymhorol ac ysprydol; ond nid oedd yno ddim un o honynt o'r un galon ag ef am ddysgu cyfreithiau y nef, a chadw ffordd yr Arglwydd: a diameu iddo gael yn ei oes lawer iawn o wawd ac o ddirmyg oblegyd ei ffyddlondeb i gyfraith ac addoliad ei Dduw. Yr oedd y pethau hyn oll yn anhawsderau, ond bu yn ffyddlawn a diwyd yn ei swydd fel athraw ac offeiriad ei deulu drwy ei holl brofedigaethau. Arweinia hyn ni i ystyried yn

III. Y calondid oedd i Abraham lynu gyda'i waith fel athraw ei deulu, yn wyneb y fath wahanol anhawsderau.

1. Yr oedd ganddo dystiolaethau cryfion fod ei waith

yngu bodd Duw. Yr oedd y "Duw Hollalluog" ag oedd :di ei hysbysu ei hun iddo, yn sefyll ar ei ddeheulaw, ac yn venu ar ei enaid, pan yr oedd yn cyflawni ei swydd; er rrando ei weddi, er cyfarwyddo ei feddwl, er gwroli ei galon, arddel a bendithio ei lafur; ac yr oedd cymeradwyaeth ei luw yn werth pob peth iddo.

3. Yr oedd yn cael hyfrydwch a budd yn y gwasanaeth. : oedd ei grefydd deuluaidd yn gyfnerthiad i'w grefydd ber- 1ol. Yr oedd ei lafur i ddysgu eraill yn cynhyrfu ac yn yfhau ei feddwl i astudio yn fanylach gyngor a ffordd yr Ar- wydd. Yr oedd chwilio am eiriau cymeradwy i bregethu r deulu, ac ymchwilio am y dulliau effeithiolaf i'w hegwydd- i yn athrawiaeth yr Arglwydd yn cyfoethogi ei feddwl, yn nesu ei galon, yn melysu ei gymundeb â'r nefoedd, yn gloywi rasau, ac yn rhwyddhau ei ddoniau. Yr oedd gofal a raith ei swydd, fel athraw yn ei dŷ, yn fywyd a grym i holl efydd ei galon, ac yr oedd y cysur a'r lles oedd yn gael yn ei iith yn ddigon o wobr am y llafur.

3. Ei ymdrech a'i ofal i ddysgu ei deulu oedd y moddion ireu allasai byth ddefnyddio er eu cadw mewn trefn, ac mewn ngnefedd, ac er eu cynhyrfu i ufudd-dod a ffyddlondeb. Yr dd ganddo, yn ol deddfau a defodau yr oes hono, lawn aw- irdod, fel pen ei deulu, i ddefnyddio y fflangell, a'r gadwyn, r cleddyf, er eu cadw mewn trefn, ac mewn ufudd-dod; ond d oes genym unrhyw grybwylliad ei fod yn eu defnyddio. r oedd cyngorion a gorchymynion ac addysgiadau ei gariad i ddoethineb a'i addfwynder yn foddion llawer mwy effeithiol. id oedd yr un tylwyth yn y byd y pryd hyny mor uchel o n eu breintiau crefyddol, ac yn cael eu maethu mor fanwl ı addysg ac yn athrawiaeth yr Arglwydd, ac nid oedd yr un lwyth yn y byd y pryd hyny mor ufudd ac mor ffyddlawn, or reolaidd ac mor drefnus, ag ydoedd teulu Abraham; ac · oedd y parch a'r cysur oedd yn gael yn ei deulu yn wobr do am ei ffyddlondeb.

4. Yr oedd ei lafur yn wystl iddo y llwyddai crefydd yn ei

deulu ar ol ei farwolaeth. Yr oedd ei galon yn llawn awyd-fryd, nid yn unig am gael yr Arglwydd yn Dduw iddo ei hun, ond yn Dduw i'w hiliogaeth ar ei ol. Yr oedd yr hâd da yn hau yn egino yn hyfryd, ac yr oedd gobaith am gnwd eithiog pan y byddai ef wedi ei gasglu at ei bobl. Yr oedd yn ddymunol iawn iddo weled parodrwydd hawddgar Isaac, ac eraill o'i deulu i dderbyn addysg, ac i ymarfer ledswyddau crefydd ; ac nid ellir darllen yr hanes am Isaac Jacob heb weled fel yr oedd Duw wedi gwrando gweddi Abraham, ac wedi llwyddo gweinidogaeth ei addysg.

5. Gofal i addysgu ei dylwyth, ddarfu, mewn rhan fendigo ei goffadwriaeth ac anfarwoli ei enw. Y mae wedi marw, yn llefaru eto, a phery ei siampl i ddylanwadu y pery tylwythau i breswylio ar y ddaear. Y dystiolaeth uchel a gafodd am ei ymdrech i orchymyn i'w dylwyth ffordd yr Arglwydd ydyw un o'r perlau dysgleiriaf yn ei gymeriad. Y mae ei air da am ei ffyddlondeb fel pen yn perarogli yn awr er ys bron bedair mil o flynyddoedd phery i berarogli drwy gylchoedd ëangach eto, dros ddyddiau y ddaear.

Wrth gymhwyso yr adolwg ar y gangen yma o'i hanes gwnawn ond un sylw, sef y byddai yn dda iawn i rieni, fel rawon athrofa werthfawr y teulu gartref, ac i holl bobl Dduw yn enwedig athrawon yr Ysgolion Sabbothol a gweinidogion yr efengyl, yfed mwy, a hyny yn barhaus, o yspryd Abraham ac ymgais ddyfalach, ddyfalach am ddilyn ei siampl yn ei a'i lafur i ddysgu plant yn ffordd yr Arglwydd. Y mae gwaith yn un hyfryd a buddiol, ond yn waith anrhaethol fawr. Er eu cymhell i ymroddi yn fwy llwyr ac yn fwy og i'r gwaith gellid gwasgu at eu calonau yr ystyriaethau lynol :

1. Dyna oedd y gangen benaf o araith prif enwogion uchwyliaethau y Beibl : Noah, Abraham, Isaac, Jacob, Joseph, Moses, Josua, Dafydd, Solomon, Josiah ; Sarah, becca, Jochebed, Ruth, Hannah, Bathseba, Priscilla, Eunice, ac eraill.

2. Hyfforddi plant yn yr hyn a olygent hwy yn ffordd dda, rhydeddus, ddefnyddiol, oedd prif ofal y deddfwyr, a'r doeth- ı Paganaidd yn amserau gloywaf eu defnyddioldeb a'u yddiant.

3. Dyna'r gwaith gadwodd yr eglwys yn fyw yn amser er- ligaethau chwerwon hen Buritaniaid pob oes a phob gwlad. ddai rhieni duwiol, ac athrawon ffyddlawn yn planu eg- ddorion da yn meddyliau plant yn ddistaw a dirodres er aethaf creulonderau eu herlidwyr.

4. Dyna oedd dechreuad y diwygiadau cryfion a welwyd yn iwelddar yn mysg gwahanol enwadau o grefyddwyr.

5. Dyna sy'n peri i ofergoelion ynfyd, a defodau Pabaidd, a wareu-gampau llygredig ddiflanu, o radd i radd o bob ch lle y mae plant yn cael eu haddysgu yn ffyrdd yr Ar- vydd.

6. Dyna sy'n achosi i orseddau y bwystfil a'r gau-broffwyd au ar eu gogwydd yn mhob gwlad a thalaeth.

7. Yn athrofa y teulu, ac yn enwedig yn nosbarth y mamau, yn yr Ysgol Sabbothol, y magwyd y rhan fwyaf o enwog- y byd crefyddol; o'r athrawon mwyaf llwyddianus, o es- ɔion mwyaf defnyddiol yr eglwysi, o'r efengylwyr mwyaf urus yn mysg y Paganiaid, ac o'r awdwyr mwyaf dylan- dol yn holl gylch duwinyddiaeth.

8. Dyma'r ffordd sicraf i blanu yr efengyl, ac i beri iddi ɔiddio yn ddwfn yn mysg Paganiaid pob gwlad a chenedl. wn gair, hyfforddiant plant gartref, ac addysgiadau yr Ys- ion Sabbothol, ydyw y gwystl cryfaf sydd genym y llwydda'r wysi mewn rhifedi, mewn doniau, mewn sancteiddrwydd, ac wn dylanwad a defnyddioldeb; dyma'r argoel sicraf sydd ym y rhwymir Satan, ac y dryllir pyrth uffern, y dymchwel- orsedd y bwystfil, y cauir temlau y gau-broffwyd; a bod ierau o'r adfywiad dedwyddaf i wawrio ar eglwysi y saint 'y holl wledydd y byd. Ymwroled ac ymegnied pleidwyr ıth waith hyfryd, a buddiol, a gogoneddus: a mawryged ıt yr iaith Gymraeg eu rhagoriaeintiau; oblegyd y maent.

ar y cyfan, wedi cael gwell magwraeth ac addysg grefydd nag ieuenctyd unrhyw genedl arall : a gobeithio y parha Cymry yn selog a ffyddlawn o blaid gwaith mawr yr Ysgol Sabbothol, a'r ymarferiad buddiol a phwysfawr o egwyddor yn eu teuluoedd.

---

## PENDERFYNIAD HABACUC.

"Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na byddo ffrwyth ar y gwinwy- gwaith yr olewydd a balla, a'r meusydd ni roddant fwyd; tori aith y praidd o'r gorlan, ac ni bydd eidion yn eu beudai. Eto lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachaw- iaeth. Yr Arglwydd Dduw yw fy nerth, a'm traed a wna efe traed ewigod; ac efe a wna i'm rodio ar fy uchel-leoedd. I'r cerdd ar fy offer tannau."—Hab. 3. 17—19.

Yr oedd Habacuc yn wladgarwr gwresog a didwyll, gredadyn goleu a diysog, ac yn broffwyd ffyddlawn a Yr oedd yn byw dan deyrnasiad y brenin eilunaddolgar a lidgar Manasseh "waedlyd." Yr oedd y wlad y pryd hyny llawn o drais a llygredd. Yr oedd presenoldeb y Goruchaf cael ei anghofio, a'i awdurdod yn cael ei ddirmygu, a'i dr eddau yn cael eu camddefnyddio, a holl ordinhadau ei ad iad yn cael eu hesgeuluso. Yr oedd llygredigaethau eilun oliaeth wedi myned yn ben moliant drwy'r holl dir. Yr serchiadau a syniadau dynion yn cael eu sefydlu ar be daearol, ac yr oedd hyny yn eu harwain i genfigen a balch ac yn eu cynhyrfu i drais a gormes. O herwydd y p hyn, yr oedd yr Arglwydd, yn ei ddig, wedi cymeryd y oddiwrthynt ei wên a'i nawdd, a chysuron ei Yspryd a'i lluniaeth. Yr oedd argoelion o'i lid yn eglur ar bob lla yn profi i bob meddwl ystyriol fod mesur eu hanwiredd llawn, a bod dinystr ofnadwy yn eu hymyl. Yr oedd y

fwyd yn deall, ac yn adnabod yr argoelion hyn; a than ddy-anwad teimladau dwysion wedi cael eu magu yn ei galon wrth eddwl am gyflwr ei wlad, ac yn enw ei Dduw, yr ysgrifenodd syniadau effeithiol adnodau y testyn. Cawn ynddynt yn

I. Gyfeiriad at ei ofnau fod cyfyngderau arswydus yn ymyl. Arwyddir

1. Ei fod yn ofni bod adeg o angen a newyn yn agoshau, pan na cheid blodau ar y ffigysbren, na ffrwyth ar y gwinwydd, pan y pallai gwaith yr olewydd, a phan na roddai y meusydd fwyd; pan y torid ymaith y praidd o'r gorlan, ac na byddai eidion yn eu beudai: a phan mewn canlyniad i hyny y byddai yr angen yn fawr, a'r newyn yn drwm; pan y byddai tafod y plentyn sugno yn glynu wrth daflod ei enau gan syched, pan y byddai plant tyner yn wylo ac yn ymbil am fara heb fod gan eu rhieni ddim i'w ranu iddynt, a phan y byddai gwragedd tosturiol, yn eu llewygon pan yn dyddfu gan y newyn, yn ymborthi ar eu plant eu hunain.

2. Yr oedd yn ofni y byddai pob math o afiechyd corff yn dilyn y newyn, ac y byddai clefydau a heintiau yn gwneuthur lawer tŷ a llawer ardal yn anghyfanedd.

3. Yr oedd yn ofni y byddai i wasgfeuon gwladol amlhau. Yr enynid cynenau a therfysgoedd ac ymladdau. Yr anghofid egwyddorion uniondeb, ac y methrid dan draed bob iawnderau cymdeithasol. Yr ymollyngai gweinyddwyr y gyfraith i'r fath ddideimladrwydd nes llwyr esgeuluso eu dyledswyddau; ac mewn canlyniad i hyny, y mynai annhrefn ei rwysg, y codai cymydog yn erbyn cymydog, a theulu yn erbyn teulu, a dinas yn erbyn dinas, ac y collid o'r tir bob diogelwch ac ymddiried a thangnefedd.

4. Yr oedd yn ofni y byddai i elyn cryf a chreulawn o bell oresgyn y tir; ac y byddai i'w hetifeddiaeth gael ei throi i ddieithriaid, a'u tai i estroniaid: ac y gorfyddai iddynt yfed u dwfr er arian, a thalu am eu coed eu hunain; ac y byddai raid iddynt blygu eu gwarau i lafurio dan iau gorthrymder; ac y gorfodid eu gwŷr ieuainc i falu i'r gorthrymydd, ac y

treisid eu gwyryfon a'u gwragedd yn mhyrth eu dinasoedd, ac yn nghynteddau eu cysegroedd.

5. Yr oedd yn ofni y caent eu difadu o ordinhadau crefydd, yr anrheithid eu teml, y dymchwelid eu hallorau, yr atelid gwleddoedd eu gwyliau arbenig, y dystewid llais eu cân a'r gweddi, yr halogid eu Sabbothau, ac y dyrysid ac yr atelid yr gyfangwbl eu holl gymdeithasau a'u holl gyflawniadau crefyddol.

6. Yr oedd yn ofni y byddai i fywydau lawer cael eu colli yn y gwasgfeuon hyn, y byddai raid iddynt gau eu golygon am byth ar holl olygfeydd a rhagorfreintiau amser, a symud yn mlaen i'r byd tragywyddol, i dderbyn yn ol eu gweithredoedd.

II. Ei benderfyniad duwiol yn wyneb yr holl ofnau hyn: "Eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth." Gellid ymofyn, Beth oedd yn ei dueddu ac yn ei allnogi i ymddiried ac i lawenychu fel hyn yn yr Arglwydd ei Dduw.

1. Yr olwg oedd ganddo ar briodoleddau cymeriad Jehofa fel Adwr y greadigaeth, ac fel Duw rhagluniaeth ac iachawdwriaeth. Yr oedd yn ei olygu, gyda theimladau o wylder a pharch, fel Bod o berffaith burdeb, o uniondeb anmhlygadwy, o ddoethineb nad allai gyfeiliorni, o dosturiaethau diderfyn, o drugareddau tragywyddol, o nerth hollalluog, o ffyddlondeb diball, ac o wirionedd anghyfnewidiol. Yr oedd yn credu hefyd fod y Duw hwn yn Dduw iddo ef drwy gyfammod tragywyddol, ac y byddai yn Arweinydd a noddwr iddo, yn Dad a chyfaill, yn haul a tharian, yn rhan a gwobr mawr iawn, a bod y Duw hwn, yn ei gariad a'i ddoethineb, wedi trefnu "iachawdwriaeth" lawn dragywyddol ar ei gyfer, ac y cai ef yn y diwedd i "rodio ar ei uchel-leoedd."

2. Yr olwg oedd ganddo ar amcan a thuedd goruchwyliaethau cystudd. Yr oedd yn credu y byddai y gwasgfeuon oll dan oruwchreolaeth ei Dad nefol, ac y cyd-weithient er daioni iddo ef a'i gyd-gredinwyr, trwy farwhau eu llygredigaethau, a sancteiddio eu serchiadau, a dyblu eu diwydrwydd

a gwresogi taerineb eu gweddiau, a gloywi eu grasau, ac awchlymu eu galluoedd, a chyfoethogi eu profiadau. Gwyddai na byddai y cystudd ond ysgafn, ac nad allai effeithio ond ar y corff, a phethau amser; a gwyddai hefyd na byddai ond byr, ond am ddeng niwrnod; na byddai y galar a'r wylofain ond megys dros "brydnawn," na byddai y dyoddef ond megys am "funud awr," mai dros "foment fechan" y byddai i'w Dad guddio ei wyneb, ond y byddai iddo drugarhau â thrugaredd dragywyddol, ac y byddai i'r trallodion baratoi ei enaid gogyfer a sefyllfa o fythol orphwysdra a gogoniant.

3. Yr olwg fawr oedd ganddo ar athrawiaeth anfarwoldeb a sefyllfa ddyfodol. Yr oedd yn credu fod ei enaid yn anfarwol, fod ei gyflwr yn ddiogel, a'i fod yn etifedd llawenydd diddarfod. Yr oedd yn teimlo felly y gallai ganu mewn cystuddiau, a gorfoleddu mewn gorthrymderau, a gobeithio pan y byddai yn marw. Yr oedd yn hyderus y cai godi ei ben yn nghanol holl ryfeddodau gogoneddus y farn fawr, ac y cai fwynhau digrifwch yn oes oesoedd, gydag angylion a saint, ar ddeheulaw Duw ei Iachawdwr. Gallwn ymofyn yn

III. Am ei reswm dros gyhoeddi ei benderfyniad. Yr oedd ei awen gref gynes yn ei eirio ar fesur Salm, neu anthem, ac yr oedd yn cyflwyno ei gân "I'r pencerdd ar ei offer tannau," er i'w Salm gael ei hadrodd a'i chanu yn y gynulleidfa. Yr oedd yn dymuno gwneuthur hyn yn

1. Er mawrygu a derchafu enw ei Dduw. Yr oedd yn teimlo mai ei ddyledswydd a'i fraint oedd anrhydeddu cymeriad llywodraeth ei Dduw. Yr oedd felly am ddatgan ei dystiolaethau a'i farnedigaethau, ac am gyhoeddi ei drugareddau a'i waredigaethau, mewn gobaith y gallai drwy hyny helaethu a lliosogi cylchoedd ei foliant a'i addoliad.

2. Er ei les a'i gysur ei hun. Gwyddai mai wrth dderchafu a chanmol gallu, a thrugaredd, a ffyddlondeb ei Dduw, y cai y gwaith hyfrydaf a phuraf i holl alluoedd ei enaid, a holl serchiadau ei galon. Gwyddai nad allai gael unrhyw ymarferiad gwell er melysu ac effeithioli ei ddoniau, er cryfhau a gloywi

ei rasau, ac er helaethu ei ddefnyddioldeb. Gwyddai mai trwy y fath foddion y gallai orchfygu ei lygredigaethau a'i wendidau, ei amheuon a'i ofnau, a phuro a chynyddu ei gysuron, ac mai hyny a beraroglai ei enw a'i siampl a'i goffadwriaeth ar ol iddo farw.

3. Er addysg ac er calondid i eraill. Yr oedd ganddo sail i obeithio y byddai i'w ddarluniadau ef o gymeriad ei Dduw gynhyrfu eraill i astudio ei berffeithiadau; y gallai ei farn ai brofiad ef am wagedd mwynderau daear, dueddu eraill i ystyr-ied eu gwagedd; y gallai ei benderfyniad ef i ymddiried yn yr Arglwydd, ac i lawenychu yn ei iachawdwriaeth, galonogi eraill i roddi eu hyder a'u goglud arno; ac y gallai ei ddymuniadau ef am wynfyd mewn byd anfarwol gynhyrfu eraill i feddwl mwy am y byd tu draw i'r bedd, ac i barotoi gogyfer â mwynhad o wynfyd didranc yn y nefoedd.

CYMHWYSIAD.

1. Y mae yn ddychrynadwy i feddwl am gymeriad ac am gyflwr yr annuwiol. Gall ef "lawenychu" a bod yn "hyfryd" mewn tymhorau o lwyddiant, pan y bydd ei ffigysbren yn blodeuo, a'i winwydd yn ffrwytho, a gwaith ei olewydd heb ballu, a'i feusydd yn rhoddi bwyd, a'r praidd yn ei gorlan, a'r eidionau yn eu beudai; ond pan y daw gauaf oer afiechyd ac adfyd y mae ei lawenydd yn darfod, a'i holl hyfrydwch yn diflanu. Y mae heb gân, heb gysur, heb orfoledd, heb dawelwch. Nid yw wedi arfer troi at Dduw i ymbil am ei drugaredd, ac i bwyso ar ei nerth, ac o ganlyniad y mae heb obaith am un rhyw ddiddanwch na chynaliaeth.

2. Nid all dim fod yn fwy hyfryd na thangnefedd a llawenydd y credadyn mewn adeg o adfyd a galar. Y mae ei glywed yn canu yn y nos dymestlog, "Eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth," yn synu angylion, ac y mae peroriaeth ei gân yn codi drwy dwrf y dymestl yn anrhydedd i enw y Gwaredwr, ac yn foddhad i'w feddwl.

3. Os gall y Cristion fel hyn "lawenychu" mewn trallodion, tra yma yn y cnawd, yn nghyrraedd gwendidau a llygredigaethau y byd drwg presenol, pan ar ei bererindod, ar lwybrau dyrus geirwon, mewn lleoedd anial, ac yn nghanol gelynion, beth fydd ei lawenydd pan y bydd wedi cyrhaedd i ben ei daith? Rhaid y bydd yn anrhaethadwy fawr a gogoneddus ar ol iddo gael ei ddwyn yn ddiogel, drwy y tymestloedd a'r tônau, i drigfanau tawel y nefoedd, mewn gwlad o berffaith oleuni a phurdeb, a gorphwysdra a llawenydd; lle y mae myrddiwn o angylion, a chymanfa a chynulleidfa y rhai cyntafanedig, lle y mae ysprydoedd y cyfiawnion oll i gydgyfarod i gael eu cyd-berffeithio, lle y mae Iesu yn teyrnasu yn ein natur ni, a lle y mae gogoniant ei berson, ac urddas ei swyddau cyfryngol, a llawnder ei iachawdwriaeth yn dyfod yn fwy-fwy i'r golwg; lle y mae Duw oll yn oll, a'r credadyn yn cael edrych ar ei wyneb mewn cyfiawnder, ac yn cael ei lawn ddigoni yn y mwynhad o oludoedd ei gariad a'i drugaredd.

---

## NID AMLYGWYD ETO BETH A FYDDWN.

"Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn feibion i Dduw: oblegyd hyn nid edwyn y byd chwi, oblegyd nid adnabu efe Ef. Anwylyd, yr awr hon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd eto beth a fyddwn; eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo: oblegyd ni a gawn ei weled ef megys ag y mae. Ac y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megys y mae yntau yn bur."—1 Ioan 3. 1—3.

1. Arwydda y geiriau hyn, Fod breintiau o anrhaethol werth "Yr awr hon" yn meddiant credinwyr. "Yr awr hon meibion i Dduw ydym." Y maent wedi eu codi o sefyllfa ddrwg, isel, druenus, i sefyllfa dda, uchel, ddedwydd, anrhyd-

ninol fry i babellu yn mysg dynion syrthiedig: Ef, yr hwn
ldaeth felly o'i wir ewyllys da, o'i hunan-gynhyrfiol gariad,
llawn gras a gwirionedd, a'i galon drugarog dosturiol ar
dori o awydd i esbonio amcanion cariad Duw, i egluro cyn-
on ei drugaredd, i ddadlenu peryglon cyflwr enaid euog, i
arlunio elfenau gwir ddedwyddwch, ac i agor ffordd o gym-
d â'r nefoedd; ond, nid adnabu y byd Ef, er holl dosturi
galon, er holl burdeb ei fywyd, er holl nerth ei wyrthiau, er
ll gariad ei gyfryngdod, a holl oleuni ei weinidogaeth, eithr
gynddeiriogodd y byd yn ei erbyn, dirmygodd a diystyrodd
gwaeddodd, "Ymaith ag ef;" ac yn y diwedd croeshoel-
d ef ar bren melldigedig y groes.

2. Nid adnabu y byd erioed y goreuon o'r saint. Y rhai
raf a gloywaf, a mwyaf difrycheulyd, y rhai goleuaf eu medd-
au, a mwyaf cariadlawn eu calonau, a mwyaf hunan-ymwad-
eu hegniadau er lles y byd. Cafodd y rhai puraf ac uchaf
onynt eu trin a'u diraddio fel ysgubion y byd, ac fel sorod
dim; a'u halltudio o'u gwlad, a'u gyru i grwydro mewn
rwyn defaid a chrwyn geifr, yn ddiddym, yn gystuddiol, yn
rwg eu cyflwr; a'u traddodi i'r carcharau nesaf i mewn, ac
dioddef arteithiau mwyaf poenus marwolaeth.

III. Fod breintiau uwch eto i ddyfod i ran y saint mewn
yllfa ddyfodol. "Pan ymddangoso efe,"

1. Cânt fod yn dystion o ogoniant ei ail-ymddangosiad.
nt weled holl ryfeddodau dydd adgyfodiad y meirw, a holl
ith gogoneddus swydd farnol eu Harglwydd. Cânt weled
orsedd fawr, a'i goron hardd, a'i wisg laes gyfryngol. Cânt
led y dorf ddirif ger bron ei orsedd, ac agoriad y llyfrau.
nt weled y didol, a gosod yr annuwiol ar y law aswy, a'r
iawnion ar y ddeheulaw. Cânt glywed y ddedryd ddialw-
ol, a gweled gyru torf y law aswy i'w lle eu hun, ac arwain
fa y ddeheulaw drwy'r pyrth i wynfyd y nef.

2. Cânt fod yn "gyffelyb iddo." Bydd Iesu yn ei ail-ym-
angosiad yn anrhaethadwy ogoneddus. Ymddengys yn ein
ur ni, yr hon fydd wedi ei chodi yn ei berson ef i'r urddas

vyaf darluniadol, ac y mae ambell iaith wedi cael ei choethi chyfoethogi yn fawr gan ieithwyr dysgedig; ond nid oes yr iaith yn ein byd ni yn ddigon cyfoethog ei geiriau, nac yn igon cyfoethog ei chydmariaethau i osod allan ogoniant cyf- r a gwaith a chymdeithas y saint yn y byd a ddaw. Gellir i am wisgoedd gwynion, am wleddoedd o basgedigion breis- a gloywin puredig, am fryniau a meusydd blodeuog a 'yrddion, am goed o fythol wyrddlesni, am ffynonau bywiol ldyfroedd, am beraroglau iachusol, am drigfanau godidog, delynau mewn cywair, am demlau o feini dymunol, am byrth armor, a ffenestri o risial, a heolydd o aur; ond y mae pob 'luniad felly yn rhy fyr i amlygu llawn ogoniant y byd a iw.

}. Nid oes yr un galon yn y byd yma yn ddigon cref, yn gon pur a digon ysprydol i allu dal y llawn amlygiad o niant y saint yn y nef. Byddai pwys y gogoniant yn rhy m iddi. Suddai yr enaid sancteiddiaf dan y fath bwys, ddai yn hollol anghymwys at holl ofalon, a holl orchwyl- daear.

. Byddai amlygiad llawn o'r hyn a fyddwn yn anghyfaddas y mae plant Duw yma mewn sefyllfa prawf. Byddai yn iol i weithrediad eu ffydd, a'u gobaith, a'u hamynedd, a'u liadwriaeth, a'u hofn duwiol. Nid ydynt tra yma ond it dan eu hoed, ond disgyblion dan addysg eu hathraw, ond wyr ar faes yr ymdrech, dan eu harfau, ond pererinion ar eithiau drwy'r anial; a buasai amlygiad cyflawn o'r hyn a lant, dichon, yn ataliol iddynt fod ar eu gwyliadwriaeth, y llafur, ac yn dyfal-barhau mewn gweddi. Felly, "nid ygwyd eto beth a fyddwn."

r. Fod y breintiau hyn oll, y rhai sydd ganddynt mewn ael, yn gystal ar rhai sydd ganddynt mewn addewid, yn liaw o "gariad" y Duwdod. "Gwelwch pa fath gariad oddes y Tad arnom." Awgryma y geiriau ei fod yn ddi- Ielyb.

I. Cariad rhad anhaeddedig ydyw. Cariad pur, penargl-

CYMHWYSIAD.

mae nodau plant Duw yn cael eu darlunio yn eglur yr adnodau cysylltiedig â'r testun. Y maent yn ofni n caru y brodyr, yn dyner eu calon, ac yn aros yn eithas eu Duw. Ac y mae yr hwn sydd yn dwyn y yn yn blentyn i Dduw.

ydys yn blant i Dduw, ni raid ofni am y canlyniad :, nt, etifeddion hefyd ; sef etifeddion i Dduw, a chyd-n â Christ : os ydym yn cyd-ddioddef ag ef, fel yn cyd-er hefyd. Oblegyd yr ydwyf yn cyfrif, nad yw diodd-r amser presenol hwn yn haeddu eu cyffelybu i'r gogon-latguddir i ni. Canys ein byr ysgafn gystudd ni sydd g ragorol yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant id amlygwyd eto beth a fyddwn, eithr ni a wyddom dangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo, oblegyd ni a weled ef megys ag y mae."

"Nis gallaf tra yma 'n y cnawd
Ddim dioddef caniadau sydd fry,
Mae llewyrch wynebpryd fy mrawd
Yn llawer rhy ddysglaer i mi:
Yn ol hedeg, a gadael fy nyth,
A dianc o'm carchar o glai,
Bydd digon o nefoedd dros byth
Ei weled ef fel ag y mae."

---

## IESU GRIST YR UN.

---

...rist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd."—Hebreaid

---

...rist ydyw sylfaen a sylwedd yr efengyl. Dyma ...nn ...liadau melus cynwysfawr sydd genym am dano.

...ia y geiriau fod cyfnewidioldeb a darfodedigaeth yn ...ig ar yr oll a welir.

erth y Groegiaid i afael y Rhufeiniaid ; ac aeth hen ymerodraeth Rhufain wedi hyny yn fil o ddarnau. Y mae rhyw newid n perthynu o hyd i deuluoedd y byd. Rhai fu'n ddedwydd yda'u gilydd wedi cael eu chwalu gan amgylchiadau neu gan ngau ; rhai fu'n byw mewn un wlad wedi ymfudo i wledydd raill ; rhai fu'n weiniaid ac yn dlodion wedi dyfod yn gyfethog ac yn gryfion ; a rhai fu'n gryfion a goludog wedi suddo wendid a thlodi ; rhai fu'n iachus wedi myned yn gleifion, a hai fu'n llesg ac yn glaf wedi cael adferiad iechyd. Gellir ywedyd yr un peth am bersonau, nid oes neb yn aros "ddoe heddyw yr un ;" ond y mae pawb yn profi rhyw gyfnewidid beunyddiol.

3. Y mae rhyw newid parhaus yn perthyn i ni ein hunain. Nis gallwn byth ddweyd ein bod "ddoe a heddyw yr un." Y mae ein hamgylchiadau tymorol yn mynych gyfnewid. Bydd n weithiau dan wên gynes haulwen llwyddiant, weithiau dan mwl oer aflwyddiant, weithiau yn gysurus, ac weithiau yn llodus. Y mae ansawdd ein cyrff yn newid yn fynych. dd y corff weithiau yn gryf, yn heinyf, yn wridog, yn iachus, llawn o nodd a nerth bywyd ; bydd bryd arall yn wan ac welw, yn llesg a gwywedig. Y mae ein profiadau yn mynh newid. Bydd y galon weithiau yn llawn goleuni, a charl a grym, a gwroldeb ; bydd bryd arall dan gwmwl yn g ac ofnus. Byddir weithiau yn gweled cyrau Canaan, y pell, y Brenin yn ei degwch, a'r etifeddiaeth nefol fry yn ei dau a'i phrydferthwch, bryd arall bydd cymylau a thymoedd yn codi ac yn cynhyrfu rhyngom â gwlad yr etifeddth. Y mae pob peth daearol yn gyfnewidiol. Ymddangad gwyneb anian. Cenedlaethau preswylwyr y byd. A ni hunain. Ond yn

II. Y mae Iesu Grist yr un, ddoe a heddyw, ac yn dragywld. Yr oedd Paul yn ieithydd gwych, yn ysgrifenydd coeth, lur. Yr oedd wedi dysgu y ffordd i eirio ei ddywediadau ol y gystrawen oreu ; ond nid yw wedi geirio adnod fer ein styn yn y modd goreu. Y mae ôl diofalwch ar osodiad ei

lasai ddweyd "Iesu Grist yr un ddoe a heddyw,
ydd;" neu gallasai ddweyd, "Iesu Grist ddoe
w, ac yn dragywydd, yr un." Dylasai y geiriau "
d o flaen y gair "ddoe," neu ar ol y gair "tragywydd:
d y geiriau "yr un" yn y canol, yr oedd yn gw
ll yn anystwyth. Dichon fod ei feddwl yn benaf, w
u yr adnod, ar yr amser a aeth heibio, ac ar yr a
ol, neu mai "ddoe a heddyw" oedd yn benaf yn ei o
ywedasai, "Ddoe," neu, trwy holl ddydd y tadau,
Iesu Grist yr un; a "heddyw," trwy ein dydd ni
Iesu Grist yr un. Y mae ddoe a heddyw yr un. O
gadael y dywediad yn y fan yna, cofiodd am yr o
dyddol, a chasglodd ei anadl a'i nerth i ychwanegu er
i'w oloeswyr—"ac yn dragywydd." Ac, wrth ddarllen,
adrodd yr adnod gellir cryfhau y pwyslais o air i air
fyned yn mlaen, Iesu Grist yr un *ddoe* i'r tadau, a HEDDYW
ninau, ac yn DRAGYWYDD i'n holoeswyr.

Gellir gwneud dau neu dri o nodiadau eglurhaol ar ei dy-
wediad gwerthfawr.

1. Nad oedd gan Iesu Grist yr un corff mewn undeb
natur ddwyfol er dyddiau tragywyddoldeb. Arfaethodd
dechreuad wisgo ein natur ni, ond yn nghyflawnder yr amser
pan oedd tros bedair mil o flynyddoedd o oes y byd wedi myn-
ed heibio, pan oedd "awr" y proffwydoliaethau a'r cysgodau
wedi dyfod, y darfu iddo yn weithredol ymbriodi â natur dyn;
ond ni rydd y natur ddynol o'r neilldu byth mwyach.

2. Nid ar unwaith y daeth cymeriad cyfryngol Iesu Grist
golwg; ond o radd i radd, dan wahanol oruchwyliaethau,
thrwy wahanol foddion. Yr oedd Iesu Grist yr un, ond
oedd ei ogoniant yn dyfod fwy fwy i'r golwg. Daeth gra
fechan o ogoniant ei gymeriad cyfryngol i'r golwg yn ngardd
Eden ar roddiad yr addewid gyntaf; daeth mwy ar ol hyny
yn amser Abel, a Seth, ac Enoch, a Noah, a Melchisedec.
Daeth mwy eilwaith i olwg Abraham ar ben Moriah, a mwy
fyth i Moses wrth y berth, a mwy na hyny yn amser Esay

aniel, a mwy nag erioed yn amser y Doethion o'r Dwyrain, a meon ac Anna, a mwy drachefn yn nosbarth y Doctoriaid i y deml, a mwy drachefn ar fynydd y gweddnewidiad, ac yn oruwch-ystafell, ac yn ngardd Gethsemane, ac ar Galfaria i oriau y gwyrthiau, ac ar fore yr adgyfodiad, ac ar fryn yr gyniad. Trefn anfeidrol ddoethineb oedd gwneuthur dadiad graddol o bwysfawredd a gogoniant cyfryngdod Iesu.

3. Nid ar unwaith y mae Iesu yn cyflawni, neu yn perffeithio, wahanol ranau ei waith mawr fel Cyfryngwr. Yn y cyngor re, cyn seiliad y byd, yr ymrwymodd mewn cyfammod i gymryd y gwaith gogoneddus mewn llaw. Draw yn Eden, yn dre'r byd, y dechreuodd agor a datguddio trefn fawr ei druedd. Ar ei groes yn nghyflawnder yr amser y gwnaeth wn anfeidrol i'r llywodraeth drwy ei aberthu ei hun. Dan chwyliaethau y milflwyddiant y mae yn bwriadu ennill teyrnedd y byd i fod yn eiddo iddo ei hun. Yn niwedd amser y ae yn bwriadu codi'r meirw, a barnu'r byd, a chloi ei elynion wn tywyllwch, a chymeryd ei garedigion ato ei hun i ogont. Ond er cydnabod y tri pheth crybwylledig—sef, nad dd ganddo yr un corff hyd amser preseb Bethlehem—mai ar unwaith y daeth gogoniant ei gymeriad i'r golwg—ac i nid ar unwaith y mae yn cyflawni gwahanol ranau ei ith cyfryngol, eto y mae athrawiaeth Paul yma yn gadarn, Iesu Grist yr un ddoe a heddyw ac yn dragywydd. Yr yn

1. O ran nodweddau, neu briodoleddau hanfodol ei natur. mae ei gariad o hyd yr un. Y mae ei fynwes yn llawn bob aser o dosturi, a thrugaredd, ac ewyllys da. Y mae ei gari byth yn llawn, yn ddidrai, yn ddiderfyn, heb ball, na dim newidiad. Y mae ei santeiddrwydd o hyd yr un. Ni bu n llygredd, na thwyll, na phechod erioed ynddo, na chyn ymgnawdoliad, na phan oedd yn nghanol profedigaethau ei yllfa o ddarostyngiad. Yr oedd ei anian o hyd yn berffaith r; ac yr oedd ei farn a'i deimlad am bechod bob amser yn gyfnewid. Y mae ei gyfiawnder o hyd yr un. Safodd yn

